# HANES

# CYMANFA DWYREINBARTH

## *PENNSYLVANIA,*

## *1845-1896.*

---

GAN Y

PARCH. HUGH DAVIES,

**SCRANTON, PA.**

---

UTICA, N. Y.
THOMAS J. GRIFFITHS, SWYDDFA Y "DRYCH," 131 GENESEE ST.
1898.

# RHAGYMADRODD.

Casglwyd yr Hanes hwn ar gais y Gymanfa yn Nwyreinbarth Pennsylvania. Cymeradwywyd yr amcan gan y Cyfarfodydd Dosbarth, Gogleddol a Deheuol. Yr oedd teimlad am weled rhyw grynodeb o hanes yr enwad yn ffynu er's llawer o flynyddoedd. Yr oedd y Parch. Joseph E. Davies, D. D., wedi cychwyn gwneyd hyn, ac wedi ysgrifenu cryn lawer ar y mater. Yr oedd ef yn gydnabyddus bersonol â phersonau ac amgylchiadau er yn foreu yn ein hanes; a buasai yn fantais fawr i ni gael gweled ei ysgrif er gwneyd adroddiad cywir; ond gan nad oedd hyny yn gyraeddadwy, yr oedd yn rhaid i ni ymlwybro yn mlaen fel y gallem, a gweithio â'r defnyddiau oedd o fewn ein cyraedd.

Nid oedd genym yr un cynllun i'w efelychu, ac nid oedd hyny chwaith yn angenrheidiol, oblegid fod y defnyddiau yn llunio eu ffurf, yn ol fel y maent yn dwyn perthynas â gwahanol gyfnodau. Bywyd yn egluro ei hun ydyw hanesiaeth; ac mae pob bywyd yn llunio ei ffurf ei hun. Ni amcanwyd at unrhyw orwychder mewn iaith na chyraedd teilyngdod llenyddol uchel—dim ond adrodd stori syml, beth a wnaeth y tadau fu yn cychwyn ac yn llywio yr achos yn mlaen trwy anhawsderau mawrion, o'r dechreu hyd yn bresenol. Ni ysgrifenir dim yn deilwng o honynt fel dynion o ffydd ac ymroddiad ar goflyfrau y ddaear, ond fe ysgrifen-

wyd llyfr coffadwriaeth ger bron Duw am danynt, fel rhai oedd yn meddwl am ei enw Ef. Yr ydym yn credu na fu brodyr mwy ffyddlawn, ymdrechgar ac ymroddgar mewn unrhyw gylch Cymanfaol, nac eglwysi wedi costio mwy o lafur ac aberth, ar ran y rhai oedd yn arwain, nag eglwysi cylch y Gymanfa hon.

Diameu y bydd y beirniaid yn gweled diffygion lawer yn y llyfr hwn—gormod mewn rhai pethau, a rhy fach mewn pethau eraill; a dichon fod personau mewn rhai parthau o'r wlad eto yn fyw yn cofio amgylchiadau yn fwy cywir. Ar gyfer hyn nid oes genym ond hysbysu na ddarfu i ni arbed trafferth na thraul er cael adroddiad cywir am bob lle. Ysgrifenwyd rhai ugeiniau o lythyrau i wahanol barthau o'r wlad ar wahanol faterion, a gwnaed y goreu allem, yn ol y defnyddiau ddaeth i law. Gwir y gwneir sylw o'r un materion fwy nag unwaith, ond mae yn angenrheidiol cofio fod haner cant o flynyddoedd yn dymor lled faith, ac mae yr un mater yn gwisgo gwedd wahanol mewn gwahanol adegau, mewn cysylltiadau newyddion, ac yn nwylaw gwahanol ddynion.

Dymunir cydnabod ein bod yn ddyledus i'r "Cyfaill" am y defnyddiau a'r manylion am hanes y Cymanfaoedd. Mae y cyfrolau cyntaf yn drysor anmhrisiadwy i'r hanesydd ar y materion hyn; ac ychydig sydd yn fyw yn awr yn feddianol arnynt. Yr oeddid wedi parotoi rhai penodau eraill ar wahanol faterion, ond gan fod y Gymanfa wedi penderfynu maint a phris y llyfr, yr oedd yn rhaid eu gadael allan, a thalfyru llawer ar hwn.

Dymunir cydnabod gwasanaeth caredig y brodyr fu, trwy

benodiad y Cyfarfodydd Dosbarth, yn ffyddlawn i gasglu hanes yr eglwysi, ysgrifau y rhai a ddodwyd i fewn yn gyflawn, neu yn agos felly, yn yr hanes. Newidiwyd ffurf ac arddull eraill, gan ychwanegu atynt, er gwneyd yr hanes lleol yn fwy cyflawn a manwl—y Parch. W. J. Lewis dros Carbondale; y Parch. W. E. Morgans dros Blakely; Mr. David James dros Olyphant; Mr. W. G. Price dros Providence; Mr. Daniel Moses yn Hyde Park; Mr. J. S. Davies yn Bellevue; Mr. David Harris yn Taylor; Mr. Lewis S. Jones yn Wilkesbarre; Mr. Henry G. Williams yn Plymouth; y Parch. Hugh Hughes dros Ashley; Mr. John O. Jones dros Sugar Notch; a Mr. John Griffiths yn Nanticoke. Yn y Dosbarth Deheuol, bu y brodyr canlynol hefyd yn ffyddlawn i anfon ysgrifau: Parch. H. F. Williams, West Bangor; Mr. David Williams, Pottsville; Parch. J. W. Morris, Slatington; Mri. D. J. Evans, Bangor; Griffith Thomas, Wind Gap; a William Davies, Shenandoah. Am y llecedd eraill, nid oedd gan y Casglydd ond dibynu ar y cofnodion, personau a hanesion oedd yn adnabyddus iddo. Yr oedd casglu yr hanes geir yn y tu dalenau canlynol i ni yn llafur cariad, am ein bod yn dyfod i gyffyrddiad a chymeriadau gwir werthfawr a chrefyddol fu, ac y sydd eto, yn byw yn ein mysg. Hyderwn hefyd y bydd ei ddarlleniad yn symbyliad i eraill fod "yn ddylynwyr i'r rhai trwy ffydd ac amynedd sydd wedi etifeddu yr addewidion."

Y CASGLYDD.

# CYNWYSIAD.

## PENOD III.



## PENOD IV.

## PENOD V.

PENOD VI.



PENOD VII.

## PENOD VIII.

## PENOD IX.

### Nodion Bywgraffyddol.

# RHAGARWEINIAD.

MAE yr enwad Cymreig a adnabyddir wrth yr enw Methodistiaid Calfinaidd wedi cychwyn er's 160 o flynyddoedd bellach, ac wedi tyfu mewn nerth a dylanwad, nid yn unig yn Nhalaeth fechan Cymru, ond yn America, Awstralia, ac yn India'r Dwyrain fe deimlir ei ddylanwad. Naturiol y gofynir, O ba le y daeth, a pha gyfrif sydd i'w roddi am dano? Ein hateb ydyw, ei fod yn gynyrch yr adfywiad crefyddol a ddechreuodd yn gynar yn y ddeunawfed ganrif, yn Lloegr, Scotland ac America, ac a adwaenir mewn hanesiaeth wrth yr enw "Yr Adfywiad Methodistaidd."

Yn 1729 mae ychydig o efrydwyr yn Ngholeg yr Iesu, Rhydychain (tua 15 mewn nifer), yn ymgynull at eu gilydd amryw weithiau yn yr wythnos, i ddarllen y Beibl, ac ymddyddan am bethau crefyddol. Wedi deall amcan eu cydgyfarfyddiad, mae eu cydefrydwyr yn dechreu gwatwar, a'u galw yn "Sacramentwyr," "Y dosbarth duwiol," ac oblegid eu harferion rheolaidd, trefnus, gyda'u hefrydiau a'u dull o fyw—"Methodists," from the word method, or mode of life. Dyma darddiad yr enw, ac yn yr ystyr hwn mabwysiadodd y diwygiwr ef, fel un oedd yn cyfleu syniad cywir am danynt, fel rhai oedd yn dysgu ac yn bucheddu yn ol gair Duw. Wrth yr enw hwn yr adnabyddid y symudiad yn Lloegr; ac wedi i Whitefield a Wesley fethu cytuno o ran eu golygiadau, a chydweithio, mae dylynwyr Whitefield yn galw eu hunain "Calvinistic," neu "Whitefield Methodists," ac mae dylynwyr Wesley yr un modd yn galw eu hunain yn "Fethodistiaid."

Yn yr ystyr uchod y daeth yr enw i ymarferiad yn Nghymru hefyd. Nid ydym yn gwybod fod un Gymanfa wedi mabwysiadu yr enw yn ffurfiol, ond yr oeddynt yn cael

eu hadnabod fel rhai oedd yn amcanu byw yn dduwiol, yn ol y Beibl, a'u gwatwar fel "pengryniaid" a "Methodistiaid," a thyfodd yr enw yn naturiol o'r amgylchiadau hyn; ac yn yr ystyr hwn yr oedd ein tadau yn falch o'r enw ac yn amcanu byw yn deilwng o hono.

Nid oedd unrhyw gysylltiad uniongyrchol rhwng Calfin a'r symudiad hwnw yn Nghymru, ac ni ddarfu ein tadau fabwysiadu golygiadau Calfin yn ffurfiol, na'i gydnabod yn dad iddynt; er hyny cydnabyddwn yn rhwydd, ac nid oes arnom gywilydd cydnabod ein bod o'r un farn ag ef. Oblegid amgylchiadau nad allwn fanylu arnynt yma, yr ydys wedi mabwysiadu, neu yn hytrach gadw, yr enw hwn fel un cysegredig yn ei gysylltiad â'r symudiad crefyddol yn Nghymru yn yr adeg a nodwyd. Mae yn sicr genym na fu diwygiad cyffelyb i'r "Adfywiad Methodistaidd" yn hanes yr eglwys er dyddiau yr Apostolion. Yr oedd yn gydamserol mewn gwahanol wledydd, ac nid oblegid cyd-ddealltwriaeth rhwng arweinwyr y symudiad, nac ychwaith wybodaeth am eu gilydd. Yr oedd tân dwyfol yni yn goddeithio y gwahanol wledydd, ac yn cynyrchu yr un effeithiau ar feddyliau dynion, a chyfnewidiad cyffelyb yn eu hanes. Tybiwn hefyd fod Cymru wedi teimlo dylanwadau mwy grymus nag un wlad arall, a pharhaodd o ran ei effeithiau bron yn ddidor am 40 mlynedd.

Ni chyffyrddodd y diwygiad Protestanaidd fu yn cynyrfu gwledydd cyfandir Ewrop â Chymru, ac ni chodwyd yno un diwygiwr o hynodrwydd yn yr adeg hon; ond mae y "Diwygiad Methodistaidd" yn ysgwyd Cymru benbaladr, ac o hyny yn mlaen mae diwygiadau grymus yn dylyn eu gilydd am yn agos i gan' mlynedd. Newidiwyd agwedd foesol y genedl, a darostyngwyd hen arferion llygredig oedd wedi gwreiddio yn y wlad er ys oesoedd, a dygwyd miloedd lawer o'n cydwladwyr i dderbyn yr efengyl, ac i gysegru eu hunain yn gwbl iddi.

Plant y diwygiadau hyn ddechreuodd sefydliadau Cymreig America. Rhai o ddychweledigion diwygiad Beddgelert, ac yn enwedig diwygiadau 1848-9, a ymfudodd i New York,

Ohio, Wisconsin a Pennsylvania, lawer o honynt. Daethant yma yn llawn o sel a brwdfrydedd i sefydlu achos i'r Gwaredwr yn mhob man y trigianent, yn nghanol coedwigoedd, ac ar wastad-diroedd America. Gwaith y rhai hyn, a'u holynwyr, yr amcenir ei osod ger bron y darllenydd yn yr hanes hwn. Dymunwn ddweyd wrth holl Fethodistiaid Pennsylvania na wyddom am un corff o bobl wedi cael etifeddiaeth mwy gogoneddus na hwy.

Howell Harries oedd offeryn cychwynol y diwygiad, ond Daniel Rowlands oedd ei arwr fel pregethwr; ond y Parch. Thomas Charles o'r Bala oedd duwinydd y diwygiad, lluniwr a threfnydd rheolau yr enwad Methodistaidd. Efe oedd y pen saer celfydd a osododd yr adeilad ar sylfaen gadarn. Efe luniodd erthyglau y Cyffes Ffydd, a'n Rheolau Cymanfaol, ac a osododd arferion y Cyfundeb mewn trefn; ac yr ydym yn fwy dyledus iddo ef, fel offeryn, am y wedd a welir arnom, na neb arall.

Drychfeddwl sylfaenol Methodistiaeth ydyw undeb ac arolygiaeth (unity and supervision). Paham y cymerodd y ffurf hon, gan nad oedd yn ffrwyth cynllun na rhagfwriad blaenorol, nid oes genym ond ateb eto, mai dyma y ffurf y gwelodd Duw yn dda egluro ei feddwl trwy deimlad ac ewyllys ei bobl yn Nghymru. Ar yr un pryd, mae yn hollol naturiol, oblegid mae holl aelodau y corff dynol wedi tyfu ynddo, ac nid wedi eu cydio wrtho gan law celfyddyd. Grym bywyd sydd yn ei wneyd yr hyn ydyw. Organic unity, and unity in diversity, ydyw. Mae i bob aelod ei le a'i waith priodol ei hun. Mae yn ysgrythyrol hefyd, oblegid mae yn gyfatebol i natur y berthynas rhwng Crist a'i eglwys fel organic unity.

Beth bynag, dyma y ffurf a gymerodd, ac mae yn cychwyn gyda'r syniad mai un corff yw y Methodistiaid i fod. Mae yr hyn ydys yn ei ddweyd yn cyfateb i ffaith yn hanes yr enwad. Dodwn ger bron grynodeb o hanes y Gymanfa gyntaf, i ddangos mai nid casglu eglwysi a'u cylymu yn gelfyddydol gan allu Cymanfa a wnaed, ond tyfu yn un corff dan arolygiaeth y Gymanfa wnaeth yr eglwysi Methodistaidd.

Dechreuodd Howell Harries bregethu yn 1735, ac yn 1742 y cynaliwyd y Gymanfa gyntaf yn Watford, a Mr. Whitefield oedd y llywydd. Y gweinidogion yn bresenol oedd Whitefield, W. Williams, Thos. Lewis a Henry Davies (Ymneillduwr). Cyngorwyr—Howell Davies, Herbert Jenkins, Thomas James, James Beaumont, Morgan Hughes, John Morgan Lewis, Thomas Williams a Thos. Adams.

Penderfyniad 1. Fod William Williams i adael y fugeiliaeth bresenol, a myned i gynorthwyo Daniel Rowlands.

2. Fod Herbert Jenkins i gynorthwyo Howell Harries, ac i fyned i Loegr pan fydd galw am dano.

3. Fod James Beaumont i olygu dros Sir Faesyfed, a John Jones, John Williams, William Evans, David Price, Rich. Lewis (Ymneillduwr), i'w gynorthwyo, os cymeradwy gan y Cwrdd Misol.

4. Thomas James i arolygu Swydd Frycheiniog, hyd afon y Wysg, ac i gael ei gynorthwyo gan Thomas Bowen, Edwin Bowen, Thomas Prosser, Joseph Sanders, John Williams, W. Williams a Roger Williams.

5. Y brawd Morgan Lewis i arolygu cymdeithasau Dolgar, Cwm Du, Cantref Defynog, Llansawel a Llanddeusant, Sir Gaerfyrddin.

6. Thomas Williams yn olygydd Swydd Forganwg.

7. Nid yw y brodyr yn meddwl fod James Tomkins wedi ei alw i fod yn bregethwr; ac maent wedi penderfynu peidio ei gefnogi, ond ei adael i'r Arglwydd.

8. Fod y brodyr W. Price, John Butler, Edward Watkins, i ymddangos ger bron y Gymdeithasfa nesaf.

Gwelir ar unwaith fod y Gymanfa yn arolygu yr holl waith, a phenodwyd i'r arolygwr uchod reportio y gwaith a wnaeth yr Arglwydd yn eu dosbarth, unwaith bob mis, i Mr. Sims, neu Mr. Abbot, yn Caerludd. Y Gymanfa oedd yn penodi y Cyfarfodydd Misol, a phwy oedd i lywyddu ynddynt.

Felly pan ffurfiwyd y "Rheolau Dysgyblaethol," datganwyd yr un egwyddor, fel gwirionedd hanesyddol, ac i osod yr enwad ar safle gyfreithiol y cafwyd y Weithred Gyfan-

soddiadol yn 1826. Calfiniaeth, fel yr eiddo Cymanfa Westminster, Dr. Owen, ac eraill o'r hen Anghydffurfwyr, sydd yn cael ei chydnabod yn hono. Felly gosodwyd y Cyfundeb yn un corff, yn wladwriaethol, fel ag yr ydoedd o ran ei fywyd yn dufewnol. Un corff, mewn athrawiaeth a dysgyblaeth; ac felly "Nis gall yn ol deddf ei natur, oddef un ymraniad oddiwrtho trwy ganiatau i rai o'r cymdeithasau sydd yn perthyn iddo i ffurfio eu hunain yn eglwysi neillduol neu anymddibynol, na neb o'r gweinidogion o'r Corff i weini iddynt;" h. y., ni allant gyhoeddi annibyniaeth, ac ar yr un pryd fod yn Fethodistiaid.

Mae ei ffurf-lywodraeth yn meddu mwy o'r elfen Henaduriaethol nag un arall; eto mae pob eglwys yn meddu hawl i lywodraethu ei hachosion ei hun, ac ar yr un pryd i fod yn ddarostyngedig i farn y Cyfarfod Misol (neu Gyfarfod Dosbarth, fel y dywedwn ni). Os bydd rhyw aelod yn meddwl ei fod yn cael cam yn ei eglwys gartrefol, mae ganddo hawl i apelio am amddiffyniad at lys uwch. Mae hyn yn cyfarfod yr elfen boblogaidd; canys yr eglwys, ac nid y swyddogion, sydd yn penderfynu pob materion o bwys. Mae cadernid yn perthyn iddo o ran athrawiaeth, a digon o hydwythedd i ymgyfaddasu at amgylchiadau newyddion o hyd. Dyma restr o brif symudiadau Methodistiaeth:

1735. Howell Harries yn dechreu pregethu.

1736. Agor ysgol yn Trefecca, a'i symud i eglwys Talgarth.

1736. Ffurfio y cymdeithasau neillduol cyntaf.

1736. Harries a Whitefield yn cyfarfod yn Bristol.

1740. Gweinidogion a'r cyngorwyr yn cyfarfod i ymgyngori.

1742. Y Gymanfa gyntaf, yn Watford.

1742. Y Cyfarfod Misol cyntaf, yn nhy Jeffrey Dafydd, Rhiwiau.

1746. Tair mil o gymunwyr gan D. Rowlands, a dwy fil gan Howell Harries.

1747. Adeiladu y capel cyntaf gan y Methodistiaid, yn Llanfairmuallt.

1752. Sylfeini adeilad Trefecca.
1785. Mr. Charles yn ymuno a'r Methodistiaid.
1811. Ordeinio yn cymeryd lle yn y Bala a Llangeitho.
1813. Ffurfio cymdeithas Clawdd Offa.
1823. Cytuno ar y Cyffes Ffydd.
1826. Cael y weithred gyfansoddiadol.
1837. Agor Athrofa y Bala.
1842. Agor Athrofa Trefecca.



PARCH. WILLIAM ROWLANDS, D. D.

## PENOD I.

### PARCH. WILLIAM ROWLANDS, D. D.

GOBEITHIWN y cydsynia pawb a ni, fod y lle blaenaf, fel teyrnged o barch, yn nglyn a hanes ein Cyfundeb, yn perthyn i'r Parch. William Rowlands, D. D. Nid oes yr un gweinidog ag yr ydym fel cenedl dan fwy o ddyled i barchu ei goffadwriaeth, ac yn arbenig felly y Methodistiaid. Ni ellir ysgrifenu hanes yr enwad yn Pennsylvania yn gyflawn a theg heb gymeryd i ystyriaeth wasanaeth a defnyddioldeb y gwas da hwn i Iesu Grist, yn adeiladu yr achos o fewn ein Talaeth. Efe oedd ein tad ni oll, a gwnaeth fwy na neb arall, a'r oll gyda'u gilydd, yn y blynyddoedd cyntaf, er dwyn yr enwad i'r wedd a welwyd arno gan yr oes bresenol. Efe osododd y sylfaen, ac ni wnaeth neb a ddaeth ar ei ol ond goruwchadeiladu ar y sylfaen a osodwyd ganddo ef. Ysgrifenwyd cofiant da am dano, ond mae yr argraff ar ein meddwl na ddywedwyd mo'r haner, ac mai ychydig iawn o syniad sydd genym am waith, gwerth a llafur ei fywyd.

Daeth yma, fel mae yn hysbys, ar alwad eglwys New York, yn 1836; ond nid dyn i eglwys yn unig oedd Dr. Rowlands, ond rhodd Duw i Gymry America, ac i'r enwad hwn yn neillduol.

Gânwyd ef yn Llundain Hydref 10, 1807; ond yr oedd ei rieni yn hanu o Dregaron, Sir Aberteifi. Collodd ei rieni pan yn ieuanc, ac oblegid yr amgylchiadau hyn cymerodd perthynasau ei dad, yn ardal Llangeitho, ofal o hono, ac anfonwyd ef i'r ysgol yn Llanddewibrefi ac Ystrad Meurig, ac yn ddiweddaf at y Parch. John Jones (Glanlery), yn

Llangeitho. Yr oedd yn ddysgwr da ag ystyried ei oed a'r amgylchiadau; daeth yn ysgolor gwych. Yn 1823 bu diwygiad grymus ar grefydd yn yr ardaloedd, a theimlodd yntau ddylanwadau crefyddol dwys, a rhoddodd ei hunan i'r Gwaredwr. Yn fuan wedi hyn aeth i Merthyr Tydfil i chwilio am le i gadw ysgol, a bu yn gynorthwywr i Mr. William Morris, yr hwn a fu am flynyddoedd yn ohebydd i'r "Cyfaill," dan yr enw "Cyfaill i'r Cyfaill." Yn 1825 aeth i Pontypool i gadw ysgol, ac i berffeithio ei hun hefyd; ac yma y dechreuodd bregethu. Dywedir ei fod ar ei gychwyniad cyntaf yn nerthol a dylanwadol, a daeth yn fuan yn hynod boblogaidd. Yr oedd megys seren ddysglaer wedi codi yn y ffurfafen, gan wasgaru goleuni i bob cyfeiriad. Bu am flwyddyn neu ragor yn llafurio yn y maes cenadol ar y Goror, gan bregethu yn Saesneg. Nid oedd ond ychydig gyda'r Methodistiaid yn medru pregethu yn Saesneg yr adeg hono; ond yr oedd yr iaith hono yn naturiol iddo ef, am ei fod wedi dysgu ei siarad gyntaf.

Yn yr adeg hon yr oedd yn ymroddi i waith yr efengyl a'i holl egni. Gweithiwr egniol a diflino a fu ar hyd ei oes. Wedi rhoi y maes cenadol i fyny, a myned trwy lawer o brofedigaethau, ymfudodd i'r America yn y flwyddyn a nodwyd uchod. O ran ei ymddangosiad corfforol yr oedd yn ddyn hardd a golygus, er ei fod yn fyr o gorfforaeth, ac yn tueddu at fod yn dew. Yr oedd ei wallt yn ddu fel y fran, a'i wyneb llydan, ei lygaid gloew, ei edrychiad swynol a threiddiol, yn argoeli dyn o feddwl cryf a chalon fawr. Yr oedd ei ymddangosiad yn foneddigaidd ac urddasol, a theimlai pawb eu bod yn mhresenoldeb dyn mwy na chyffredin, llawn o magnetism, eto yr oedd yn cael ei nodweddu gan dynerwch a lledneisrwydd anghyffredin.

Yr oedd yn amlwg ei fod wedi ei lunio gan natur, cystal ag wedi ei alw trwy ras, i bregethu. Yr oedd wedi derbyn ysbryd y weinidogaeth, ac yr oedd y peth byw yn llosgi fel tân yn ei esgyrn. Nodweddid ei weinidogaeth, y blynyddoedd cyntaf yn enwedig, gan nerth. a pharhaodd felly ar hyd ei oes i fod yn feistr y gynulleidfa. Yr oedd yr "en-

einiad oddiwrth y Sanctaidd hwnw" ar ei holl bregethau, fel yr oedd pawb yn teimlo "fod arogledd y gwirionedd yn enill goruchafiaeth." Sicr na bu neb mor boblogaidd a dylanwadol, fel pregethwwr, yn mhlith y Cymry, a Dr. Rowlands, yn ol tystiolaeth ei gydoeswyr. Wedi ei weled a'i wrando, yr oeddym o'r un farn a hwy. Wedi clywed son a chanmol ar ei bregethau grymus a dylanwadol yn ardaloedd Pottsville, Carbondale a Scranton, yn gystal a lleoedd eraill, ddeugain mlynedd yn ol, ni allwn lai na gofyn, pa le yr oedd cuddiad ei gryfder? Ac yr ydym yn ateb fel y canlyn:

(a) Yr oedd wedi ei alw gan Dduw i fod yn offeryn i wneyd gwaith mawr. Yr oedd ei ysbryd fel ffwrnes, a'r gwirionedd megys aur toddedig yn llifo allan. Yr oedd ei enaid yn llawn gwres.

(b) Grym argyhoeddiad o wirionedd yr efengyl.

(c) Efengyleiddrwydd ei ysbryd.

(d) Naturioldeb a threfn ei faterion.

(e) Pereidd-dra a thynerwch ei lais, fel yr oedd yn cyffwrdd â llinynau tyneraf y galon. Yr oedd y Parch. Morgan Howells yn nerthol; ac yr oedd Rowlands ac yntau yn gyfeillion mawr. Yr oedd John Jones, Talysarn, yn nerthol, a Dr. Owen Thomas yn ddiweddarach. Cedyrn yr areithfa oedd y gwyr uchod; ac er nad oedd Dr. Rowlands mor alluog, fel meddyliwr, a'r ddau ddiweddaf, yr oedd yn meddu ar nerth anghyffredin, ac mewn rhai pethau yn rhagori arnynt, yn enwedig o ran mwyneidd-dra tyner ei weinidogaeth.

Yr oedd yn wr o feddwl coeth a diwylliedig, a pharhaodd i wrteithio ei feddwl ar hyd ei oes. Yr oedd yn hollol gydnabyddus a llenyddiaeth y cyfnod; ac yr oedd pob defnyddiau yn wastad at ei alwad ac yn barod i'w wasanaethu. Nid ydym yn petruso dweyd mai efe oedd y pregethwr mwyaf a welodd cenedl y Cymry yn America. Wedi dyfod i New York cafodd fod pethau mewn sefyllfa annhrefnus, oblegid fod dadleuon athrawiaethol y cyfnod yn cynyrfu, nid yn unig yr eglwys, ond sefydliadau Cymreig y wlad

hefyd. Eithr buan y teimlwyd ei ddylanwad fel pregethwr yn egluro athrawiaethau yr efengyl, ac yn wr o allu a nerth nid yn unig yno, ond o fewn cylch y Gymanfa, a phob lle yr ymwelai a hwynt.

Yr oedd hefyd yn drefnydd rhagorol, ac *idea* fawr ei fywyd oedd gosod y Methodistiaid mewn trefn yn America, yn cyfateb i gynllun a drychfeddwl yr enwad yn Nghymru. Yr oedd ei feddwl yn llawn cynlluniau, ac yn weithiwr egniol; felly y mae, yn 1837, yn cynllunio taith i ymweled a sefydliadau Cymreig y wlad, gan gychwyn o New York am Philadelphia, ac i Pottsville. Oddiyno mae y brawd E. P. Thomas yn myned gydag ef dros fynyddoedd yr Alleghenies i Pittsburg, a chydag afon Ohio i Jackson a Gallia; ac yn ol trwy Newark a Palmyra a sefydliadau New York yn Siroedd Oneida a Lewis.

Yn mhob man yr oedd ei bregethau yn gwefreiddio y cynulleidfaoedd ar y daith hono, ac yr oedd yn amcan ganddo i osod y Methodistiaid mewn gwell trefn, a pharotoi at gychwyn y "Cyfaill," a daeth y rhifyn cyntaf allan Ionawr, 1838. Hwn oedd y cynyg cyntaf at ddwyn allan gyhoeddiad o'r fath yn yr iaith Gymraeg yn y wlad hon. Felly, efe yw tad ein llenyddiaeth gyfnodol, ac yr oedd ganddo fedr a chwaeth olygyddol anghyffredin i barotoi blasusfwyd ar gyfer ei ddarllenwyr. Cadwodd ei ddalenau yn agored i bawb gyfnewid meddyliau, a gwneyd hysbysiadau, cyn bod un cyhoeddiad arall wedi cychwyn eto.

Parhaodd, wedi hyny, i drafaelio trwy Dalaethau New York a Phennsylvania, gan ymweled a'r Cymanfaoedd a'r eglwysi i bregethu anchwiliadwy olud Crist, ac i osod pethau mewn trefn. Pregethai mor rhwydd a dylanwadol yn Saesneg a Chymraeg yn mhob man y byddai galwad am hyny. Pan yn byw yn y ddinas yr oedd Drs. DeWitt ac Armitage, gweinidogion yr Eglwysi Diwygiedig, yn meddwl yn uchel o hono, gan ei gymell yn fynych i bregethu yn eu pwlpudau. Ymwelai yn gyson â Chymanfa y Dalaeth, er y cynelid pedair yn y flwyddyn y pryd hwnw; ac nid oedd y bobl yn ystyried un Gymanfa yn gyflawn os na byddai efe

yno. Pan fyddai y Gymanfa yn Utica, er ei fod yn byw yn y lle, nid oedd pobl y wlad yn foddlon heb ei glywed, ac felly dodid ef i bregethu, yr hyn na wneid a neb arall. Y pryd hwnw, yr oedd Pennsylvania mewn undeb Cymanfaol a New York, a byddai Rowlands yn ymweled yn fynych a'r Dalaeth, ac yn llywydd y Gymanfa, ond odid.

Yn canlyn, wele restr o'r Cymanfaoedd yr ymwelodd â hwynt yn y Dalaeth hon, a'r rhai y bu yn llywydd ynddynt:

1841. Carbondale a Pottsville.
1843. Cymanfa Gorfforedig Pottsville.
1845. Carbondale.
1846. Pottsville.
1848. Danville.
1851. Carbondale, Danville.
1852. Lehigh Gap.
1853. Danville.
1857. Danville.

Crybwyllodd brawd wrthym yn ddiweddar, pan y clywai am bregethwr o nod, ei fod yn hoffi clywed pa le yr oedd ei destyn. Gallai fod llawer yn gyffelyb iddo, ac fel mater o gywreinrwydd a boddhad i'r cyfryw, yn gystal ag mae yn amlygu adnoddau y dyn, dodwn yma restr o destynau y Doctor ar rai o'i ymweliadau a'r Dalaeth. Nid rhyw ddwy neu dair o bregethau fyddai ganddo pan yn cychwyn i daith, ond byddai "yn llenwi ei gawell saethau â hwynt," a byddai ei ymadroddion yn dyferu megys gwlith. Sonir, hyd heddyw, am lawer o oedfaon Rowlands gan yr hen bobl gyda blas, yn Carbondale a Pottsville

1838. Cymanfa y Bedyddwyr yn Pottsville yn mis Medi. Salm 32: 10; 1 Cor. 16: 22 (Saesneg); Luc 14: 19 (Saesneg); Zech. 4: 10.

1838. Tachwedd. Agoriad capel y T. C., Pottsville. 2 Bren. 4: 26; Rhuf. 1; 16 (Saesneg); Salm 86: 10.

1839. Agoriad capel Minersville yn mis Awst. 2 Tim. 2: 20; Iago 1: 22; Heb. 12: 2.

1839. Tachwedd. Agoriad capel Cymru Newydd. Zech. 4: 10; 2 Cor. 5: 19.

1841. Cymanfa Carbondale. Job 21: 30; Luc 19: 5; 1 Pedr 4: 18. Pottsville, Eph. 4: 30; Job 21: 30; Esaiah 53: 10; Gal. 3: 10.

1845. Cymanfa Carbonlale. 2 Tim. 3: 15; Phil. 1: 27; 1 Tim. 4: 10.

1846. Cymanfa Gorfforedig Pottsville. Mal. 3: 16; Ioan 17: 21. Agoriad capel Minersville, Ioan 3: 16 (Saesneg); Salm 102: 1.

1846. Cymanfa Minersville. Heb. 2: 1, 4: 16; Diar. 3: 18.

1848. Cymanfa Danville. Marc 14: 8; Actau 4: 12. Yn ngnapel y Presbyteriaid Seisnig. Matthew 15: 14; Ioan 5: 20.

1849. Cymanfa Gorfforedig. Harrison. Esaiah 21: 11; Rhuf. 1: 16; Heb. 3: 16.

1851. Cymanfa Carbondale. Danville. 1 Sam. 3: 9; 2 Cor. 5: 21; Luc 14: 22. Scranton, Can. 6: 10; 1 Sam. 3: 9; 2 Cor. 5: 21. Danville, 2 Cor. 5: 21; Ioan 14: 2.

Gellid ychwanegu llawer, ond mae hyn yn ddigonol i egluro nodwedd amrywiaethol ei weinidogaeth. Hefyd, gelwid arno i gymeryd rhan yn mhob ordeiniad y dygwyddai iddo fod yn bresenol.

Heblaw hyn, bu Doctor Rowlands yn byw yn Scranton. Daeth yma Mai, 1856, a bu yn gweinidogaethu rhwng Scranton a Carbondale hyd 1858, pan y dychwelodd i Holland Patent, N. Y.

Fel dyn llygadgraff yr oedd ganddo olwg neillduol ar y lle hwn; ac yr oedd yn rhagweled y buasai yn dyfod yn lle mawr. Yr oedd gorfod ymadael oddiyma yn un o brofedigaethau llymaf ei fywyd, a'r rhai oedd fwyaf awyddus i'w dynu yma oedd y cyntaf i droi yn wrthwynebwyr iddo. Trwy gyfaill personol iddo ef, clywsom iddo wylo yr holl ffordd o Scranton i Binghamton y diwrnod yr ymadawodd oddiyma.

Beth bynag, yr ydym yn ddyledus i'w ymdrechion ef yn fwy na neb arall am ddechreuad a threfn gychwynol Methodistiaeth yn y Dalaeth. Ystyriai ef fod perthynas mor agos rhwng eglwys y T. C. yn New York a Thalaeth Penn-

sylvania ag oedd rhyngddi a Thalaeth New York, ac yn gymaint ag y gwnaeth y Gymanfa hon gais ddwywaith ar i'r eglwys hono ymuno a'r Gymanfa hon, hwyrach mai nid annyddorol gan rai fyddai ychydig o hanes dechreuad yr achos fu yn offerynol i dynu y gwr parchedig i'r wlad hon.

Mae yn hysbys mai Philadelphia oedd prif ddinas y llywodraeth ar y cyntaf, ac yno yr oedd ymfudiaeth Gymreig yn cyfeirio y pryd hwnw; ond wedi i ddinas New York ddyfod i feddiant y llywodraeth, daeth yn fuan yn brif borthladd y wlad, a phrïf gyrchfa ymfudiaeth Gymreig, yn gystal a chenedloedd eraill. Yn 1801 y dechreuwyd achos Cymreig yn y ddinas, pan ddaeth y Parch. Howell Powell yno, yr hwn a fu wedi hyny yn weinidog y T. C. yn Palmyra, Ohio. Yn fuan wedi hyny corfforwyd eglwys yno yn cynwys y tri enwad, Annibynwyr, Bedyddwyr a Methodistiaid Calfinaidd, a Mr. Powell yn weinidog iddynt. Annibynwr oedd Mr. Powell yn wreiddiol, ond ymadawodd oddiwrthynt oblegid yr athrawiaeth newydd oedd yn cynyrfu eglwysi a chyfundebau Cymru ar y pryd. Wedi corffori yr eglwys cafwyd lease ar hen felin gan y Milwriad Rutgers, ac wedi ei chyfaddasu, cynwysai le i 800 o bobl; a dywedir y byddai ar adegau yn llawn ar yr adeg hon.

Ond yn mhen tua blwyddyn cyfododd ymrafaelion oblegid cwestiynau athrawiaethol, fel yr ymranodd yr eglwys, ac ymneillduodd Mr. Powell a'r rhan fwyaf o'r gynulleidfa i dy ardrethol, a gorfu i'r gweddill werthu y lease i dalu am yr adgyweiriad. Yn mhen pedair blynedd ymadawodd Mr. Powell o'r ddinas, a rhoddwyd yr achos i ofal y Bedyddwyr; a bu y Parch John Stephens yn weinidog iddynt. Yn y tymor hwn cyfodwyd addoldy cyfleus yn Mott Street, ond yn mhen chwe' blynedd ymadawodd y rhan fwyaf o'r Cymry o'r ddinas, a gwerthwyd y capel hwn i dalu ei ddyled, ac ymunodd y gweddill o'r Bedyddwyr ag eglwys y Parch. John Williams, tad y Parch. William R. Williams, fu yn weinidog am flynyddoedd lawer yn Amity Street.

Wedi hyn ymunodd y Methodistiaid Calfinaidd a'r Annibynwyr i gadw cyfarfodydd mewn ty ardrethol, a chael am-

bell i oedfa yn achlysurol, pan ddeuai pregethwr heibio. Yn mhen ysbaid wedi hyn daeth y Parch. Evan Roberts (Penygraig, neu Penycaerau wedi hyny), yn weinidog iddynt. Dylynwyd ef gan y Parch. James Davies o Lanfair, ac yn ei dymor ef ymneillduodd y Methodistiaid a rhai Annibynwyr oblegid yr athrawiaeth wrth-Galfinaidd, gan ardrethu ystafell i addoli wrthynt eu hunain. Y gweinidog cyntaf fu gan y gynulleidfa hon oedd y Parch. John V. Hughes o Gastellnedd, Morganwg. Trodd ef at yr Esgobaethwyr am dymor, ond dychwelodd at ei gariad cyntaf, a chyda'r Methodistiaid y bu farw yn Sir Oneida. Bu ef ar ymweliad a Chymanfa Pennsylvania unwaith neu ddwy. Dylynwyd ef yn New York gan y Parch. Shadrach Davies, ac fel olynydd iddo ef y daeth Dr. Rowlands i'r ddinas. Tybiwn mai ar y Bowery, yn agos i Houston Street, yr oeddid yn cynnal moddion y pryd hwnw. Buont am flynyddau mewn lle ardrethedig ar Chrystie Street, yn agos i Grand Street. Wedi hyny y sefydlwyd yr achos ar Allen Street mewn lle a brynasant; ac yno yr oeddynt pan ymwelsom ni gyntaf a New York. Nid ydym yn gwybod i ni gyfarfod a neb yn un cwr o'r wlad oedd wedi bod yr aros yn y ddinas yn y cyfnod hwn, nad oedd ganddynt adgofion cynes am hen gapel Allen Street, a'r amser dedwydd gafwyd yno lawer gwaith dan weinidogaeth Dr. Rowlands.

Yn yr adeg hon yr oedd ymfudiaeth fawr yn dylifo i'r wlad o Gymru, yn gystal a gwledydd eraill, a gwnaeth y Doctor ei ran i lesoli ei gydgenedl, yn dymorol cystal ag yn ysbrydol. Gwelsom lawer iawn, yn ngwahanol barthau y wlad, o bryd i bryd, oedd yn ferched ieuainc yn gwasanaethu yn New York y pryd hwnw, ac oll yn dwyn y dystiolaeth uwchaf i'w ofal tyner a charedig am danynt.

Bu farw yn Utica, Hydref 27, 1866. Amlygwyd galar mawr ar ei ol, oblegid colled fawr—y golled fwyaf i'r Methodistiaid oedd ei farwolaeth ef. Ei berthynas ag achos y Methodistiaid yn y Dalaeth hon yw ein rheswm (fel y gwelir yn y tudalenau canlynol) dros roddi lle i'r sylwadau hyn ar ddechreuad yr hanes.

# PENOD II.

## EIN CYMANFAOEDD.

DRYCHFEDDWL sylfaenol Methodistiaeth ydyw undeb ac arolygiaeth. Nid casglu eglwysi a'u cylymu yn gelfyddydol gan allu Cymanfa a wnaeth, ond fel mae aelodau y corff dynol wedi tyfu oddiar fywyd mewnol, felly mae eglwysi y Methodistiaid wed tyfu yn un corff dan arolygiaeth y Gymanfa.

Felly mae y Gymanfa, o'r cychwyn cyntaf, wedi bod yn elfen bwysig i lwyddiant Methodistiaeth, o ran mantais i arolygu yr achos yn mhob man o fewn cylch y Gymanfa, yn gystal ag fel cyfleusdra i drefnu mesurau, ac enill tir newydd. Cynaliwyd y gyntaf yn Watford, yn 1743, a'r enwog George Whitefield oedd y llywydd; ac o hyny hyd yn awr amcenir gwneyd y Gymanfa mor enwog ac urddasol o ran doniau ag sydd oosibl. Yr oedd y Gymanfa yn adeg i'r miloedd ddyfod yn nghyd o bob cwr o'r wlad i glywed yr efengyl yn cael ei phregethu gan enwogion y genedl. Tra byddo yr iaith Gymraeg yn cael ei siarad, a'r efengyl yn meddu swyn a dylanwad ar feddwl y Cymro, bydd hen Gymanfaoedd Llangeitho a'r Bala yn fythgofiadwy. Daeth ein tadau a'u syniad am Gymanfa, yn ol yr hyn oeddynt wedi ei weled yn ngwlad eu genedigaeth, gyda hwynt i'r America; a dyddorol i ni ydyw dylyn eu hymdrechion, dan amgylchiadau anfanteisiol, i sylweddoli eu syniad yn ymarferol. Ymddengysi ni fod yr ymdrechion hyny yn ymranu i dri neu bedwar dosbarth.

### 1.—CYMANFAOEDD UNDEBOL.

Yn haf y flwyddyn 1838 galwyd cyfarfod o'r Cymry yn Carbondale i ystyried y cwestiwn a ellid cynal Cymanfa yn

y lle hwnw. Pwy ddewiswyd yn Llywydd, ni wyddom, ond Daniel Scurry oedd yr Ysgrifenydd. Daethpwyd i'r penderfyniad fod un enwad yn rhy wan i gynal cyfarfod o'r fath, a'u bod hwy fel Annibynwyr, Bedyddwyr a Methodistiaid Calfinaidd yn ymuno i alw Cymanfa yno yn mis Awst, i barhau am dri diwrnod, ac yn ymrwymo i wneyd eu goreu drosti. Felly anfonwyd yr hysbysiad allan, yn nghyd a gwahoddiad taer i weinidogion y gwahanol enwadau i fod yn bresenol. Penderfynwyd hefyd nad oedd neb i gael pregethu yno nad oedd yn credu "athrawiaeth y Drindod, priodol Dduwdod a gwir ddyndod Crist, etholedigaeth bersonol, a phrynedigaeth neillduol, cyfiawnhad, a galwad effeithiol, a pharhad y saint mewn gras." Mae yn eglur fod y penderfyniad uchod yn sicrhau y buasai duwinyddiaeth y Gymanfa o nodwedd iachus ac efengylaidd, ond oblegid rhyw anghydwelediad rhwng y gweithwyr a pherchenogion y gwaith, galwyd y gwahoddiad yn ol.

Galwodd y Bedyddwyr Gymanfa o'r un nodwedd, i gyfarfod yn Pottsville, Medi 12-14, 1838, a'r Parch. William Rowlands oedd yn cynrychioli y T. C. yn y Gymanfa hono, a phregethodd yno bedair gwaith. Cynaliwyd y drydedd yn ninas New York, ar Broome Street, yn yr eglwys Henaduriaethol Gymreig, i'r hon yr oedd Jonathan J. Jones yn weinidog. Ond nid Henaduriaethwyr, yn ystyr briodol y gair, oeddynt, ond Annibynwyr; ond wrth newid eu henwau cawsant feddiant o'r capel hwnw. Gwyddom hefyd am droion cyffelyb mewn gwahanol barthau o'r wlad. Hon oedd y Gymanfa Gymreig gyntaf fu yn y ddinas, a pharhaodd dros ddau Sabboth; ac yr oedd yn bresenol 17 o bregethwyr yn cynrychioli y gwahanol enwadau; ond nid oedd neb yn cynrychioli y Methodistiaid yn hon chwaith ond Dr. Rowlands.

Nid ydym yn gwybod a gynaliwyd Cymanfa undebol ar ol hon ai peidio, ond yr oedd y drychfeddwl yn ardderchog, a buasai yn dda pe buasai wedi ei gadw i fyny mewn llawer o fanau hyd yn awr.

Bu hefyd Undeb Cymanfaol rhwng yr Annibynwyr a'r Bedyddwyr ar ochr orllewinol yr Alleghanies; ac am eu bod o'r un syniadau gyda golwg ar lywodraeth eglwysig, gallesid yn naturiol ddysgwyl iddynt gadw yr undeb i fyny, ond ar ol hyn mae enwadaeth yn amlygu ei hun yn mhob cyfeiriad, a theimlai y gwahanol bleidiau nas gallesid cadw yr undeb heb aberthu egwyddorion a ystyrient yn fwy pwysig.

II.—Y GYMANFA GORFFOREDIG, 1842–1853.

Amcan mawr parhad bodolaeth eglwys Dduw fel sefydliad, ydyw diogelu bywyd crefydd, a sicrhau ei llwyddiant yn y byd—fod cymeriad sanctaidd a bendigedig ein Gwaredwr yn cael ei egluro yn mywyd ei ganlynwyr. Yr oedd y cynllun dwyfol yn cynwys iddynt fod megys goleuadau, yn cynal gair y bywyd yn y byd. Mewn trefn i hyny, mae yn angenrheidiol fod athrawiaeth a moesoldeb yr efengyl yn cael eu dysgu a'u cymwyso at feddyliau ac ymarweddiad holl aelodau yr eglwys.

Nodwedd arbenig yr eglwysi Henaduriaethol ydyw fod yr holl eglwysi yn ddarostyngedig i arolygiaeth a llywodraeth y Gymanfa, mewn athrawiaeth a dysgyblaeth. Fel cangen fechan, mewn cydmariaeth, o'r corff Henaduriaethol, mae y Methodistiaid Calfinaidd Cymreig wedi bod yn hynod am eu sel dros burdeb athrawiaeth a dysgyblaeth. Lle bynag y sefydlwyd eglwysi yr enwad hwn yn Nghymru a Lloegr, yr oeddynt yn un o ran eu barn, ac yn cydymffurfio a'r un rheolau.

Yr oedd y tadau a sefydlodd Fethodistiaeth yn America a'u calonau yn llosgi gan sel ac eiddigedd sanctaidd dros egwyddorion ac ymarferiadau yr enwad y perthynent iddo, a gwnaethant ymdrechion teilwng o goffadwriaeth i drosglwyddo yr ymddiriedaeth yn ddilwgr, a chadw yr undeb heb ei anmharu, i'w holynwyr. Ni wnaed, ac ni ellir ysgrifenu dim teilwng am danynt yn nghoflyfrau y ddaear, ond mae llyfr coffadwriaeth addas o honynt wedi ei ysgrifenu yn y nefoedd, fel rhai oedd yn meddwl am ei enw ef; ac yn "gwasanaethu eu cenedlaeth yn ol ewyllys Duw."

Mae y Gymanfa Gorfforedig yn teilyngu sylw neillduol yn yr hanes hwn; oblegid mai hon osododd i lawr sylfeini ein holl drefniadau a'n harferion presenol, ac a fu am flynyddoedd yn llywio ein holl symudiadau. Rhoddwyd ffurf organaidd ar Fethodistiaeth Pennsylvania mewn undeb ac o dan nawdd ac arolygiaeth Cymanfa New York. Yr oedd ganddynt fantais hefyd, trwy fod y sefydliadau yn hŷn o ran amser, ac yn agos at eu gilydd. Dechreuodd Cymry ymsefydlu yn mhlwyfydd Steuben a Remsen yn 1795, ac ychwanegwyd llawer at eu nifer yn 1797; ac o hyny yn mlaen bu cynydd ar ymfudiaeth am flynyddau lawer. Yn 1812 ystyrid y sefydliad Cymreig yn 15 milldir o hyd, wrth 10 milldir o led, ac yn cynwys 700 o Gymry. Yn 1839 cyfrifid fod o Utica i Turin 7,000 o Gymry.

Yn 1801 cafwyd y bregeth Gymreig gyntaf yn y sefydliad gan y Parch. James Harries (B.). Yn yr un flwyddyn corfforwyd eglwys Steuben, yr hon hefyd a gofrestrwyd dan yr enw "The First Methodist Society of Steuben." Tebygol mai hon yw yr eglwys Fethodistaidd gyntaf a gorfforwyd yn y wlad. Yn yr un flwyddyn adeiladwyd capel cyffion, ac wedi i hwnw fyned ar dân, adeiladwyd un arall ffrâm; ac yn 1820 adeiladwyd y capel ceryg sydd yno yn bresenol.

Yn 1807 galwodd yr eglwys y Parch. W. G. Pierce yn weinidog iddi. Rywfodd ymadawodd yr eglwys a'i hegwyddorion Methodistaidd, ar ba rai y corfforwyd ac y cofrestrwyd hi, ac aeth yn Annibynol. Eto yno y byddai Methodistiaid yn myned i gyflwyno eu haelodaeth, ac yno yr aeth Mr. James Owen a'i lythyr yn 1818. Yn 1820 daeth y Parch. Evan Roberts yno yn weinidog, ac am nad oedd pethau yn hapus, oblegid syniadau athrawiaethol, ymadawodd ef a 24 o aelodau gydag ef, a ffurfiasant eglwys yn ol trefn a rheolau y Methodistiaid yn Penycaerau, Mawrth 21, 1824, ac adeiladwyd y capel yno yr un flwyddyn. Penygraig a'r Nant yn 1828; Capel Ceryg, Remsen, yn 1831, a French Road yn 1835. Felly yr oedd yn y cylch hwn ddigon o nifer a nerth i gadw Cymanfa cyn bod un eglwys wedi ei sefydlu yn Pennsylvania. Cynaliwyd y Gymanfa gyntaf

yn Penycaerau, Mai 10, 1828, a hono oedd y gyntaf i'r Methodistiaid ei chynal ar y cyfandir hwn.

Yn yr un blynyddoedd bu ymfudiaeth fawr i Dalaeth Ohio—Palmyra, Welsh Hills, Saron a Newark, lle y sefydlwyd eglwysi, ac y cynaliwyd y Cymanfaoedd cyntaf yno. Dechreuodd Cymry ymsefydlu yn Jackson County yn y flwyddyn 1818, a bu ymfudiaeth fawr yno o'r pryd hwnw hyd 1841. Yn 1836 daeth y Parchn. Edward Jones ac Edward Blunt i'r sefydliad hwnw. Corfforwyd eglwys Horeb yn 1838; Soar a Bethel yn 1841; a Sardis yn 1843, a chynaliwyd y Gymanfa gyntaf yn Jackson yn 1838. Felly yr oedd sefydliadau Cymreig New York ac Ohio yn fawr a chryfion cyn bod dim wedi dechreu yn Pennsylvania, oddieithr Ebensburg, ar ben mynyddoedd yr Alleghanies, yr hwn yw y sefyliad hynaf yn y Dalaeth. Ar ol agor y gweithfeydd yn 1820 y dechreuodd ymfudiaeth gyfeirio yma, ac wedi hyny bu y Methodistiaid yn hwyrfrydig i lunio Cymanfa na Chwrdd Dosbarth, na gwneyd dim er gosod yr achos mewn gwedd gymdeithasol, fel organization, i wneyd gwaith. Dichon fod y Methodistiaid yn llai eu nifer nag enwadau eraill, y sefydliadau yn mhell oddiwrth eu gilydd, a phrinder pregethwyr, yn rhoddi cyfrif am hyn.

Y pregethwr cyntaf ddaeth yma i fyw yn y cyfnod hwn oedd y Parch. John Davies, Blakely. Daeth ef i Carbondale yn 1831. Wedi deall fod amryw gyfeillion Methodistaidd yn y lle, mae y brodyr o Sir Oneida yn anfon y Parch. Benjamin Davies i ymweled a hwynt, a bu yn aros yno rai wythnosau, yn pregethu ac yn gweinyddu yr ordinhadau. Pan oedd ar fedr dychwelyd yn ol, penderfynodd cyfeillion Carbondale anfon y brawd John Davies gydag ef i Sir Oneida i gael ei ordeinio i gyflawn waith y weinidogaeth, yr hyn a wnaed yn 1832.

Yr amgylchiad hwn fu yn achlysur i ddwyn yr eglwysi Methodistaidd yn Pennsylvania i gael edrych arnynt fel rhan o Gymanfa New York am flynyddoedd lawer. Yr oedd hefyd undeb Cymanfaol cyffelyb gan y Bedyddwyr yn y ddwy Dalaeth uchod, a chynelid y Gymanfa yn Pennsylvan-

ia un flwyddyn, ac yn New York yr ail. Yn y blynyddoedd uchod, dau gylch Cymanfaol oedd gan y Methodistiaid. Ystyrid yr holl diriogaeth, o ben Llyn Erie, yr ochr ddwyreiniol i fynyddoedd yr Alleghenies, i aber y Chesapeake, o dan arolygiaeth Cymanfa New York; a'r ochr orllewinol i'r mynyddoedd dan arolygiaeth Cymanfa Ohio. Nid oedd Cymanfa Wisconsin wedi ei dechreu eto.

Yn y flwyddyn 1844 mae Cymanfa Remsen, yr hon a gynelid yn mis Mawrth, yn pasio penderfyniad fel y canlyn: "Ein bod yn gwrthod rhoddi ein capelau i'r gwrthgaethiwyr politicaidd;" a hysbyswyd "Ein bod yn ystyried fod y penderfyniad i gyraedd dros holl gapelau y Corff yn y Dosbarth gogledd-ddwyreiniol i fynyddoedd yr Alleghenies." Honai y brodyr eu bod hwy mor wrthwynebol i gaethiwed a neb, ond nad oeddynt yn ystyried yn briodol i roddi y capelau at wasanaeth cynyrfwyr politicaidd. Yn Nghymanfa Gorfforedig 1848, mae Dr. Rowlands yn egluro y berthynas Gymanfaol rhwng y ddwy Dalaeth, a bod eglwys dinas New York yn sefyll yn yr un berthynas ag eglwysi Pennsylvania ac eglwysi Sir Oneida.

Yn yr adeg hon yr oedd amrywiol achosion yn cydweithio er dwyn ein tadau i deimlo yr angen am undeb cyfansoddiadol (organic union) rhwng y gwahanol sefydliadau, er eu dwyn dan arolygiaeth yr un Gymanfa; neu ynte yr oedd ymfudiaeth Fethodistaidd yn myned i golli yn y wlad, fel dwfr wedi ei dywallt ar y ddaear, ac ni buasai yn perthyn iddi unrhyw elfen o nerth.

(a) Daethant yma gyda'r syniad yn fyw yn eu meddyliau mai un ydoedd y corff Methodistaidd i fod. Felly yr oeddynt wedi gweled yn ngwlad eu genedigaeth, pa beth bynag oedd y gwahaniaeth rhwng De a Gogledd, yr oeddynt yn un yn eu Cymanfaoedd. Teimlent, os nad allent fod yn un a'u brodyr yno, fel cangen o'r pren, wedi ymestyn dros y Werydd, y mynent fod yn un yma. Ymddengys i ni fod y syniad hwn mor ddwfn yn eu meddyliau, nad oeddynt yn ymdeimlo ag anhawsderau anianyddol; ac yr oedd eu ffydd yn y Duw anweledig i weithio allan y syniad yn fawr a nerthol.

(b) Yr oedd ymfudiaeth Gymreig yn dylifo i'r wlad, a hono mewn rhan fawr yn Fethodistaidd—yr hen sefydliadau yn cynyddu, a rhai newyddion yn cael eu sefydlu, ac angen rhyw ddarpariaeth i'w cyflenwi â moddion gras a phregethu. O herwydd pellder y sefydliadau oddiwrth eu gilydd a'r anhawsderau i ofalu am danynt, a chadw cydymdeimlad byw rhyngddynt a'u brodyr yn ngwahanol barthau y wlad, yr oedd yn rhaid cael organization cyn y gellid gwneyd gwaith yn effeithiol.

(c) Yr oedd dadleuon duwinyddol Cymru yn myned yn mlaen gyda brwdfrydedd anghyffredin yn yr adeg hon hefyd. Teimlent hwythau y pwys o gadw gwirionedd yr efengyl yn ddilwgr, ac arfer arolygiaeth fanwl a gofalus am y pwlpud; ac nad oedd pob math i ddringo yno.

(d) Yr oedd y cynwrf a'r ymraniad oedd wedi cymeryd lle eisoes yn Sir Oneida, oblegid fel y bernid fod y Parch. Morris Roberts wedi gwyro oddiwrth athrawiaeth y Methodistiaid, a mabwysiadu y system newydd fel ei gelwid, yr hyn a arweiniodd i'w ddiarddeliad ac ymraniad yn yr eglwysi, yr hyn a fu yn rhwyg dinystriol a niwed anfesurol i achos crefydd yn gyffredinol, yn peri iddynt deimlo angen am undeb agosach, cyd-ddealltwriaeth a chydymdeimlad a'u gilydd er amddiffyn yr athrawiaeth sydd yn ol duwioldeb.

(e) Ymddengys i ni fod y Gymanfa Gorfforedig yn feddylddrych mawr bywyd Dr. Rowlands yn yr adeg hon. Efe oedd tad y symudiad, a rhoddodd amser a llafur dirfawr a diflino i'w gwneyd yn llwyddiant, er adeiladaeth yr achos. Yn y cysylltiad hwn rhoddwn ger bron y darllenydd rai esiamplau i ddangos mor gryf yr oedd y teimlad am undeb yn ffynu yn mysg ein tadau yn y cyfnod hwn.

Y cyntaf, o ran amser, ydyw penderfyniad Cymanfa Jackson; yr hwn sydd fel y canlyn: "Yr ydym ni, y rhai mae ein henwau isod, heddyw, y 6ed dydd o Ebrill, 1838, yn ngwyneb adnabyddwr calonau pawb, a dialydd pawb a doro eu hamodau, yn ymrwymo i fod yn un corff, mewn cysylltiad a'r Methodistiaid Calfinaidd yn Nghymru, gan ymrwymo i amddiffyn yr athrawiaeth sanctaidd a gynwysir yn

eu Cyffes Ffydd, heb ychwanegu dim ati na thynu dim oddiwrthi. Hefyd, i amddiffyn y rheolau sanctaidd sydd yn y llyfr hwn, gan ymarweddu yn eu hol, ac ymdrechu i gael eraill i wneyd yr un modd, yn enwedig y rhai sydd yn dwyn perthynas â ni yn eglwysig. Hefyd, i ddylyn yr un drefn yn ngosodiad yr achos yn gyffredinol, mor bell ag y bydd amgylchiadau yn caniatau. A'r Duw sanctaidd, trwy gyfryngdod ei Fab Iesu, a dylanwad Ysbryd y gras, a'n cynorthwyo i gyflawni ein hymrwymiad. Arwyddwyd: Parchn. Edward Jones, Robert Williams, Edward Blunt, William Parry, John Edwards, David Rosser, David Lewis, pregethwyr."

David Wynn, William Evans, John Evans, Stephen Davies, Alban Albans, Richard Davies, Edward Morris, Lewis Williams, William Bowen, William T. Williams a John Edward Jones, Blaenoriaid.

Cymanfa Remsen Mehefin, 1839. Gosodwyd gan y brodyr yno ar y brawd John S. Williams, yr hwn a benodwyd i fyned yn arweinydd i'r Parchn. Henry Rees a Moses Parry, "I ymdrechu er ffurfio rhyw foddion er meithrin mwy o undeb rhwng eglwysi y T. C. yn y wlad hon, megys yr undeb rhwng De a Gogledd yn Nghymru."

Gorphenaf 13-15, 1839, mae Cymanfa Cincinnati yn pasio dau benderfyniad: (a) "Penderfynwyd yn unfrydol, ein bod yn aros mewn undeb a'r corff i ba un y perthynem yn Nghymru. (b) Penderfynwyd yn wresog, i ymegnio at fwy o undeb rhwng eglwysi y T. C. yn y wlad hon, ac i'r dyben hwnw fod gweinidog a blaenor yn myned o'r naill Dalaeth i'r llall, sef New York ac Ohio, yn flynyddol, a New York i ddechreu, trwy anfon i Gymanfa Palmyra y flwyddyn nesaf."

Medi 7, 8, 1838, mae Cymanfa Saron yn pasio penderfyniad, eu bod yn dymuno gweled brodyr o Dalaethau New York a Pennsylvania yn y Gymanfa nesaf yn Pittsburg, i gael eu cyfarfod gyda'r achos goreu.

Hefyd, anfonwyd gwahoddiad cynes i'r holl frodyr o New York a Pennsylvania a allent, i fod yn bresenol yn Nghym-

anfa Jackson, Medi 11-13, 1840. Gellid meddwl oddiwrth yr uchod fod yr holl frawdoliaeth Fethodistaidd o fewn cylch y ddwy Gymanfa yn addfed i ffurfio rhyw gyfrwng i gyraedd yr amcan oedd mor agos at eu meddyliau a'u calonau.

Felly yn Nghymanfa Utica, Medi 2, 3, 1841, darllenwyd Corff o Reolau a ffurfiwyd i'r dyben i gael mwy o undeb rhwng ein gwahanol eglwysi yn y wlad hon, a phenderfynwyd eu cynyg i sylw ein brodyr yn Pennsylvania ac Ohio. Yn ngwres a brwdfrydedd y Gymanfa hono i ffurfio undeb, mae y Parchn. Thomas T. Evans, John Owen, John H. Evans a William Rowlands, D. D., yn dyfod i Carbondale i gynal Cymanfa Medi 11, 12, a gosodwyd ger bron y brodyr yma y cynllun a gynygiwyd yn Nghymanfa Utica, gan gymell y brodyr i feithrin undeb a chydweithrediad a'u brodyr trwy Gymanfa Gorfforedig; a'r angenrheidrwydd oedd i ni sefyll yn fyw dros yr athrawiaeth sydd yn ol duwioldeb. Cymeradwywyd y cynllun gan y brodyr oedd yn bresenol yn Carbondale yn unfrydol. Cymellwyd hefyd i gael argraffiad newydd o'r Cyffes Ffydd. Wedi bwrw golwg ar yr achos yn y lle, traddodi tair ar ddeg o bregethau, cynal dwy gyfeillach, heblaw y cynadleddau, ymadawodd y brodyr, ac eraill gyda hwynt, i Pottsville, i gynal Cymanfa gyffelyb, Medi 18, 19. Darllenwyd a chymeradwywyd rheolau yr Undeb corfforedig yno hefyd, ac yn ychwanegol at y brodyr oedd yn Carbondale, yr oedd y Parchn. David Lewis, Ebensburg, a John Jones, Hazelton, yn hon. Wedi bwrw golwg ar yr achos yn y lle, sefyllfa cyfeillion Blossburg, a'r ddyled ar gapel Minersville, a phregethu yn y tri lle, terfynwyd y Gymanfa.

Mae peth petrusder ar ein meddwl i alw hon yn Gymanfa, am nad oedd wedi ymgynull trwy alwad yr eglwysi, na chynrychiolaeth wedi ei hanfon iddi; a pha un bynag a edrychir ar y cynulliad yn Pottsville fel parhad yr un yn Carbondale, ynte fel dwy wahanol—hwyrach mai dau gyfarfod pregethu y buasem ni yn eu galw, eto Cymanfa yr oeddynt hwy yn ei galw; a hwn yw y cyfarfyddiad cyntaf tebyg i Gymanfa fu gan y Methodistiaid yn Pennsylvania; ac mae yn

eglur ddarfod ei chynal ar alwad y brodyr o Dalaeth New York. Hon oedd y dechreuad, ac o'r hedyn hwn y tarddodd ein holl Gymanfaoedd. Wedi ystyriaeth, gohebiaeth a phenderfyniad yr amrywiol Gymanfaoedd, penderfynwyd galw Cymanfa Gorfforedig i ymgynull yn Palmyra, Ohio, Mehefin 17-20, 1842, a gwahoddwyd cynrychiolwyr dros yr holl Gorff i fod yn bresenol. Gan mai hon yw y gyntaf yn y gyfres, dodwn yma grynodeb byr o'i gweithrediadau. Enwau y gweinidogion yn bresenol oedd y rhai canlynol: Parchn. Edward Jones, Cincinnati; Owen Jones a William Morgans, Pittsburg; Robert Williams, Moriah; Hugh E. Rees, Newark; a William Parry, Granville. Dr. Rowlands yn unig oedd yn cynrychioli eglwysi yr ochr ddwyreiniol i'r Alleghenies. Nid oedd y nifer yn fawr, mae yn wir, ond nid nifer sydd i benderfynu pwysigrwydd unrhyw gynulliad. Iddynt hwy yr oedd yn bwysig ac urddasol, oblegid yr amcan uchel ac urddasol oedd ganddynt mewn golwg, a phrofodd felly mewn gwirionedd, oblegid ei dylanwad ar ddyfodol Methodistiaeth. Etholwyd Dr. Rowlands yn Llywydd, a'r Parch. Edward Jones yn Ysgrifenydd.

(a) Cyflwynodd Dr. Rowlands, fel cynrychiolydd, genadwri eglwysi a Chymanfaoedd y Dwyrain i sylw y Gymanfa, yn galw am fwy o undeb a chydweithrediad yn mhob peth cysylltiedig a llwyddiant Methodistiaeth. Darllenodd hefyd y rheolau y cytunwyd arnynt yn y Cymanfaoedd Dwyreiniol. Derbyniwyd y genadwri, cadarnhawyd y Rheolau, a gorchymynwyd i'r ysgrifenydd anfon cenadwri at Gymanfaoedd y Dwyrain yn cydnabod eu brawdgarwch a'u gofal am eu brodyr yn y Gorllewin. Darllenwyd yno hefyd lythyr oddiwrth y Parchn. Henry Rees a Moses Parry, yr hyn a barodd hyfrydwch mawr i'r frawdoliaeth.

(b) Penderfynwyd sefydlu Cymdeithas Genadol Gartrefol, a dewiswyd y Parch. Owen Jones, Pittsburg, yn Llywydd, a Benjamin Price o'r un lle, yn Ysgrifenydd.

(c) Dirwestiaeth. "Nad oes neb wedi ei ddiarddel am feddwdod i gael ei dderbyn yn ol heb lawnodi yr ardystiad dirwestol."

(d) Fod y gwahanol Gymanfaoedd i ohebu a'u gilydd am y cynllun goreu er diogelu ein capelau i'r Corff o Fethodistiaid Calfinaidd.

(e) Nad oes neb, er ei ddewis yn ddiacon yn yr Hen Wlad, i gael blaenori yn y wlad hon heb alwad ychwanegol oddiwrth yr eglwys lle y cartrefa, ar yr un pryd caniateir iddo freintiau diacon neu flaenor yn y Cyfarfodydd Chwarterol a Chymanfaol.

(f) Cymeradwywyd cyhoeddi argraffiad o'r Cyffes Ffydd a'r Hyfforddwr at wasanaeth Methodistiaid yn y wlad.

(g) Penderfynwyd fod y Gymanfa Gorfforedig nesaf i gael ei chynal yn Utica, Medi 1, 2, a'r Parch. Robert Williams, Moriah, yn genadwr yno; a Chymanfa nesaf Ohio i fod yn Jackson.

(h) Estynwyd galwad eglwys Palmyra i'r Parch. Edward Rees i ddyfod yno yn weinidog.

Eisteddodd y Gymanfa hon am bedwar diwrnod; ac ystyried mai cychwyn yr oeddynt, gwnaethant waith mawr er gosod sylfeini llwyddiant Methodistiaeth yn y wlad, a threfnu mesurau oedd yn ateb i'w hamgylchiadau ar y pryd. Traddodwyd yno 16 o bregethau, a gweinyddwyd Swper yr Arglwydd unwaith. Cynaliwyd un cyfarfod dirwestol, dwy gyfeillach i drafod materion cyffredinol, heblaw y cynadleddau swyddogol. Pregethodd Dr. Rowlands chwe' gwaith, a dwy waith yn Saesneg.

Bellach, mae y Trefnyddion Calfinaidd yn un corff, nid mewn theory, ond mewn ffaith. Felly yr oedd y tadau yn edrych ar y mater, gan ystyried yr enwad yn Organic Unity; ac nid oedd llinellau daearyddol yn eu gwahanu oddiwrth eu gilydd. Felly maent yn darparu cynllun a chymdeithas i gyflenwi angen sefydliadau oedd yn amddifad o'r efengyl. Mae yn eglur fod y rhai fu yn llunio yr organization yn golygu i'r Gymanfa hon arolygu a threfnu holl symudiad yr enwad yn ei bobpeth, fel na ddelai gwahaniaeth barn nac ymarferiad i beri anghydwelediad nac ymraniad yn y Corff. Am ryw reswm nad ydym yn ei wybod, ni bu un Gymanfa Gorfforedig yn Ohio ar ol hono yn Pal-

myra, ac o hyny allan, yn ol y cynllun mae yn myned ar gylch bob yn ail flwyddyn rhwng Talaethau New York â Phennsylvania.

Cynaliwyd yr ail yn Utica, Medi 1, 2, 1842. Dr. Rowlands yn Llywydd a Mr. John S. Williams yn Ysgrifenydd. Y gweinidogion presenol yn hono oeddynt y Parchn. David Davies, Pottsville; David E. Davies, Penygraig; David Jones, Western; Edward Rees, Collinsville, a Thomas T. Evans, Holland Patent.

Yn ol trefn, yr oedd y drydedd yn dygwydd yn Pennsylvania; ond oblegid ansefydlogrwydd y gweithfeydd ac anwadalwch y bobl, ni chynaliwyd yr un yma, a'r tebygolrwydd ydyw fod Cymanfa 1843 wedi ei chynal yn Utica, Medi 1, 2. Nid oes dim neillduol yn y cofnodion am hon, ond fod y Parch. Edward Rees wedi ei neillduo i gyflawn waith y weinidogaeth, a David Davies, Pottsville, a John Jones, Wellsland, Lloegr, wedi eu derbyn yn bregethwyr i'r Cyfundeb.

Mae braidd yn sicr na chynaliwyd yr un Gymanfa ar hyd y flwyddyn 1844.

Yn 1845 cynaliwyd y bedwaredd yn ninas New York, Mehefin 5-9, y Parch. Dr. Rowlands yn Llywydd, a Daniel Scurry, Carbondale, yn Ysgrifenydd. Y gweinidogion presenol, ac yn gweinyddu yn hon, oeddynt y Parchn. John Davies, Carbondale; John Griffiths, Danville; Jos. E. Davies, Pottsville; David T. Lewis, Ebensburg; John G. Jones, Allentown; Thomas T. Evans, Penygraig; Thos. Williams, Ffestiniog (Collinsville wedi hyny), ac Edward Rees, Collinsville.

1846, Mehefin 6, 7, cynaliwyd y bumed yn Pottsville. Dr. Rowlands yn Llywydd, a Mr. Thos. R. Jones yn Ysgrifenydd. Yr oedd yn bresenol, ac yn cymeryd rhan gyhoeddus y pryd hyny, Parchn. John Griffiths, Danville; John Jones, Utica; Thos. R. Jones, Wilkesbarre; Joseph E. Davies, a John Davies, Carbondale.

1847. Cynaliwyd Cymanfa y flwyddyn hon yn Remsen, Gorphenaf 1, 2. Y Parch. Thos. T. Evans oedd yn Llyw-

trwy y Dosbarth fel y canlyn: Lehigh, 8, 9; Summit Hill, 10, 11; Tamaqua, 12; St. Clair, 13, 14; Pottsville, 15, 16; Minersville, 17. Heblaw cynadleddau, cynaliwyd pump o gyfeillachau i ymdrin a sefyllfa yr achos a materion ysbrydol; tradodwyd 42 o bregethau yn y Gymanfa hon. Dr. Rowlands oedd y Llywydd, a J. R. Williams yn Ysgrifenydd.

Yn 1853 yr oedd yn Danville, ac yn cael ei chynal ar yr un cynllun a'r un flaenorol fel y canlyn: Danville, Awst 6-8; Scranton, 10-12; Carbondale, 13-15; y Llywydd oedd y Parch. David Lewis, Utica; a'r Parch. Thos. H. Roberts, Slatington, yn Ysgrifenydd. Heblaw y brodyr yn y cylch, yr oedd y Parchn. David Lewis, Utica; Dr. Rowlands, New York; Howell Powell, Cincinnati; a Robert Sennar, diweddar o Gymru, yn cymeryd rhan ynddi.

Hon yw yr olaf a gynaliwyd yn Pennsylvania, a'r olaf yr ydym wedi cael hanes am dani yn y gyfres hon o Gymanfaoedd yn un lle arall. Ymddengys i ni fod ei chynllun a'i hamcan yn rhagorol, ac wedi ei bwriadu i wneyd gwaith mawr, a diameu genym ei bod wedi gwneyd mwy tuag at sylweddoli meddylddrych mawr Methodistiaeth i gyfuno yr eglwysi yn un corff, na dim un moddion arall.

Pa beth fu achos ei thrancedigaeth nis gwyddom; ac nid ydym yn meddwl ddarfod ei hanrhydeddu â chladdedigaeth. Dichon fod amryw o bethau yn milwrio yn erbyn ei pharhad. Eglur yw, nad oedd y brodyr yn Ohio yn galw am dani, nac yn anfon cenadau yn gyson i'r ochr hon i fynyddoedd yr Alleghenies, er cadw yr undeb yn fyw. Nid ydym yn gwybod am fwy na phedwar a anfonwyd oddiyno fel cenadon i'r Cymanfaoedd dylynol, y Parchn. Robert Williams, Moriah; Edward Jones, Cincinnati; Hugh E. Rees, Newark; a D. T. Lewis, Ebensburg. Heblaw hyny, yr oedd Talaeth New York yn cynal pedair Cymanfa yn y flwyddyn yn y blynyddoedd hyny, yn nghyd a Chyfarfodydd Dosbarth bob chwech wythnos, ac yr oedd Cymanfa ychwanegol yn gwneyd y draul o'u cynal yn drwm, gan fod

ydd yn hon, a'r Parchn. John Hughes, Edward Rees, John Jones, Marcy; David Williams, Thos. Williams, Jos. E. Davies, D. O. Jones a Thos. Foulkes oedd y gweinidogion presenol, ac yn cymeryd rhan gyhoeddus yn ei gweinyddiadau.

Yn 1848, Mehefin 10-13, yr oedd y nesaf yn cael ei chynal, yn ninas New York. Dewiswyd y Parch. John Davies, Carbondale, yn Llywydd yn hon. Yr oedd yn bresenol y pryd hwnw, heblaw y Llywydd, y Parchn. Thos. Phillips, John G. Jones a Jos. E. Davies o Pennsylvania; Thos. T. Evans, David Williams, Enoch Samuel a Thos. Foulkes.

Yn 1849 yr oedd yn Harrison (Scranton), Gorphenaf 6-8. Dewiswyd Dr. Rowlands yn Llywydd, a Mr. John J. Davies, diacon o'r lle, yn Ysgrifenydd. Heblaw y Llywydd yr oedd y Parchn. John G. Jones, John Davies, Thos. Phillips a D. J. Williams (B.), a'r Parch. Mr. Michael (Pres.) yn gweinyddu ynddi. Gwelir nad oedd llawer o weinidogion yn bresenol, eto yr oedd y Gymanfa—y gyntaf yn y lle—yn un hynod o lewyrchus, a'r cynulleidfaoedd yn lluosog.

Penderfynwyd fod y nesaf i gael ei chynal yn Floyd, Oneida County, N. Y., Meh. 6, 7, 1850; ond yr ydym wedi methu cael hyd i gofnodion y Gymanfa hon, pwy oedd yno, neu pa un a gynaliwyd hi fel Cymanfa Gorfforedig ai peidio.

Yn 1851, Mehefin 26-30, yr ydoedd yn ninas New York eto, a dewiswyd Dr. Rowlands yn Llywydd. Yn hono yr oedd y Parchn. David Lewis, Enoch Samuel o Utica, Edward Rees, Collinsville; David Williams, Holland Patent; David Williams, Remsen; John G. Jones, Allentown; John Davies, Blakeley; John L. Jeffreys, Slatington; R. D. Thomas a John Harries (A.). Heblaw amrywiol gynadleddau, cynaliwyd dau gyfarfod i ymdrin a materion ysbrydol. Traddodwyd yn y Gymanfa hon 20 o bregethau.

Yn 1852, Gorphenaf 8-17, cynaliwyd yr un ganlynol yn Lehigh Gap, neu Slatington. Cynaliwyd Cymanfa y Dalaeth mewn undeb a'r Gymanfa Gorfforedig y tro hwn, ac yn unol a threfniant blaenorol, mae yn myned ar gylch

y sefydliadau yn mhell oddiwrth eu gilydd, a chyfleusderau teithiol yn brin.

Yr oedd yr eglwysi yn Pennsylvania yn wan iawn, cystal ag yn mhell oddiwrth eu gilydd, ac ansawdd y gweithfeydd yn ansefydlog, fel wedi penodi Cymanfa mewn lle flwyddyn neu haner blwyddyn yn mlaen, erbyn i'r amser ddyfod, ni ellid ei chynal yn y lle hwnw ar yr amser penodedig. Yn Nghymanfa Gorfforedig 1848, yn ninas New York, bu ei pharhad o dan sylw; ond y penderfyniad wnaed y pryd hwnw oedd ei bod i barhau yn ei chylch, fel yr oedd wedi bod o'r dechreuad, rhwng New York a Pennsylvania.

Yn Nghymanfa Harrison derbyinwyd llythyr oddiwrth Gymanfa Talaeth New York yn achwyn fod cynal yr undeb presenol rhwng y ddwy Dalaeth yn ormod o faich, a'u bod yn dymuno ei ddirymu. Parodd y llythyr dristwch i'r Gymanfa hon, a phenderfynwyd "Nas gallwn gydsynio a'u cais, am ei fod yn tueddu i ddinystrio ein ffurf lywodraeth eglwysig fel Methodistiaid. Hefyd, gan fod Rheolau y Gymanfa Gorfforedig wedi eu ffurfio a'u sefydlu trwy awdurdod prif Gymanfaoedd y tair Talaeth, nas gellir eu dirymu ond trwy yr un awdurdod."

Yn Nghymanfa Gorfforedig New York, 1851, cawn benderfyniad gyda golwg ar y Gymanfa fel y canlyn: "Wedi ymdrin â natur cyfansoddiad y Corff, ac am unoliaeth mewn athrawiaeth a dysgyblaeth, penderfynwyd anfon cyfarchiad at eglwysi y Trefnyddion Calfinaidd trwy yr holl Dalaethau, yn eu cymell i undeb a'r Gymanfa hon." Ond mae yn debyg na theimlwyd dim o rym y cymelliad, ac iddi farw o ddiffyg cefnogaeth.

Ni chaniata gofod i ni fanylu ar holl ddeddfau a barnedigaethau y gyfres hon o Gymanfaoedd, ond ni a osodwn ger bron y darllenydd grynodeb o'r prif faterion y bu y brodyr oedd yn llywio yr achos y pryd hwnw yn teimlo pryder dwys yn eu cylch, ac yn gwneyd eu goreu i'w ddwyn i drefn reolaidd a sefydlog. Gwnaethant gynyg teg ag ystyried yr anfanteision; maent yn llwyddo i fesur mawr i sicrhau undeb a chydweithrediad yn mhob symudiad.

1.—Gyda golwg ar y weinidogaeth mewn derbyn ac ordeinio pregethwyr.

Nid oedd un mater ag yr oedd y tadau yn teimlo mwy o sel ac eiddigedd drosto, a llwyddiant yr achos yn dibynu arno, yn fwy na bod yr athrawiaeth a bregethid yn ein pwlpudau yn iachus, a'r rhai a'i pregethent, o ran cymeriad moesol a gwybodaeth, yn deilwng o'r swydd gysegredig. Yr oedd eu harholiad gyda golwg ar farn, profiad a gwybodaeth ysgrythyrol yr ymgeiswyr, yn drwyadl a manwl. Nid gwiw oedd iddo fod "yn newyddian yn y ffydd."

Yr oeddynt hefyd yn cadw golwg ar undeb a chydweithrediad, ac yn gofalu na byddai un rhan yn symud yn mlaen heb gydsyniad a chymeradwyaeth yr oll. Yr oeddynt felly yn arfer pwyll ac arafwch er gwneyd pob symudiad yn ddoeth a diogel, ac yn osgoi pob achlysur i dramgwydd a phrofedigaeth, na dim yn cael ei wneyd mewn un rhan ag yr oedd rhan arall yn cywilyddio o'i blegid. Yr oedd y cais am ordeinio o Dalaeth New York, yn cael ei anfon i ofyn cydsyniad a chymeradwyaeth y brodyr yn Pennsylvania ac Ohio. Pa beth bynag oedd yn cael ei wneyd yn un o'r tair Talaeth yr oedd yn cael ei wneyd i'r oll. Ystyrid fod y Gymanfa Gorfforedig yn drefniant pwrpasol i'r amcan, ac mae yn cymeryd arolygiaeth ar holl symudiadad y Cyfundeb i'r perwyl hwnw.

Yn y Gymanfa a gynaliwyd yn Pottsville, 1841, mae y brodyr Robert Williams, Minersville; a David Davies, Pottsville, yn cael eu derbyn yn bregethwyr i'r Cyfundeb cyn bod y Gymanfa Gorfforedig wedi ei sefydlu. Yr oedd y brodyr a ddaethai yno o New York yn gweled fod llwyddiant yr achos yn galw am iddynt wneyd y symudiad hwn y pryd hwnw.

Ond yn Nghymanfa Gorfforedig Utica mae David Davies, yn nghyd a John Jones, Wellsland, Lloegr, yn cael eu cymeradwyo fel pregethwyr i'r Cyfundeb. Yn Nghymanfa Gorfforedig New York, 1845, "Derbyniwyd y brodyr John Griffiths, Danville, a John G. Jones, Allentown, yn bregethwyr i'r corff o Fethodistiaid."

Yn nghyfarfod chwech wythnosol Nant, Steuben, mae Joseph E. Davies, Pottsville, yn cael ei dderbyn yn bregethwr yn Ionawr, 1844.

Yn Nghymanfa Gorfforedig Remsen, 1847, derbyniwyd y brodyr David R. Williams a Thos. Foulkes yn bregethwyr i'r Cyfundeb.

Yn Nghymanfa Gorfforedig Harrison, 1849, derbyniwyd y brawd Thos. R. Jones, yr hwn oedd erbyn hyn wedi symud i Dalaeth New York, yn bregethwr rheolaidd i'r Methodistiaid. Ymddengys i ni fod hwn yn symudiad yn yr iawn gyfeiriad, i sicrhau trefn, undeb a chydweithrediad.

Felly hefyd yn gyffelyb gyda golwg ar symud yn mlaen i ordeinio brodyr, amcenid symud yn mlaen yn unffurf, ac mewn cyd-ddealltwriaeth a'u gilydd.

Pan oedd y brodyr yn Ohio ar fedr symud yn mlaen i ordeinio Robert Williams, Moriah, gosododd y Parch. John Elias y mater o flaen Cyfarfod Misol Sir Fon i ofyn eu cydsyniad i'w ordeiniad. Arwyddwyd cydsyniad unfrydol a'r cais, a dyddiwyd y llythyr Chwefror 15, 1838. Wedi hyn mae y Gymanfa Gorfforedig yn arolygu pob ordeiniad.

Yn Nghymanfa Remsen, 1842, darllenwyd llythyrau o Carbondale, Pottsville, a dinas New York, ac oddiwrth y Parch. Edward Jones, Cincinnati, fel ysgrifenydd dros Gymanfa Ohio, yn cymeradwyo ordeinio y Parchn. John H. Evans a David E. Davies, Utica, i gyflawn waith y weinidogaeth.

Yn 1845, mae Cymanfa Gorfforedig New York yn caniatau i Gymanfa Remsen ordeinio Thomas J. Evans. Yn yr un flwyddyn mae Cymanfa Ohio, yr hon a gynelid yn Ebensburg, yn cymeradwyo y cais a ddaethai o Gymanfa Remsen am ganiatad i ordeinio y brawd Thos. Williams, ac mae Cymanfa Gorfforedig Pottsville, 1846, yn caniatau y cais o Gymanfa Sir Oneida. Hefyd, mae yn cymeradwyo symud yn mlaen i ordeinio y brodyr Robert Williams, Minersville, a David Williams, Pottsville, yn Nghymanfa nesaf y Dalaeth, yr hon oedd i gael ei chynal yn Danville. Cydsyniwyd a'r symudiad hwn yn Ohio ac yn New York.

Yn y flwyddyn 1848, mae Cymanfa Rome yn cydsynio i ordeiniad y brawd Joseph Davies yn Nghymanfa Pottsville. Yn Nghymanfa Gorfforedig dinas New York, 1848, ordeiniwyd y brodyr Thos. Phillips, Pottsville, a John G. Jones, Allentown, i gyflawn waith y weinidogaeth. Yn y Gymanfa hon, ar gais Cymanfaoedd Pennsylvania a Thalaeth New York, penderfynwyd na byddai i neb o hyn allan gael ei ordeinio yn un o'r ddwy Dalaeth ond mewn Cymanfa Gorfforedig, oddieithr ar achlysuron neillduol, a hyny trwy ganiatad y Gymanfa Gorfforedig. Dengys hyn yn eglur mai dymuniad y Cymanfaoedd Talaethol oedd i'r Gymanfa Gorfforedig arolygu ordeiniad brodyr i'r weinidogaeth o hyn allan.

2.—Diogelu Eiddo y Cyfundeb.

Nid o ddiffyg meddwl ac ymdrech, ar ran ein tadau, i ddwyn yr achos yn ei wedd allanol i well trefn, mae sefyllfa ein capelydd mewn llawer man mor anfoddhaol hyd heddyw. Dodwn ger bron y darllenydd grynodeb o'r ymdrechion boreuol a wnaed yn y cyfeiriad hwn. Daeth y mater i bwyso ar feddyliau y brodyr yn Sir Oneida, oblegid dygwyddiadau annymunol a gymerodd le yno. Bu ymdriniaeth ar y mater yn y Cymanfaoedd cyntaf, a galwyd sylw difrifol at sefyllfa ansicr ein capelau fel eiddo y Cyfundeb; ac mewn trefn i'w diogelu, ffurfiwyd corporations a elwid vestry Remsen a vestry Rome, i ddal meddiant cyfundebol o'r addoldai. Bu y Gymanfa hon am flynyddoedd yn arolygu, adeiladu ac adgyweirio y capelau, ac yn casglu arian at dalu y draul. Penodwyd y diacon James Owen, Penycaerau, i gadw a gofalu am y gweithredoedd hefyd.

Ond mae yn eglur, feddyliem, nad oedd y cynllun hwn yn un diogel, am nad oedd cyfreithiau y Dalaeth yn amddiffyn eiddo crefyddol yn y wedd hono, pe buasai ymosodiad yn cael ei wneyd arno. I gymdeithasau, neu eglwysi neillduol, yr oedd yn caniatau hawl i ddal eiddo.

Yn y flwyddyn 1839, mae Cymanfa Ohio, yr hon a gynelid yn Moriah, yn pasio penderfyniad, (a) "Fod pob eglwys i ofalu am gadw cofrestrydd. (b) Cael llyfr i'r dyben i ysgrifenu gweithredoedd er diogeliad ein capelau."

Yn Nghymanfa Pittsburg, 1841, penderfynwyd "Fod y Parchn. William Morgans ac Owen Jones, Pittsburg; David Lewis, Ebensburg, a Mr. William Williams, Sugar Creek, i ofalu ar fod holl gapelau y Trefnyddion Calfinaidd trwy holl Dalaeth Pennsylvania i gael eu diogelu a'u trosglwyddo i fod yn eiddo y Corff o'r enw hwn, a gobeithiwn y cydweithreda yr holl frodyr yn y Dalaeth i'n cynorthwyo yn y mater hwn."

Gan fod y mater yn un y teimlid cymaint o'i bwysigrwydd, mae yn naturiol yn dyfod yn un o'r materion ag mae y Gymanfa Gorfforedig yn talu sylw iddo, a llunio rhyw drefniant i gyraedd yr amcan, yn un o ddybenion ei bodolaeth. Felly mae yn cael ei ddwyn i sylw yn y Gymanfa gyntaf yn Palmyra.

Yn y drydedd, yr hon a gynaliwyd yn ninas New York, neillduwyd Dr. Rowlands, Mri. William Griffiths a William Thomas yn bwyllgor i barotoi cynllun o gyfansoddiad, i'w gynyg i lywodraeth y Dalaeth, a chopi o'r cynllun i gael ei anfon i Pennsylvania, Ohio a Wisconsin, fel y caffai gymeradwyaeth unfrydol. Mae yn debyg mai yr amcan oedd cael cynllun cyffredinol i ddiogelu holl feddianau y Cyfundeb dan nawdd y Gymanfa Gorfforedig, er budd yr holl enwad. Ond mae yn eglur na chaniatâi cyfreithiau Talaeth New York yr hawlfraint hon iddynt yn ol y cyfansoddiad oedd mewn grym y pryd hyny.

Yn Nghymanfa Gorfforedig 1847, mae y mater yn dyfod i sylw drachefn, a phwyllgor o bedwar yn cael eu nodi i weithredu yn yr achos: Mri. John S. Williams, Trenton; Hugh R. Hughes a John R. Hughes, Remsen; a James Owen, Penycaerau.

Yn Nghymanfa Utica, 1849, gelwir sylw eto at yr un mater fel y canlyn:

"Corporation ein Capelau.—Ofnwn nad ydyw gweithredoedd ein capelau yn unffurf, ac y gallai pethau anghysurus ddygwydd i'r Corff oblegid hyny;" a nodwyd pwyllgor eto i edrych i mewn i'r achos, sef Mri. Joseph Hughes, David Thomas, Richard Hughes, William N. Jones a James

Owen." Eto yn Nghymanfa Medi, 1850, gwnaed y sylw a ganlyn: "Bernir gan *vestry* Rome mai y ffordd fwyaf cyfreithlawn i'r wlad hon ydyw i bob eglwys i ymgorffori ei hunan, ac nid fel yr oeddynt yn arferol o wneyd."

Deuwn yn awr i edrych beth a wnaed yn y cyfeiriad hwn yn Pennsylvania. Yn Nghymanfa Gorfforedig Pottsville, 1846, mae penderfyniad Cymanfa New York y flwyddyn flaenorol yn cael ei ddwyn i sylw, a "Nodwyd Mr. David Williams i chwilio i mewn i reol y Dalaeth hon ar y mater." Ond nid ydym yn cael i'r brawd hwn wneyd un adroddiad.

Yn Nghymanfa Harrison, 1849, mae y mater yn cael ei ddwyn i sylw drachefn, a phasiwyd penderfyniad "I chwilio i fewn i gyfreithiau y Dalaeth mewn perthynas i weithredoedd addoldai, a rhoddwyd ar y Parch. Thos. Phillips, Pottsville, ymgymeryd a'r gorchwyl, a'i gyhoeddi yn y 'Cyfaill,' er mantais i'r gwahanol fanau ddiogelu eu capelau yn y Dalaeth hon."

Yn Nghymanfa Danville, 1850, mae y mater yn dyfod i sylw drachefn, pan y "penodwyd Mri. John R. Williams, Scranton, a David W. Howells i wneyd ymchwiliad i gyfreithiau y Dalaeth, a ellir diogelu capelydd, tai a thiroedd, yn eiddo i'r Cyfundeb rhagllaw, yn nghyd a'r dull priodol o ddewis a gosod ymddiriedolwyr i'r Corff yn y Dalaeth: a bod iddynt gyhoeddi ffrwyth eu hymchwiliad yn y 'Cyfaill.'" Ond ni wnaeth y pwyllgor hwn un adroddiad, ac nid ydym yn cael fod dim yn rhagor wedi ei wneyd dan nawdd neu mewn cysylltiad â'r Gymanfa Gorfforedig. Hyd yma nid oes dim a wnaed wedi cyraedd yr amcan oedd mewn golwg. Dau le yn unig, hyd y gwyddom, a gyflwynodd eu gweithredoedd i fod yn eiddo i'r Cyfundeb, sef eglwys St. Clair, yn 1848, a Chymru Newydd, yn 1849.

Ond paham na buasai yr holl ymdrechion a wnaed, a'r penderfyniadau a basiwyd, yn ateb rhyw ddyben?

(a) Mae yn beth posibl na wnaeth y pwyllgorau mo'r gwaith a osodwyd iddynt, ac am hyny nid oedd ganddynt adroddiad i'w wneyd.

(b) Fod anhawsderau cyfreithiol ar y ffordd, ac na buasai cynllun o'r fath ag oeddynt hwy yn geisio, yn gyfreithlawn. Breinlen i eglwysi neillduol oedd y gyfraith yn ganiatau.

(c) Yr anhawsder i gael eglwysi, neu ymddiriedolwyr eglwysi, i ymddiried yr eiddo i ddybenion Cyfundebol. Dichon fod ambell un yn meddwl mai yr ymddiriedolwyr bia yr eiddo. Ond, mae hyny yn sicr o fod yn gamsyniad, gan fod llythyren ac ysbryd y gyfraith yn penderfynu mai eiddo mewn trust at wasanaeth yr eglwys ydyw, ac am hyny nas gall fyned yn eiddo personol.

(d) Anhawsder arall ydyw hyn: Ar agoriad gwaith mewn lle newydd, mae ychydig o gyfeillion yn dechreu achos crefyddol, a pherchenogion y gwaith yn rhoi tir i adeiladu capel, yn rhodd neu ar amodau, ac yn rhoddi gorchymyn i'w cyfreithwr wneyd y weithred; ac nid yw y perchenog na'r cyfreithwr yn gwybod dim am gysylltiadau enwadol yr eglwys, nac yn ymgyngori â neb o honynt pa fodd i wneyd y weithred.

(e) Fod gweithredoedd wedi eu gwneyd i eglwysi yn enwau personau unigol. Ni ddylai un addoldy gael ei osod i fyny yn enw personau unigol. Ond eiddo y Cyfundeb ddylai capelydd y Methodistiaid fod. 1. Am fod y Cyfundeb o'i gychwyniad yn organic unity. 2. Am eu bod yn un mewn athrawiaeth a dysgyblaeth, ar sail y Cyffes Ffydd. 3. Am fod llawer iawn o'r capelydd, mewn rhan, wedi talu am danynt trwy gyfraniadau cyhoeddus, mewn rhyw ddull neu gilydd, ac yn ol pob egwyddor o uniondeb mae gan y cyhoedd *interest* yn y buddianau. 4. Am fod ein sefydliadau mor ansefydlog, a gwasanaeth addoldy yn darfod mewn un lle, dylai fod gan y Gymanfa hawl i'w ddefnyddio mewn lle arall. 5. Dylai fod gan y Gymanfa weithred unffurf i bob lle, ac arolygiaeth er ei ddiogelu yn briodol.

3.—Arolygu yr achos yn y lle y cynelid y Gymanfa.

Yr oedd cynllun y Gymanfa Gorfforedig yn cynwys fod sylw ac arolygiaeth ar yr achos yn y lle, neu yn y Dosbarth lle y cynelid y Gymanfa, yn rhan arbenig o'r gwaith;

cynorthwyo yr eglwys i ddewis blaenoriaid, os byddai angen, neu eu gosod yn eu swydd trwy awdurdod y Gymanfa. Hyn oedd cynwys penderfyniad y Gymanfa gyntaf yn Palmyra, a daeth wedi hyny yn rheol arferedig yr enwad yn mhob man, fod y diaconiaid yn cael eu derbyn yn aelodau o'r Gymanfa trwy arholiad a chymeradwyaeth, yn gystal a'r pregethwyr. Ar yr ystyriaeth yma, wedi gwneyd sylw o amgylchiadau yr achos, y cymeradwywyd galwad eglwys Palmyra i'r Parch. Edward Rees i ddyfod yno yn weinidog.

Nodweddid ein tadau Methodistaidd yn America gan sel ac ymroddiad diflino i adeiladu yr achos yn mhob man; ac felly cyn sefydlu y Gymanfa hon.yr oeddynt yn gweithredu ar yr un egwyddor.

Yn y Gymanfa gyntaf fu yn Carbondale a Pottsville, rhoddodd y Parch. John Davies hanes yr achos, ac ymddyddanwyd a'r blaenoriaid yn y ddau le, a chymerwyd sylw manwl o holl amgylchiadau y cylch.

Yn Nghymanfa Remsen, 1842, gwnaed y penderfyniad a ganlyn gyda golwg ar y swydd ddiaconaidd: "Er nad oedd diacon yn colli ei swydd wrth ymadael o'r naill le i'r llall, eto nad oedd ganddo hawl i flaenori ond yn yr eglwys y cafodd ei ddewis i'r swydd, eithr fod ganddo hawl i freintiau swyddogol yn y Cyfarfod Dosbarth a'r Gymanfa nes ei ddiswyddo." Y pryd hwnw ymddyddanwyd â dau frawd o neillduad Efrog Newydd, a brawd o Constableville, a derbyniwyd hwy yn aelodau o'r Gymanfa.

Yn Nghymanfa Utica, 1843, ymddyddanwyd â Mri. David Thomas a William Griffiths o New York am eu profiad a'u barn, a derbyniwyd hwythau yn aelodau o'r Gymanfa.

Yn 1848 yr oedd y Gymanfa yn ninas New York, a chymerwyd sylw manwl o sefyllfa yr achos. Ymddyddanwyd a Peter Roberts ac Ebenezer J. Davies, a derbyniwyd y ddau yn aelodau o'r Gymanfa.

Yn Nghymanfa Pottsville, 1846, gwnaed ymofyniad i ansawdd yr achos, a derbyniwyd William Williams a Henry Jones, Pottsville, a Thos. R. Jones, St. Clair, yn flaenoriaid i'r Cyfundeb.

Yn Nghymanfa Harrison, 1849, ymofynwyd i ansawdd yr achos yn y lle ac yn y cyffiniau yn mhob man lle yr oedd Cymry.

Yn Nghymanfa Lehigh Gap, 1852, ymofynwyd i ansawdd yr achos yn y cylch. Cynorthwywyd eglwys Lehigh i ddewis blaenoriaid. Ymdriniwyd â dysgyblaeth eglwysig, ac eglurwyd rheolau 29 a 30 o'r Cyffes Ffydd. Yn Pottsville mae anufudd-dod aelodau eglwysig yn cael ei ddwyn i sylw a'i drin yn bwrpasol ac effeithiol. Felly hefyd yn Minersville a St. Clair. Y pryd hwnw rhanwyd eglwysi y Dalaeth yn dri dosbarth. 1. Pottsville, Minersville a St. Clair, at y rhai yr ychwanegwyd wedi hyny eglwys Philadelphia. 2. Carbondale, Scranton a Danville. 3. Summit Hill, Tamaque a Lehigh Gap, a bod i bob un o'r tri awdurdod Cyfarfod Dosbarth, ond eu bod i gydgyfarfod ac i gydweithredu i gynal y Gymanfa, lle bynag y byddai.

Dengys yr engreifftiau hyn eu bod yn meddu ysbryd cenadol a gwir ofal calon am yr achos. Yr oeddynt yn planu ac yn dyfrhau yn mhob man; yn cynllunio ac yn adeiladu, yn ol y ddoethineb a rodded iddynt, ac yn llawn sel ac aiddgarwch i weled yr achos yn llwyddo.

4.—Yr Achos Cenadol—(a) Tramor.

Mae yn eglur ddarfod i'n tadau symud yn mlaen gyda'r achos cenadol yn dramorol a chartrefol. Yn y flwyddyn 1839 mae Cymanfa Remsen yn penderfynu gwneyd casgliad cenadol at y Gymdeithas dan arolygiaeth y Methodistiaid Calfinaidd yn Nghymru, ac yn gofyn cydweithrediad ein brodyr oll trwy Unol Dalaethau America gyda golwg ar y mater hwn. Yn yr un flwyddyn mae Cymanfa Cincinnati yn penderfynu sefydlu cymdeithas mewn undeb a'r Gymdeithas yn Nghymru. Bu y casgliad hwn am flynyddoedd dan ofal Dr. Rowlands, i'w drosglwyddo i'r Gymdeithas yn Liverpool. O'r pryd hwnw hyd yn awr yr ydym i ryw fesur wedi cydweithio a'r Gymdeithas hono fel ein maes tramor. Ystyriwn fod yr ysbryd a'r ymdrechion cenadol gyda golwg ar y byd paganaidd, yn angenrheidiol i ddadblygu bywyd a gweithgarwch yr eglwys gartref. Os ydyw

eglwys yn gwario ei hadnoddau arni ei hun, mae nid yn unig yn anufuddhau gorchymyn Crist, ond yn llesteirio ei gweithgarwch, ac yn milwrio yn erbyn ei llwyddiant ei hunan.

Yr Achos Cenadol—(b) Cartrefol.

Fel yr oedd ymfudiaeth Gymreig yn dylifo i'r wlad, a sefydliadau newyddion yn dechreu, a llawer o honynt yn anghysbell, teimlid fod yn rhaid gwneyd rhyw ddarpariaeth i'w cyflenwi a moddion gras hyd y gellid. Felly yn Nghymanfa Remsen, Mehefin 1, 2, 1842, "Penderfynwyd ffurfio Cymdeithas Genadol Gartrefol yr ochr hon i fynyddoedd yr Alleghenies. Dymunid ar i'r holl eglwysi wneyd casgliad, a'i ddwyn i'r Gymanfa Gorfforedig sydd i fod yn Utica yn mis Medi. Dysgwyliwn y cydweithreda eglwysi Pennsylvania yn hyn."

Eglur yw y golygid i'r Gymanfa Gorfforedig arolygu y mater hwn, ond nid yw yn ymddangos iddi drefnu pwyllgor gweithiol i ddwyn y gwaith yn mlaen, ond gadawyd hyny i'r Cymanfaoedd Talaethol i'w drefnu.

Yn Nghymanfa Utica, 1844, galwyd sylw drachefn at yr achos cenadol, ac anogwyd i fod yn effro o'i blaid. Yr oedd pwyllgor cenadol, gyda John Edwards (Eos Glan Twrch) Yn Ysgrifenydd, ac Evan Roberts, Utica, yn Drysorydd, wedi eu penodi er y Gymanfa o'r blaen yn Remsen; ac mae y Gymanfa hon yn eu galw i ymaflyd yn eu gwaith.

Yn yr un flwyddyn, Hydref 25-27, mae Cymanfa Cincinnati yn pasio penderfyniad "I osod ger bron y Cyfundeb yr angenrheidrwydd am Gymdeithas Genadol Gartrefol yn ein plith, a dyfod a'u penderfyniad i'r Gymanfa nesaf." Yn Nghymanfa Jackson, y flwyddyn ganlynol, 1845, penderfynwyd "Gosod ger bron yr eglwysi ddyben y Gymdeithas Gartrefol; pa un ai cynorthwyo ymwelwyr ac eglwysi y Cyfundeb, ai ymwelwyr i fyned yr ochr arall i fynyddoedd yr Alleghenies." Yn Nghymanfa Gorfforedig Remsen, 1847, mae y mater yn dyfod i sylw drachefn, pan y "Penderfynwyd sefydlu Cymdeithas Genadol Gartrefol yn mhob man yn ein plith fel corff yn America." Dangoswyd

ei hangen, gan fod llawer iawn o'n cydgenedl yn amddifad o foddion gras, ac anogwyd i weithio yn egniol gyda'r cynllun a fernid yn oreu.

Yn Nghymanfa Remsen, 1852, penderfynwyd ar ffurf o reolau neu gyfansoddiad i'r Gymdeithas.

(a) Fod y Gymdeithas i fod dan arolygiaeth y Gymanfa Chwarterol.

(b) Y pwyllgor i gynwys un aelod o bob dosbarth Ysgol Sabbothol, a thri o weinidogion.

(c) Y pwyllgor i chwilio am feusydd a chenadau i lafurio ynddynt, ac i enwi y swm angenrheidiol er cynorthwyo pob lle, i'w cynyg i'r Gymanfa, ond fod i'r Gymanfa ddewis y meusydd a'r cenadon, a swm y cyfraniadau.

(d) Fod y pwyllgor i ddyfod a gwybodaeth pa faint a wna pob lle gyfranu eu hunain tuag at gynaliaeth y Gymdeithas, cyn yr addewir cymorth iddynt.

(e) Dysgwylir i bob eglwys wneyd casgliad yn fisol neu chwarterol at y Gymdeithas.

(f) Fod y Trysorydd a'r Ysgrifenydd i gael eu dewis gan y Gymanfa.

Gallem feddwl fod y Cyfansoddiad yn un da iawn, yn enwedig yn ei waith yn galw yr eglwysi oedd yn derbyn cymorth i gyfranu eu hunain. Ond tybiwn y buasai yn well fod y Gymdeithas dan arolygiaeth y Gymanfa Gorfforedig. Yn Nghymanfa Rome, 1853, galwyd sylw neillduol at agwedd foesol a chrefyddol ein cydgenedl yn y wlad, pryd y dangoswyd fod amryw ardaloedd yn cynwys ugeiniau o bobl heb glywed pregethu yr efengyl yn eu hiaith er's blynyddoedd, a llawer o'r rhai hyny heb ddeall yr un iaith arall.

Yn Nghymanfa Utica, 1853, derbyniwyd swm o arian at ddechreu y gwaith, ac anogwyd y pwyllgor i ddechreu ar eu gwaith o ddifrif. Mae y gweithrediadau hyn yn dangos fod y Methodistiaid wedi gwneyd ymdrech deg i gynysgaeddu eu cydgenedl â'r efengyl o'r dechreu cyntaf. Ni all ein cenedl godi gwrthddadl deg nad oes neb yn gofalu am eu heneidiau.

5.—Undeb a'r Presbyteriaid.

Mae hwn yn gwestiwn sydd wedi cael llawer o sylw o bryd i bryd yn ein Cymanfacedd. Mae yn hen gwestiwn yn Nghymru. Os ydym yn cofio yn iawn, yn y flwyddyn 1842, daeth dirprwyaeth oddiwrth Henaduriaid Lloegr, Scotland a'r Iwerddon i Gymanfa y Bala, a'r amcan oedd, cael cydnabyddiaeth helaethach ac undeb agosach â'r rhai oedd yn cydweled â hwynt ar byncîau y ffydd yn Nghymru. Parhaodd y cydymweliadau hyny am flynyddoedd lawer, a diameu fod lles yn deilliaw oddiwrth hyny. Ymddengys fod y cwestiwn wedi dyfod i sylw ein brodyr yr ochr yma i'r Werydd yn agos yr un amser.

Mewn Cymanfa a gynaliwyd yn Pittsburg, Mai 23-26, 1844, "Cymeradwywyd undeb y Trefnyddion Calfinaidd a'r Presbyteriaid Calfinaidd yn America." Beth oedd yr amgylchiadau oedd wedi arwain ac addfedu barn y brodyr i ddyfod i'r fath benderfyniad, ac yn enwedig wrth feddwl eu bod mor ddiweddar wedi pasio penderfyniad mor ddifrifol i aros mewn undeb a'r Methodistiaid yn Nghymru, sydd yn dywyll i ni.

Yr un flwyddyn, Hydref 25-27, mae Cymanfa Cincinnati yn penodi y Parch. Edward Jones a Mr. Thos. Lloyd Hughes i fyned dros y Trefnyddion Calfinaidd yn Unol Dalaethau America i Gymanfa y Presbyteriaid Calfinaidd oedd i'w chynal yn y ddinas hono y mis Mai canlynol.

Pa beth a ddaeth o'r gynrychiolaeth hono? Ni welsom unrhyw adroddiad oddiwrthi, oddieithr fod yr hyn a ganlyn yn eglurhad arni: Yn mis Mawrth, 1846, mae y Parch. William Engles, Ysgrifenydd Sefydlog, yn anfon llythyr at yr enwad trwy law y Parch. Dr. Rowlands, "Y byddai yn foddhaol gan y Gymanfa hono gyfeillachu a'r Methodistiaid Calfinaidd trwy gynrychiolwyr neu trwy lythyrau," a chyflwynwyd y genadwri i sylw Cymanfaoedd New York, Pennsylvania ac Ohio. Pa sylw a wnaeth y Cymanfaoedd hyny o'r genadwri, nis gwyddom. Ond yn y Gymanfa Gorfforedig a gynaliwyd yn ninas New York, 1851, mae y mater yn dyfod dan sylw oddiwrth awgrymiad brawd neu frodyr (nid swyddogol) o'r Presbyteriaid Calfinaidd, am

undeb agosach rhyngom ni a hwythau; a dyma y datganiad a wnaed y pryd hwnw: "Dangoswyd parodrwydd serchog am yr undeb a'r brodyr Presbyteraidd, ond eisteddwyd i lawr i fwrw y draul, a gwelwyd, er ein bod yn agos atynt o ran athrawiaeth, ein bod yn mhell oddiwrthynt o ran dysgyblaeth a llywodraeth. Mae ein society (y gyfeillach) yn wrthodedig a phechadurus yn ngolwg rhai o'u gweinidogion. Goddefant bethau croes i'n rheolau ni, megys ymgyfreithio, ieuo yn anghymarus; ac maent wedi derbyn yn aelodau rai a ddiarddelwyd genym yn ngwyneb rheolau pendant, ac yn gwneyd hyny ar bob cyfle." Felly penderfynwyd, "Er y gallai llawer o fanteision ddeilliaw o undeb a'r brodyr, nas gallwn aberthu ein rheolau dysgyblaethol; ac o ganlyniad, nas gallai fod undeb agosach rhyngom nag sydd bellach er's blynyddoedd."

Felly yr oedd y datganiad hwn gan lys uwchaf y Cyfundeb yn rhoddi terfyn ar y drafodaeth ar y pryd. Mae yn bosibl hefyd y teimlid anhawsder pa fodd i weithredu yn unol a'r penderfyniad mewn amgylchiadau neillduol.

Felly yn Nghymanfa Dalaethol New York, yr hon a gynaliwyd yn Rome, Rhagfyr 8, 9, 1854, cawn eglurhad ar y penderfyniad fel y canlyn: "Sylw ar yr undeb rhyngom a'r Presbyteriaid, pa un a gydnabyddid gan y Methodistiaid yn Nghymru, ac a gymeradwywyd genym ninau:

(a) Fod rhyddid i unrhyw gynulleidfa o'r Methodistiaid i alw am bregethwr perthynol i'r Undeb Presbyteraidd i weinyddu iddynt yn achlysurol, yn ngwyneb prinder gweinidogion.

(b) Fod rhyddid i bregethwyr Presbyteraidd i fod yn bresenol yn ein cyfeillachau, ond na chaniateir iddynt bleidleisio.

(c) Fod yr un rhyddid i gymell ar y Presbyteriaid wasanaeth ein pregethwyr ninau. Bydded hysbys mai ar yr ystyriaethau uchod mae y brawd John Jones, Utica, yn pregethu yn achlysurol yn ein cynulleidfaoedd, tra mae yn bregethwr ac yn aelod o'r Undeb Presbyteraidd Seisnig yn Utica, ac nid oes neb yn eu beio am hyny."

Mae mesur o gyfathrach wedi bod rhyngom a'r brodyr Presbyteraidd ar hyd y blynyddoedd. Anfonir dirprwywyr ganddynt hwy weithiau i'r Gymanfa Gyffredinol, a phryd arall i'r Cymanfacedd Talaethol, yn enwedig Wisconsin. Buom mewn undeb a hwynt mewn addysg am flynyddau, ac oni bai anffyddlondeb ar ein rhan ni, buasai yr undeb hwn yn parhau eto mae'n debyg. Yr ydym hyd yma hefyd yn gangen o'r Pan Presbyterian Council; ac mae llawer iawn o'n gwyr ieuainc mwyaf addawol megys ser dysglaer yn eu pwlpudau, ac yn llenwi y cylchoedd uwchaf yn eu cyngorau eglwysig.

Ac mae y cwestiwn yn cyfodi yn meddyliau llawer, Paham na buasai y Methodistiaid bellach wedi dyfod i weled, pa bethau bynag yw yr anfanteision, mai mantais fawr iddynt fuasai ymuno a'r enwad cryf, cyfoethog hwn yr ydym yn cydweled a hwynt mor agos ar brif bynciau y ffydd? Yr ydym wedi ymwrando ar hyd y blynyddoedd â'r gwrthddadleuon yr ydym fel enwad yn ymdeimlo a hwynt.

(a) Y byddem wrth hyny yn colli ein hiaith, a phregethu Cymraeg yn darfod. Sylwedd yr wrthddadl ydyw ein cenedlgarwch; a mater o deimlad (*sentiment*) ydyw ei sail. Mae yn sicr fod yr efengyl yn cael ei phregethu yn oleu ac yn onest gan Americaniaid, cystal a Chymry. Gwna yr egwyddorion yr ydym yn eu coleddu fyw wedi i'r iaith farw. Yr oeddynt yn cael eu coleddu a'u dysgu trwy gyfrwng ieithoedd eraill cyn i ni eu derbyn, a bydd rhywrai yn eu dysgu pan fydd pobl Cymru wedi darfod parablu Cymraeg.

Os cadw yr iaith ydyw gwaith yr enwad, dylai bellach fod yn argyhoeddedig ei fod yn methu yn ei amcan, oblegid mae yr iaith yn marw dan ein dwylaw. Mae enwadau Seisnig yn enill oddiarnom ni yn ddidor, tra nad ces genym ni obaith enill dim oddiarnynt hwy. Nid oes dim grym yn yr wrthddadl hon, ac mae rhesymeg amgylchiadau yn ei dryllio. Rhaid i ni newid yr iaith, neu farw yn bur fuan bellach.

(b) Nad ydym o ran ein cyfansoddiad yn hollol Henadur-

iaethol. Mae mwy o bwys yn yr wrthddadl hon o lawer na'r gyntaf. Mae yr elfen Gynulleidfaol yn meddu cymaint o le yn ein cyfansoddiad a'r elfen Henaduriaethol, a byddai eglwysi unigol yn colli eu llywodraeth wrth ymuno â hwynt. Mae genym gydymdeimlad a phob Methodist cydwybodol sydd yn teimlo sel dros ei enwad yn y mater hwn. Yr ydym yn sicr hefyd y teimlai pob Henaduriaethwr cydwybodol anhawsder cyffelyb, pe y golygid iddo aberthu ei drefn eglwysig. Naill ai oddiar anwybodaeth neu benrhyddid, gwna dynion lawer o bethau heb ymgyngori â'u cydwybodau.

(c) Nad ydyw ein pregethwyr yn gallu pregethu yn Saesneg, am nad ydynt wedi dysgu yr iaith. Mae hwn yn fater y gallai ac y dylai pob un ddyfod drosto gydag ychydig o ymdrech a llafur. Dylai pregethwr, fel pob dyn arall, gyfaddasu ei hun at yr amgylchiadau mae ynddynt. Yr oedd yr hen Fethodistiaid cyntaf yn pregethu yn Saesneg, yn ol fel y byddai yr amgylchiadau yn galw. Yr oedd Dr. Edwards yn anog ei efrydwyr bob amser i feistroli yr iaith Saesneg, fel ag i allu pregethu ynddi; ac yr oedd Dr. Rowlands yn pregethu Saesneg bron yn mhob Cymanfa yn Pennsylvania yn ei amser ef.

(d) Nad ydyw y brodyr Presbyteraidd wedi ymddwyn yn frawdol tuag atom, fel cangen wan o dramorwyr; y dylasai fod ganddynt gydymdeimlad â ni fel rhai yn ceisio cynal i fyny yr un gwirioneddau ac arferion crefyddol a hwy eu hunain, ac unol a'r ysgrythyr.

1. Mewn derbyn aelodau diarddeledig heb ymgyngoriad â ni, nac un arwydd o edifeirwch ynddynt hwy.

2. Mewn ymgais i feddianu meusydd oedd eisoes wedi eu cymeryd i fyny gan y Methodistiaid, a lle nad oedd gobaith iddynt hwy enill dim ond trwy dynu i lawr yr hyn oedd y lleill yn ei adeiladu.

3. Mewn cynal plaid o derfysgwyr mewn gwlad hollol Gymreigaidd a Methodistaidd, a gwario arian cenadol lle nad oedd un amcan daionus i'w gyraedd, fel y profodd amser wedi hyny. Prawf o'r un ysbryd ydyw y ffaith ddarfod

iddynt feddianu capel oddiarnom yn y Gorllewin, ac wedi myned a'r achos i gyfraith, cadarnhawyd hawl y Methodistiaid i'r eiddo gan y llys gwladol. Ein hamcan yn nodi y pethau hyn ydyw i ddangos yr anhawsder a deimla brodyr Methodistaidd da sydd yn arweinwyr yn y Cyfundeb yn bresenol, yn gystal ac wedi bod, i ymuno a'r Presbyteriaid.

6.—Dyfarniadau gyda Golwg ar Faterion Achlysurol.

(a) Ymgyfreithio.—Yn Nghymanfa Remsen, 1842, "Penderfynwyd nad yw yn oddefol goddef brodyr i ymgyfreithio a'u gilydd." Cyfeiriwyd sylw at reol y Corff ar y pwnc.

"Penderfynwyd ei fod yn annyoddefol i gyd-ddwyn â dynion fyddai yn dangos blaenoriaeth i un gofynwr, er colled i'r lleill, pan mewn caledi."

(b) Claddu y Meirw ar y Sabboth.—Yn Nghymanfa Utica, Medi, 1840, pasiwyd y penderfyniad canlynol: "Ein bod fel plaid o bobl yn gydwybodol yn ein golygiadau, ar air yr Arglwydd, yn llwyr wrthwynebu yr arferiad o gladdu y meirw ar y Sabboth, oddieithr fod mwy o achos na chyffredin yn galw am hyny."

Yn 1844 mae Cymanfa Cincinnati yn rhoi cyfarwyddiadau manwl gyda golwg ar gladdu ar y Sabboth, pan na ellir hebgor hyny.

Y penderfyniadau hyn sydd wedi rhoddi ffurf i syniadau yr enwad ar y mater hwn hyd yn bresenol.

(c) Cadwraeth y Sabboth.—Mae Cymanfa Pittsburg, 1839, yn penderfynu, "Na oddefid neb yn aelodau sydd yn gweithio ar y Sabboth mewn gweithfaoedd neu ar fadau."

Yn 1847 mae Cymanfa Gorfforedig Remsen yn pasio penderfyniad gyda golwg ar wneyd caws ar y Sabboth, "Ei fod yn drosedd annyoddefol o'r gorchymyn dwyfol, ac anogir pawb i'w roi heibio yn ddioedi."

Felly hefyd bu y cwestiwn o werthu llaeth ar y Sabboth o dan sylw Cymanfa Gorfforedig New York yn 1848, pan y "Penderfynwyd ei fod yn drosedd o lythyren ac ysbryd deddf y Sabboth." Os ydyw y gwerthu yn drosedd, mae yn rhaid fod y prynu felly hefyd. Mae arferion y dyddiau presenol yn dangos pa mor fawr yr ydym wedi dirywio

oddiwrth y safon a osodid gan ein tadau. Mae yn wir fod ein holl Gymanfaoedd a'n Cyfarfodydd Dosbarthiadol yn ymdrin â'r mater yn achlysurol, ond mae gweithio, teithio ac ymweled yn arferion mor gyffredin yn ein mysg fel nad oes neb yn gweled bai ynddo, ac mae y dydd cysegredig wedi myned yn ddydd cyffredin.

(d) Odyddiaeth (Odd Fellowship).—Yn Nghymanfa Pottsville, 1841, pasiwyd y penderfyniad canlynol ar y mater hwn: "Ein bod ni yn cofleidio penderfyniadau ein brodyr yn Ngyhmanfa Dinbych, na oddefir neb sydd yn Odydd yn aelod o'n Cyfundeb, oblegid eu bod yn cyfyngu eu cariad a'u cymwynasgarwch at nifer neillduol o ddynolryw; ac yn benaf o herwydd y llygredigaeth a feithrinir yn eu cyfeillachau." Mae y penderfyniad uchod yn awgrymu beth oedd syniad y Cyfundeb am gymdeithasau o'r fath, a'r anmhriodoldeb i aelodau eglwysig fod yn aelodau o honynt. Erbyn hyn mae agos bawb yn y parthau gweithfaol yn aelodau o ryw gymdeithas ddirgelaidd neu elusengar. Tra nad ellir beio dim ar amcanion elusengar ynddynt eu hunain, eto mae yn ffaith ddiymwad fod y rhwymau mae y cyfryw gymdeithasau yn osod ar eu haelodau yn milwrio yn erbyn eu llwyddiant ysbrydol; ac yn gydwybodol rhaid eu hystyried yn un o'r nerthoedd sydd yn gwrthweithio dylanwad yr eglwys. Mewn enw cydnabyddir fod Crist yn meddu yr hawl flaenaf ar ein bywyd, ond mewn ymarferiad, os bydd brawd yn aelod o ryw *lodge*, mae yn teimlo fod rhwymau arno i fod yn bresenol yn nghyfarfodydd hono, ac ar yr un pryd mae wedi colli pob syniad o rwymedigaeth i gyflawni ei addunedau crefyddol, ac mewn effaith yn gwadu fod gan Grist hawl ar ei fywyd.

O'r un nodwedd, dybygem, mae y penderfyniad a basiwyd yn Nghymanfa Gorfforedig New York, 1845, yn gwahardd i'r aelodau ymuno â'r cymdeithasau elusengar yn y ddinas hono. Y rheswm am hyny ydoedd fod hyny yn arwain i lygredigaethau anghydweddol a phurdeb yr efengyl. Arweiniodd y penderfyniad hwn i lawer o gynwrf yn yr eglwys; ond os y Beibl ydyw safon ein crefydd, ac os sanct-

eiddrwydd ydyw nodwedd yr efengyl, mae yn rhaid mai egwyddor y penderfyniad oedd yn iawn.

(e) Dirwestiaeth.—Y Cyffes Ffydd ydyw deddf organaidd ein Cyfundeb, ac er nad oedd y diwygiad dirwestol wedi cychwyn y pryd hwnw, eto mae ein Cyfansoddiad yn cau allan bob ymarferiad â'r diodydd meddwol fel arfer sydd yn hollol anghydweddol â phurdeb proffes o'r efengyl. Darllener Rheol y Chweched ar y mater; ac mae yn eglur fod y rheol yn cynwys yr oll mae y diwygiad yn ymgyraedd ato. Felly pan sefydlwyd y Cyfundeb mewn ffurf organaidd, mabwysiadwyd yr egwyddor ddirwestol fel rhan o'r cyfansoddiad. Yr un modd y ffurfiwyd ef hefyd yn y wlad hon. Gosodwyd yr egwyddor ddirwestol i lawr fel rhan o'n Cyfansoddiad yn y Gymanfa Gorfforedig gyntaf, yn Palmyra. Cynaliwyd cyfarfod dirwestol fel rhan o gyfarfodydd y Gymanfa, i egluro yr egwyddor, ac i ddadleu yr achos.

Yn Nghymanfa Remsen, yr un flwyddyn (1842), mae dirwest yn cael sylw neillduol. "Sylwyd fod llwyr-ymataliad wedi ei fabwysiadu genym fel Corff. Er nad ydym yn gorfodi neb i ardystio o'u hanfodd, eto byddai yn anghydweddol a'n penderfyniadau oddef i neb o aelodau y Cyfundeb ei wrthwynebu a'i ddifrio."

Yn y Gymanfa gyntaf a gynaliwyd yn y Dalaeth hon, yn Pottsville, 1841, penderfynwyd, "Pwy bynag a ddiarddelir am feddwdod, na dderbynir y cyfryw yn ol heb arwyddion o edifeirwch trwy lawnodi yr ardystiad."

Gwasanaetha hyn i ddangos fod dirwestiaeth, h. y., ymwrthodiad hollol a phob ymarferiad a'r diodydd meddwol, yn un o egwyddorion sylfaenol ein Cyfundeb, ac nad yw egwyddorion nac arferion y Corff yn caniatau i neb fod yn aelodau yn ein heglwysi, ac eto yn wrth-ddirwestwyr.

Mae Cymanfaoedd pob Talaeth wedi cadw y mater hwn o flaen yr eglwysi ar hyd y blynyddoedd, mewn penderfyniadau, anogaethau, neu anerchiadau a phregethau. Ac mae hyny yn unol ag Organic Law y Cyfundeb. Eto mae yn

ofidus meddwl fod y drwg hwn yn enill tir, ac yn difwyno llawer o eglwysi.

7.—Cymeriadau Annheilwng.

Mae yn eglur fod y rhai hyn yn blino yr eglwys yn mhob oes o'r byd—naill ai yn llygru meddyliau ac yn gwyrdroi barn y dysgyblion, neu ynte yn llygru eu hymarferiadau. "Ser gwibiog, i'r rhai y rhoddwyd niwl tywyllwch yn nghadw yn dragywydd," ydynt, meddai Judas. Teimlodd ein tadau oddiwrthynt hefyd. Dodwn yma grynodeb o'r penderfyniadau sydd o bryd i bryd yn datgan eu barn am y cyfryw, a'u gofal am yr achos, na byddai yr efengyl yn cael cam yn y cyfeiriad hwn. Mae enwadau eraill, cystal a ninau, yn cael eu blino gan yr un dosbarth annheilwng.

Yn 1841 mae Cymanfa y Bedyddwyr, yr hon a gynelid yn Carbondale, yn pasio penderfyniad, "Ein bod ni, fel Bedyddwyr Cymreig, yn gwrthod derbyn neb fel pregethwyr neu weinidogion, oddieithr fod ganddynt lythyr o gymeradwyaeth oddiwrth Gwrdd Trimisol neu Gymanfa."

Yn Nghymanfa Remsen, 1839, "Penderfynwyd na bydd i ni yma dderbyn neb yn bregethwyr o Gymru heb eu hanfon neu eu cymeradwyo gan y Corff, trwy ysgrif." Addawodd y brodyr parchus Rees a Parry ein cofio yn hyn, ac na'n gadawent ni yn amddifad fel ag y gwnaethant hyd yr ymweliad hwn.

Yn Nghymanfa Remsen, 1846, "Penderfynwyd na byddai i un pregethwr o Gymru, o hyny allan, gael ei neillduo i waith y weinidogaeth nes y byddo wedi treulio dwy flynedd yn y wlad hon, heb gael cydsyniad Cyfarfod Misol y Sir o ba un y daethai, oddieithr fod y gymeradwyaeth hono wedi ei chael eisoes."

Yn Nghymanfa Gorfforedig Harrison, 1849, mae Dr. Rowlands yn hysbysu derbyniad llythyr oddiwrth y Parch. Hugh Hughes, Llanrwst, yn amgylchiad gweinidog oedd wedi dyfod drosodd i'r wlad hon heb lythyr cymeradwyaeth ganddo, a chydsyniwyd i weithredu yn unol a phenderfyniad y Cyfarfod Misol, a'n bod yn dymuno anog yr eglwysi i ofalu am fod gan ddyeithriaid gred-lythyrau.

Yn Nghymanfa Wisconsin, 1853, dygwyd cwyn, "Fod efengyl Crist yn cael ei chablu o herwydd cymeriadau afreolaidd yn dringo i'n pwlpudau. Rhai a ddaethant yn ddiweddar o Gymru yn euog o droseddau gwarthus yn Wisconsin." Pasiwyd penderfyniad na chymerid neb i'n pwlpudau ond pregethwyr adnabyddus, neu rai â llythyrau cymeradwyol o'r lle y daethant, a'r rhai hyny o'n henwad ni ein hunain, os yn gyfleus. Gwendid beius yn aelodau a swyddogion ein heglwysi ydyw cymeryd eu llygad-dynu gan ddyeithriaid annheilwng yn fynych, ac felly yn myned i brofedigaeth, a thynu gwarth ar yr achos. Mae pob dyn sydd yn meddwl rhywbeth am ei anrhydedd ei hun, yn gystal ag urddas yn achos, yn gofalu am ei gred-lythyrau pan yn myned i wlad ddyeithr. Dylai fod swyddogion ein heglwysi yn meddu digon o wroldeb moesol i ofyn am gredlythyrau gan ddyeithr-ddyn. Mae hefyd yn gwestiwn priodol, Paham y rhoddir cymaint o barch yn fynych i ddyeithriaid anadnabyddus, ac ar yr un pryd esgeuluso a diystyru brodyr cartrefol sydd eisoes yn wyr profedig? Buasai profedigaethau ein heglwysi a'n Cymanfaoedd lawer yn llai pe buasid wedi talu mwy o sylw i'r egwyddorion hyn.

Ond nid pregethwyr yn unig sydd yn euog o ymddygiadau annheilwng; oblegid yn Nghymanfa dinas New York yn 1839, yn yr hon yr oedd y Parchn. Rees a Parry yn bresenol, penderfynwyd "Fod eglwysi y Trefnyddion Calfinaidd yn anfon cenadwri at eglwysi yr enwad yn Nghymru i ddymuno arnynt beidio rhoi llythyrau cymeradwyol i ddynion priod a fyddo yn ymfudo oddiyno heb eu gwragedd, oddieithr ar achlysuron neillduol."

Mae y penderfyniad hwn yn benod ddu ar anfoesoldeb ugeiniau a chanoedd oedd yn proffesu pethau gwell yn ngwlad eu genedigaeth, a gwelsom lawer o engreifftiau dirywiedig o'r nodwedd yma ein hunain.

# PENOD III.

## Y GYMANFA DALAETHOL:—Y GYFRES GYNTAF, 1845—1858.

YN y tymor hwn, Carbondale, Blakely, Pottsville, Minersville a St. Clair oedd y prif sefydliadau lle yr oedd eglwysi Cymreig a Methodistaidd, a'r achosion oedd yn y lleoedd uchod oedd cnewyllyn a dechreuad ein cryfder fel Methodistiaid yn yr ochr ddwyreiniol i'r Dalaeth. Yr oedd y ffordd o Carbondale i Pottsville yn mhell ac yn anhygyrch, ac ar eu traed y byddai y pioneers—y Parchn. John Davies a Joseph E. Davies yn myned o'r naill le i'r llall. Yr oedd dechreuad yr achos yn fychan, a'r eglwysi yn weiniaid, eto trwy lafur mawr a chaled, hunanymwadiad ac ymroddiad y tadau, a bendith yr Arglwydd, fe dyfodd gryn lawer.

Yr oedd llunio a chychwyn Cymanfa dan y cyfryw amgylchiadau yn anturiaeth fawr a phwysig, rhag i'r gelynion fyned i watwar iddynt ddechreu adeiladu, ac heb fodd ganddynt a'i gorpheno. Ond mae yn eglur eu bod yn ddynion o ffydd, a'u bod yn gweled dyfodol dysglaer o'u blaen; felly maent yn hau mewn gobaith, yn sylfaenu ar gyfer amser i ddyfod. "Eraill a lafuriasant, a chwithau a aethoch i mewn i'w llafur hwynt."

Gyda haner dwsin o eglwysi, a thua'r un nifer o bregethwyr, y dechreuwyd Cymanfa yn Pennsylvania. Yr oedd undeb Cymanfaol rhwng y Dalaeth hon a Thalaeth New York yn cael ei gadw i fyny, fel yr oedd y gweinidogion yn ymweled a'r Cymanfaoedd Talaethol, yn gystal a'r Gymanfa Gorfforedig, a diameu fod yr undeb hwn wedi bod o

wasanaeth mawr i'r achos yn Pennsylvania. Nid oes un rheswm neillduol i'w roddi dros derfynu y gyfres gyntaf o'n Cymanafoedd gyda'r flwyddyn 1858, ond yn unig yr ymddengys i ni mai sefydliad ar ei phrawf ydoedd hyd y flwyddyn uchod. Bwriedid hi ar y cyntaf i gael ei chynal ddwywaith yn y flwyddyn, ond mae yn llithro megys yn ddiarwybod i gael ei chynal unwaith yn y flwyddyn, a hefyd yn ddosbarthiadol. Ond mae y flwyddyn uchod yn terfynu tymor ei phrawf, ac o hyny yn mlaen edrychid arni fel sefydliad wedi profi ei hun yn llwyddiant, a hir oes o'i blaen.

Cynaliwyd y gyntaf yn Pottsville, Ebrill 5, 6, 1845, a dewiswyd y Parch. John Davies, Blakely, yn Llywydd, a'r brawd Mr. John T. Griffiths, Carbondale, yn Ysgrifenydd. Heblaw y ddau uchod, yr oedd y pregethwyr canlynol yn bresenol: Mri. Thos. R. Jones, Carbondale; Joseph E. Davies, Pottsville; a Robert Williams, Minersville. Rhoddir y rheswm dros gyfarfyddiad y Gymanfa yn y geiriau hyn: "Y mae yn beth profiadol i holl eglwysi y saint mai hyfryd yw trigo o frodyr yn nghyd. Mae undeb bob amser yn nerth, ac mae eisieu llawer o rym i fyned yn mlaen gydag achos Duw yn y byd gwrthwynebus. Oddiar yr ystyriaethau hyn a'u cyffelyb, meddyliwyd genym am undeb o'r fath rhyngom yn y parthau hyn o'r wlad." Wedi cyfnewid meddyliau â'u gilydd, maent yn cael eu bod yr un farn o bobtu i'r Mynydd Glas, ac yn cydsynio i sefydlu a chynal Cymanfa i'r enwad Methodistaidd.

Dyma y prif benderfyniadau a basiwyd ar yr achlysur:

1. "Fod yr holl eglwysi yn gweled angen am y fath gyfarfod, er ffurfio a meithrin undeb yn ein plith.

2. Fod y cyfryw gyfarfodydd i gael eu cynal bob chwe' mis yn y Dalaeth, yn ol fel y byddo yr eglwysi yn galw am danynt.

3. Fod yr holl weinidogion a'r pregethwyr i gyfarfod ar amser neillduol yn y cyfryw gyfarfodydd.

4. Fod llythyr yn cael ei anfon at bob cangen eglwys a berthyn i'r Cyfundeb yn y Dalaeth hon, er anog pawb sydd

yn blaenori yn y gwaith i bresenoli eu hunain yn y cyfarfod nesaf, fel y gellir cael gwybodaeth am bawb sydd yn blaenori gyda'r achos mawr. Ni ystyrir hwy yn swyddogion heb hyny.

5. Os bydd i flaenoriaid ymadael o unrhyw fan heb hysbysu hyny yn gyntaf i'r eglwys, eu bod yn colli yr hawl ar unwaith i flaenori yn y gwaith. Yr achos o'r rheol hon yw, fod cymaint o flaenoriaid yn symud o'r naill fan i'r llall heb unrhyw achos neillduol yn galw am hyn ond elw bydol.

6. Fod yr holl eglwysi, yn ol eu gallu, i gyd-ddwyn y draul o'r cyfarfod hwn, a'u bod i ofalu am anfon eu rhoddion gyda'r cenadon anfonedig."

Yn y Gymanfa hon rhanwyd holl eglwysi y Dalaeth yn ddau ddosbarth—Summit Hill, Beaver Meadows, Hazleton, Danville, Minersville, Pottsville ac Allentown yn un dosbarth, yn yr ochr ddeheuol. Nanticoke, Hanover, Wilkesbarre, Cymry Newydd, Hyde Park, Blakely, Carbondale, yn yr ail ddosbarth.

Dybenwyd y Gymanfa hon mewn sirioldeb, ac arwyddion o Breswylydd mawr y berth yn mhlith ei weiniaid. Bellach mae y Methodistiaid yn Undeb Cymanfaol, o fewn terfynau daearyddol Pennsylvania, yr ochr ddwyreiniol i fynyddau yr Allegheny.

Cynaliwyd yr ail yn Carbondale, Hydref 4, 5, 1845. Am y Gymanfa hon, mae y cofnodion yn ddiffygiol. Tebygol mai Dr. Rowlands oedd y Llywydd, ond nid oes genym wybodaeth pwy oedd yr Ysgrifenydd. Dr. Rowlands a'r Parchn. Joseph E. Davies a Daniel Daniels (A.) oedd yr oll fu yn gweinyddu yn gyhoeddus y tro hwn.

Cynaliwyd y drydydd yn Danville, Mawrth 7, 8, 1846. Nid oes dim yn y cofnodion yn awgrymu pwy oedd y Llywydd na'r Ysgrifenydd yn hon. Y rhai a gymerodd ran gyhoeddus yn hono oedd y Parch. John Davies, Blakely, a'r brodyr Thos. R. Jones, Carbondale; David Williams (diweddar o Gymru); a Joseph E. Davies, Pottsville.

Yr oedd y bedwaredd yn Minersville, Hydref 7, 8, 1846. Ni ddywedir pwy oedd y Llywydd a'r Ysgrifenydd yn hon

ychwaith. Gweinyddwyd yn gyhoeddus gan y Parchn. John G. Jones, Allentown; John Davies, Carbondale; Joseph E. Davies, Pottsville; Thos. R. Jones, Wilkesbarre; Thos. Williams, Collinsville; a Dr. Rowlands, New York.

1847, Mawrth 3, 4, yr oedd yn Carbondale, a dewiswyd y Parch. John Davies yn Llywydd, a Thos. R. Jones yn Ysgrifenydd, a phregethwyd gan y Parchn. John Davies, Thos. R. Jones, Robert Williams, David Bowen a William Richards (B.), a William Parry (A.) o Manchester, Lloegr.

Hydref 3, 4, 1847, yn St. Clair. Ni ddywedir pwy gafodd yr anrhydedd o fod yn Llywydd, ond y Parch. J. E. Davies oedd yr Ysgrifenydd, a'r Parchn. John Davies, Thos. Phillips, Enoch Samuel, John G. Jones a Joseph E. Davies fu yn gweinyddu yn gyhoeddus yn hono.

Ebrill 1, 2, 3, 1848, yr oedd yn Danville, a dewiswyd Dr. Rowlands yn Llywydd, a Daniel Scurry yn Ysgrifenydd. Pregethwyd yn y Gymanfa hon nos Sadwrn, Sabboth a'r dydd Llun canlynol, a thraddodwyd yno 14 o bregethau gan y Parchn. Enoch Samuel, John G. Jones, Robert Williams, John Davies, Joseph E. Davies, Dr. Rowlands a Dr. Yeoman (Pres.), a gweinyddwyd yr ordinhad nos Sabboth.

Hydref 7, 8, 1848, yr oedd yn Pottsville, y Parch. Thos. Phillips yn Llywydd, a Mr. Robert Hughes yn Ysgrifenydd. Y Parchn. Edward Rees, Collinsville; John G. Jones, John Davies, Joseph Davies a Thos. Phillips fu yn cyflawni y gwasanaeth cyhoeddus yn y Gymanfa hon.

1849, Ebrill 7, 8, mae y Gymanfa yn Summit Hill, a dewiswyd y Parch. Joseph E. Davies yn Llywydd, a Hugh Davies yn Ysgrifenydd. Cyflawnwyd y gwasanaeth cyhoeddus yn hon gan y Parchn. John Davies, Dr. Rowlands, Joseph E. Davies, Thos. Phillips, John G. Jones ac R. R. Williams (A.), Minersville.

Hydref 6, 7, 1849, yr ydoedd yn Minersville, a dewiswyd Dr. Rowlands yn Llywydd, a Mr. Hugh Davies, Summit Hill, yn Ysgrifenydd. Y Parchn. John G. Jones, Allentown; W. Rowlands, New York; John Davies, Blakely; a William Williams o Gymru, gyflawnodd y gwasanaeth cyhoeddus yn hon.

1850, Ebrill 6, 7, yr oedd y Gymanfa yn Harrison (Scranton), y Parch. Thos. Phillips yn Llywydd, a John J. Davies, diacon o'r lle, yn Ysgrifenydd. Y Parchn. Thomas Phillips, Pottsville; Thomas T. Evans, Floyd; Dr. Rowlands, New York; John T. Griffiths, Carbondale; William Williams a Robert Williams, Minersville, fu yn pregethu yn hon.

1850, Hydref 3-12. Cynaliwyd hon yn y Dosbarth Gogleddol—Carbondale, 3-5; Scranton, 6-10; Danville, 11-12. Dewiswyd Dr. Rowlands yn Llywydd, a David W. Howells, Summit Hill, yn Ysgrifenydd, a gweinyddwyd yn gyhoeddus gan y Parchn. John Adams, Robert Sennar, John Davies, David Lewis, Utica; David Howells a Dr. Rowlands. Yn nglyn a'r Gymanfa hon cynaliwyd cyfarfodydd pregethu yn Pittston, Wilkesbarre, Bloomsburg, Pottsville, Minersville, St. Clair, Summit Hill a Lehigh Gap.

1851, Ebrill 12, 13, yn Lehigh Gap. Llywydd, Parch. John G. Jones, Allentown, a Mr. Hugh T. Davies yn Ysgrifenydd, a'r Parchn. John Adams, David Howells, Thos. R. Jones, David Davies, Carbondale; Thos. Phillips, Pottsville; a David Williams, Remsen, gyflawnodd y gwasanaeth cyhoeddus yn hon.

1852. Yr oedd y Gymanfa y flwyddyn hon yn y Dosbarth Deheuol, fel y canlyn: Slatington, Gorphenaf 8, 9; Summit Hill, 10; St. Clair, 12; Pottsville, 14; Minersville, 17, 18. Dr. Rowlands yn Llywydd, a Mr. John R. Williams yn Ysgrifenydd. Heblaw y ddau uchod, gweinyddwyd yn gyhoeddus gan y Parchn. John Adams, David Howells, Thos. Williams, Remsen, a John L. Jeffreys.

Yn 1853 mae yn y Dosbarth Gogleddol. Danville, Awst 6-8; Scranton, 10-12; Carbondale, 13, 14. Y Parch. David Lewis, Utica, yn Llywydd, a'r Parch. Thos. H. Roberts, Slatington, yn Ysgrifenydd. Gyda'r Llywydd a'r Ysgrifenydd, gweinyddwyd gan Dr. Rowlands, y Parchn. John Davies, Howell Powell, Cincinnati; David Lewis, Utica; Robert Sennar a John Adams.

1854, yn Pottsville, Mehefin 10-12; Minersville, 13; St. Clair, 14, 15; Slatington, 17, 18. Dewiswyd y Parch. Howell

Powell yn Llywydd, a'r Parch. Thos. H. Roberts yn Ysgrifenydd, y rhai, yn nghyd a'r Parchn. Thomas James, Baltimore; John Hughes, Marcy; James Lamb, Cattaraugus; John Williams o Gymru; a John Davies, Blakely, fu yn pregethu yn hon.

1855, yn y Dosbarth Gogleddol. Danville, Hydref 26-28; Scranton, 30; Carbondale, Tachwedd 3, 4. Pregethwyd hefyd yn nglyn a'r Gymanfa hon yn Bloosmburg, Pittston a Blakely. Nid yw enw y Llywydd wedi ei roi yn y cofnodion, ond Mr. John R. Williams oedd yr Ysgrifenydd. Yr oedd yn bresenol y tro hwn y Parchn. Thomas James, Pottsville; E. J. Hughes, Slate Hill; Howell Powell, Cincinnati; Thomas R. Jones, Rome; E. F. Jones, Slatington; Daniel J. Morgan, Pottsville; Benjamin T. Jones, Danville; Thos. T. Evans, Floyd; Thos. Williams, Collinsville; John V. Hughes, Gilbertsville; John Davies, Blakely; D. Evans (B.), a John Thomas (Pres.), y rhai a gymerasant ran yn y moddion cyhoeddus.

1856, yn y Dosbarth Deheuol—Slatington, Gorphenaf 12, 13; St. Clair, 15; Minersville, 16; Pottsville, 18. Llywydd, y Parch. William Roberts, D. D., New York; Ysgrifenydd, Parch. E. F. Jones. Y Parchn. John R. Williams, Edward J. Hughes, Thomas James, E. F. Jones, Dr. Roberts, Robert Williams a David Jones (A.) fu yn cyflawni y gwasanaeth cyhoeddus yn y Gymanfa hon.

1857, Ebrill 24-27, yn Danville. Dr. Rowlands yn Llywydd, a'r Parch. E. F. Jones yn Ysgrifenydd. Yn y Gymanfa hon yr oedd y Parchn. W. Roberts, D. D., a Thos. J. Phillips, gyda'r Llywydd a'r Ysgrifenydd yn cyflawni y gwasanaeth cyhoeddus.

1858. Yr oedd y Gymanfa hon yn Scranton, a Dr. Roberts yn Llywydd, a'r Parch. E. F. Jones yn Ysgrifenydd, ac yn cyflawni y gwasanaeth cyhoeddus gyda hwynt yr oedd y Parchn. Thos. Jenkins, Utica; E. J. Hughes, St. Clair; John Adams, Minersville; John Davies, Blakely; a Joseph Rees o Carbondale.

Yr ydym yn awr mewn mantais i gymeryd sylw o weith-

rediadau y Gymanfa hon. A wnaeth hi waith Cristionogol? A atebodd hi ddyben ei sefydliad? I ni fel Cymry, a Methodistiaid yn enwedig, mae pregethu nid yn unig wedi cael lle mawr, ond yn brif waith ein Cymanfaoedd, am mai trwy hyny y llwyddodd Methodistiaeth yn y dechreuad. Ond nid ydyw yn canlyn fod yr hyn oedd yn ateb y dyben mewn un oes yn myned i ateb yr un dyben mewn oes arall hollol wahanol. Nid ydym yn gwybod am un Cyfundeb arall yn rhoi lle mor fawr i bregethu; a thybiwn mai prif waith y Gymanfa ydyw trefnu mesurau i sicrhau llwyddiant yr achos yn gyffredinol o fewn cylch y Gymanfa, ac nid pregethu llawer mewn un lle ar y pryd.

(a) Y Gymanfa.

Ydyw un o'r materion sydd yn dyfod dan ein sylw gyntaf. Ar y pryd yr oedd ei bywyd a'i pharhad yn fater o arbrawf, a chan yr ystyrid ei bod yn anhebgorol er llwyddiant Methodistiaeth, yr oedd llawer o waith noddi a meithrin arni, a chynllunio mesurau i sicrhau ei llwyddiant. Felly yn Nghymanfa Minersville, 1846, yr ydym yn cael y brodyr yn penderfynu ar gynllun i gynal y Gymanfa:

1. Cyfarfod pwyllgor am 8 y boreu.
2. Cyfarfod yr holl swyddogion am ddeg.
3. Am 1, cyfarfod i'r pregethwyr a'r diaconiaid ar wahan.
4. Cyfarfod i holl aelodau y Gymanfa am ddau.
5. Cyfarfod cyhoeddus i bregethu am chwech.
6. Am 8, boreu yr ail ddydd, cyfeillach eglwysig.
7. Cyfarfodydd cyhoeddus i bregethu am ddeg, dau a chwech.

Aethpwyd yn mlaen ar y cynllun hwn am rai blynyddoedd; gan gynal dwy yn y flwyddyn, a bernid fod y cynllun yn gweithio yn dda. Ond yn Nghymanfa Summit Hill, 1849, bwriwyd golwg ar y dull yr oedd cyfarfodydd y Gymanfa yn cael eu cario yn mlaen, ac yr oedd rhai yn teimlo fod eisieu diwygiad, ond y pryd hwnw penderfynwyd fod yr hen ddull i barhau. Yn y Gymanfa Gorfforedig, Lehigh a Pottsville, 1852, penderfynwyd anfon cais i'r eglwysi iddynt anfon eu llais i'r Gymanfa nesaf, pa un ai blyn-

yddol ynte chwe' misol y dewisent gael y Gymanfa. Ar yr un pryd amlygwyd nad oedd un bwriad yn y cynllun i ddiddymu na lleihau y cysylltiad rhyngddynt a Thalaeth New York, can belled ag y byddent hwy foddlon cydweithredu mewn cyfarfodydd ac ymdriniaeth ag achosion y Cyfundeb. O hyny yn mlaen, un yn flynyddol a gynelid, a hono yn ddosbarthiadol, a chynadleddau yn cael eu cynal yn mhob lle. Ond mae yn eglur fod y cynllun hwn yn arwain i annhrefn. Felly yn Nghymanfa 1855, yn y Dosbarth Gogleddol, penderfynwyd fod holl achosion y Gymanfa i gael eu penderfynu yn yr un lle, a'r pregethwyr i bregethu yn y gwahanol leoedd fel arfer.

Ond yn Nghymanfa Pottsville, 1856, bu sylw maith ar y Gymanfa drachefn. Daeth cais o'r Cyfarfod Dosbarth am gael dwy yn lle un yn y flwyddyn, a hono i gael ei chynal mewn un lle, a'r holl eglwysi i gydweithredu at ddwyn y draul. Fod yr eglwysi lle byddai y Gymanfa i anfon am y pregethwr a ddewisai i'w chynal trwy gydsyniad cyfarfod y Dosbarth; nad oedd y Gymanfa yn ymrwymo i ddigolledu neb ond yr anfonir am danynt. Yn Nghymanfa Danville, 1857, penderfynwyd, "Fod yr undeb Cymanfaol i barhau fel mae wedi bod o'r dechreu—yn y Dosbarth Deheuol yn mis Ebrill, ac yn y Dosbarth Gogleddol yn mis Hydref."

Yr un amser pasiwyd y penderfyniad canlynol: "Fod gan y diaconiaid fydd yn bresenol hawl i ranu y casgliad rhwng y pregethwyr a'r gweinidogion fel y barnont hwy yn oreu, heb fod yn gyfrifol i neb ond iddynt hwy eu hunain, ac nid oedd angen i hyny fod ar lyfr y Gymanfa."

Yn Nghymanfa 1858 penderfynwyd "Nad oes gan un eglwys hawl i wrthod y Gymanfa yn ei hamser, gan nad beth fyddo ansawdd masnach ar y pryd, gan fod gweinidogion a phregethwyr wedi addaw dyfod iddynt mor gyson ag y gallant."

Gyda hyn mae pob ymdriniaeth yn nghylch y gyfres hon o Gymanfaoedd yn terfynu.

(b) Arolygiaeth yr achos lle y cynelid y Gymanfa.

Nid oes un mater yn fwy o ddyddordeb i ni ei olrhain

na'r gofal oedd y tadau yn ei ddangos am lwyddiant yr achos yn mhob lle. Yr oedd hyn yn cael ei ystyried yn rhan neillduol o waith y Gymanfa.

Yn yr ail, yr hon a gynaliwyd yn Carbondale, ymofynwyd i hanes yr achos yn y lle, ac o fewn cylch y Gymanfa. Fel ffrwyth yr ymdriniaeth y pryd hwnw, cawn y daflen ganlynol o nifer yr eglwysi a'u swyddogion:

Dechreuwyd yr achos yn Carbondale, Pottsville a Minersville yr un flwyddyn, 1832; Cymry Newydd, 1835; Danville, 1842; Summit Hill, 1844; Allentown, 1844, a Hanover, 1845.

Swyddogion—Carbondale, gweinidog, Parch. John Davies; pregethwr, Mr. Thomas R. Jones.

Pottsville, Mr. Joseph E. Davies.

Danville, Mr. John Griffiths.

Minersville, Mr. Robert Williams.

Allentown, Mr. John G. Jones.

Blaenoriaid.—Carbondale, Mri. Daniel Scurry a John Evans; Pottsville, Mr. Thomas Griffiths; Minersville, Mri. W. Roberts a Daniel H. Davies; Cymry Newydd, Mr. James Jones; Danville, Mr. David Williams; Hanover, Mr. Evan Price.

Teimlai y brodyr fod angen mawr am swyddogion yn y cylch, a phenodwyd y Parch. W. Rowlands a Mr. Evan Price i fyned i Pottsville a Minersville i'w cynorthwyo i ddewis blaenoriaid. Felly hefyd yn Danville, yn 1846, arolygwyd holl amgylchiadau yr achos, a derbyniwyd y brawd David Williams yn aelod o'r Gymanfa.

Yn Nghymanfa Minersville, 1846, trefnwyd ymweliad â'r eglwysi—y cyntaf mae yn debyg yn y Dalaeth. Rhanwyd cylch y Gymanfa yn ddau ddosbarth er mantais i hyn; o Pottsville i Old Mines, yn cynwys y Dosbarth Deheuol; ac o Danville i Carbondale y Dosbarth Gogleddol. Y Parch. John Davies a Mri. Joseph E. Davies a Thos. R. Jones oedd yr ymwelwyr. Materion yr ymweliad, athrawiaeth, dysgyblaeth a chyfraniadau; a dygodd y cenadon eu hadroddiad i Gymanfa Carbondale yn 1847. Yn hono hefyd derbyniwyd cais o Wilkesbarre yn dymuno am ychywanegu

gweinidogion yn nghylch y Gymanfa, ac anfonwyd y Parch. John Davies a Mr. Daniel Scurry yno i'w cynorthwyo i ddewis blaenoriaid.

Yn Nghymanfa St. Clair, 1847, trefnwyd cyfarfod i fod yn Pottsville ddydd Llun canlynol i'r Gymanfa, i ystyried achos Minersville, oblegid anghydfod rhwng y swyddogion, ac anghysondeb yn y cyfrifon. Treuliwyd y diwrnod hwnw i ymddyddan â swyddogion y cylch, i egluro iddynt natur a dyledswyddau eu swydd, a'u profiad crefyddol. Yn Nghymanfa Pottsville, 1848, penodwyd y Parch. Edward Rees o Dalaeth New York i dalu ymweliad â Minersville, a Mr. John G. Jones i fyned i Lehigh Gap i ymweled a'r eglwys yno, ac i ymddyddan a brawd o flaenor. Yn Danville, yr un flwyddyn, ymofynwyd i ansawdd yr achos yn y cylch, "ac a oedd genym rywbeth i wneyd y gweinidogion yn fwy cysurus."

Yn 1850 yr oedd y Gymanfa yn y Dosbarth Gogleddol, ac mae y Parchn. David Lewis, Utica, a Robert Sennar yn cymeryd rhan neillduol mewn ymddyddan â'r swyddogion, pan y sylwyd, "Fod yn angenrheidiol er ein cymwyso i'r gwaith, fod genym brofiad o allu y gwirionedd ein hunain, ac fod y swyddogion mewn perygl i golli golwg arnynt eu hunain fel pechaduriaid, yn eu trafferth swyddogol. Fod yn angenrheidiol gofalu am y praidd, a darparu bwyd blasus iddynt."

Yn 1851, yn Carbondale, derbyniwyd eglwys Summit Hill i undeb a'r Gymanfa.

Yn Nghymanfa 1854, yn Minersville, cymerwyd sylw o achos Peach Bottom, ac anfonwyd y Parchn. John Hughes o Sir Oneida, a Thomas James, Baltimore, i fyned yno i sefydlu eglwys Fethodistaidd; ac anfonwyd anerchiad at y Parch. Robert Williams, Rock Hill, Wis., yr hwn ar y pryd oedd yn debyg i symud yno i weinidogaethu.

Yr un pryd anogwyd eglwysi Pottsville, Minersville a St. Clair i ymofyn rhywun yn weinidog rhyngddynt. Rhoddwyd y cyngor canlynol i swyddogion yr eglwysi, i "Ymgadw rhag anfon am swyddogion eglwysi eraill i ymdrin

ag unrhyw achos heb fod yr eglwys yn gwybod, a'r nifer luosocaf yn galw am danynt."

Yn yr un Gymanfa, yn Slatington, anogwyd y swyddogion i ofalu na bo neb o'r aelodau yn esgeuluso neu yn colli yn anmhriodol y cyfarfodydd neillduol. Hefyd, nad oes gan swyddog a ymadawo o eglwys dros ysbaid o amser, hawl i weini ei swydd heb ei alw drachefn gan yr eglwys. Hysbyswyd nad oes gan aelod a ymatalia oddiwrth gymundeb hawl i ddyfod at fwrdd yr Arglwydd heb ymddyddan ag ef. Anogwyd dwyn y materion hyn i sylw y Cyfarfod Dosbarth.

Yn Nghymanfa 1855 cymerwyd achos yr Ysgol Sabbothol i sylw, yn enwedig mewn manau anghyfleus.

Yn Nghymanfa 1857, bu yr achos yn Pittston dan sylw, ac agorwyd y drws iddynt i gasglu at y capel yno. Yr un pryd ymdriniwyd â chwyn a ddaethai o St. Clair, oblegid anghydfod rhwng y swyddogion, a rhoddodd y Gymanfa gyngor iddynt i feithrin undeb trwy gyfeillgarwch; oblegid dyeithrwch swyddogion i'w gilydd yw achos anghydfod bob amser. Nodwyd Dr. Rowlands a Mr. David J. Williams i ymweled a'r tair eglwys, ac i gyflwyno cenadwri y Gymanfa iddynt.

Eglura yr engreifftiau hyn "wir ofal" y tadau am yr achos yn ei holl gysylltiadau.

(c) Arolygiaeth ar Feddianau y Cyfundeb.

Yn ol esiampl a chynllun y Gymanfa Gorfforedig dechreuodd y Gymanfa hon ei gwaith mewn bwrw golwg a gofalu am yr eiddo oedd yn perthyn i'r eglwysi, adeiladu capelau, a chasglu arian at dalu y ddyled, &c. Buasai yn dda i lawer eglwys wan pe buasai arolygiaeth fanwl yn y cyfeiriad hwn wedi ei gadw i fyny hyd yn bresenol. Mynych y gwelwyd rhai yn myned i adeiladu capel drudfawr heb fwrw y draul nac arfer barn, a oedd golwg i'r achos barhau a thyfu, a pha fodd yr oedd yn myned i dalu y ddyled; ac felly yn myned i drafferth a helbul, ac yn faich ar y Cyfarfod Dosbarth.

Dyma rai o weithredoedd y gyfres hon o Gymanfaoedd

gyda golwg ar y mater hwn: Yn Nghymanfa Danville, Mawrth, 1846 rhoddwyd caniatad i St. Clair i adeiladu capel, ac i gyfeillion Minersville i gasglu yn yr holl weithfeydd perthynol i'r lle at dalu eu dyled. Caniatawyd i Danville fod at eu rhyddid i adeiladu, os gallant rwyddhau y ffordd at hyn, a chyfeillion Carbondale yr un modd. Rhoddwyd caniatad i'r cyfeillion yn Blakely i adeiladu, a phenodwyd Mri. Edward Jones a Daniel Scurry o Carbondale i ofalu am ei fod yn cael ei gyflwyno yn ddidwyll i'r Methodistiaid. Yr un pryd rhoddwyd caniatad i gyfeillion Pottsville "i gasglu at ddyled eu capel hyd Nadolig nesaf."

Yn Nghymanfa Summit Hill, 1849, yn unol a'u cais, rhoddwyd caniatad i gyfeillion St. Clair "i werthu rhan o'r tir perthynol i'r capel, a nodwyd Mr. Joshua Williams o'r lle, a Mr. Henry Jones, Pottsville, a Hugh Davies, Minersville, i edrych dros hyn o orchwyl."

Ar yr un adeg rhoddwyd caniatad pellach i gyfeillion Pottsville i gasglu at ddileu dyled eu capel, lle nad oeddynt wedi bod o'r blaen, a hefyd i werthu y tai perthynol i'r capel, ond nid y tai dan y capel, a'r gwerthiant i fod dan arolygiaeth y Cyfarfod Dosbarth.

Yn Nghymanfa Carbondale, Scranton a Danville, bu sylw ar weithredoedd y capeli, a nodwyd Mri. J. R. Williams a W. D. Howells i wneyd ymofyniad i gyfreithiau y Dalaeth, beth a ellid wneyd i ddiogelu yr eiddo i'r Cyfundeb.

Yn Nghymanfa 1854 bu llawer o drafod ar yr un mater, ac anogwyd pob Dosbarth i wneyd ymchwiliad i'r mater, a dwyn y gweithredoedd a phob hysbysiad angenrheidiol i'r Gymanfa nesaf.

(d) Yr Achos Cenadol.

Yn hanes y Gymanfa Gorfforedig, gwelsom mai un amcan mawr oedd ganddi mewn golwg, oedd gofalu am sefydliadau neu ardaloedd anghysbell, fel meusydd cenadol. I'r amcan hwn y ffurfiwyd y Gymdeithas yn Nghymanfa Gorfforedig Remsen, 1847. Tybiem mai camgymeriad oedd ei gosod dan nawdd y Gymanfa Dalaethol, a'i fod yn sicr o atal llwyddiant cyffredinol y Gymdeithas. Pa mor bell y

bu i'r brodyr yn y Dalaeth hon gydweithio neu dderbyn cymorth oddiwrth y Gymdeithas hono nis gwyddom. Ond yr ydym yn cael fod sylw yn cael ei roddi i'r achos yn Nghymanfa Danville, 1848, ac "anogwyd yr eglwysi i gasglu at yr achos." Yn y Gymanfa fu yno yn 1851, wrth ymddyddan â swyddogion y lle, "cwynid o herwydd prinder gweinidogaeth." Ond nid oedd y gwyn hono bellach yn cyfodi gymaint oddiar brinder gweinidogion, mewn cydmariaeth, ond o bosibl yr anhawsder i'w cael yno, am fod y lle yn anghysbell, a'r draul yn fawr. Yn y Gymanfa Gorfforedig a gynaliwyd yno i ddechreu yn 1853, bu sylw ar yr achos yn ei wedd ddeublyg.

Rhoddwyd anogaeth i'r eglwysi i ymddeffroi i gofio am y paganiaid, a chyfranu yn gydwybodol tuag at eu goleuo a'u dychwelyd at Grist.

Penodwyd y Parch. Howell Powell, Cincinnati, i ymofyn a swyddogion "Y Gymdeithas Genadol Gartrefol a Thramor," dros eglwys Danville, "A allent gael cymorth ganddynt i gynal gweinidogaeth fwy cyson yn eu plith." Pan gyraeddodd y Gymanfa hono i Scranton, bu sylw pellach ar y mater, a dymunwyd ar y Parch. Robert G. Sennar "I ymofyn beth a allai y Presbyterian Board of Missions wneyd ar eu rhan."

Beth bynag fu y cychwyniad, mae yn eglur fod y Gymanfa hon yn cymeryd "new departure" gyda golwg ar y mater hwn. Yn Nghymanfa Pottsville, 1856, mae Bwrdd Trefniadol yn cael ei benodi i wneyd ymchwiliad a pharotoad er ymuno â'r Gymdeithas uchod. Yn nglyn â'r drafodaeth, cododd rhywun yr ymofyniad, "Ai nid crintachrwydd a phrinder ein cyfraniadau arianol yw yr achos ein bod yn gofyn cymorth gan y Gymdeithas hon?" I'r hyn yr atebwyd, "Fod eglwysi y Methodistiaid yn Pennsylvania yn methu, o eisieu gweinidogaeth dda, sefydlog, a'u bod yn rhy weiniaid i gael hyny eu hunain heb gymorth o rywle arall."

Dyma aelodau y Bwrdd: Llywydd, Parch. R. Williams, Minersville; Ysgrifenydd, Parch. E. F. Jones, Slatington;

Trysorydd, W. H. Davies, Pottsville. Aelodau: Mri. Walter Phillips, Bellevue; Morgan Thomas, Danville; a John Humphreys, Slate Hill. Dymunwyd hefyd i bob eglwys anfon llais, a oeddynt yn dymuno ymuno â'r Gymdeithas hon, yn nghyd a chasgliad i'r Gymanfa nesaf.

Yn 1858 mae y Gymanfa yn Scranton, ac mae undeb a'r Gymdeithas Americanaidd yn cael ei ddwyn i sylw unwaith eto. Mae y Dosbarth Gogleddol yn achwyn nad oeddynt hwy wedi cael sicrwydd digonol am dani, a nodwyd y brawd John Moses i ohebu â'r Ysgrifenydd yn New York, a dwyn y mater o flaen eglwysi y Dosbarth, ac iddynt hwythau anfon eu llais, yn nghyd a chasgliad i'r Gymanfa. Yr un pryd cymeradwywyd penderfyniad y Dosbarth Deheuol yn ymuno â'r Gymdeithas wrtho ei hun. Ond yn Nghymanfa Mai, 1860, mae y mater yn cael ei ddwyn i derfyniad fel y canlyn: "Penderfynwyd ein bod fel Cymanfa yn ymuno a'r Gymdeithas Genadol Americanaidd, fel cangen gynorthwyol, a neillduwyd swyddogion a chyfeisteddfod i ddwyn yn mlaen achosion y Gymdeithas. Y Parch. Thos. R. Jones, Scranton, yn Llywydd, a'r Parch. E. J. Hughes, St. Clair, yn Ysgrifenydd, a Mr. John Lucas, Pottsville, yn Drysorydd.

(e) Y rhai dechreuodd bregethu, ac a dderbyniwyd i'r Gymanfa yn yr adeg hon.

Nid oedd gan ein tadau y pryd hwnw gorff o reolau sefydlog i weithredu wrthynt, ond ar yr un pryd yr oeddynt yn gweithredu yn gyson ac unol ag arfer y Methodistiaid yn y mater hwn. Nid oes neb yn cael caniatad i ddechreu heb ymddyddan ac arholiad arno.

Yn Nghymanfa Minersville, 1846, nodwyd y Parchn. John Davies a Joseph E. Davies i ymddyddan a'r brawd Richard Jones, aelod o'r eglwys uchod, gyda golwg ar ddechreu pregethu, a derbyniwyd ef ar brawf fel pregethwr i'r Dosbarth, ac mae Cymanfa Carbondale, yn 1847, yn caniatau iddo arfer ei ddawn yn y tri lle.

Yn 1850 mae eglwys St. Clair yn anfon cais at Gymanfa Harrison am ganiatad i'r brawd John Adams i arfer ei

ddawn fel pregethwr. Cyflwynwyd y mater i ofal cyfarfod y Dosbarth.

Yn y Gymanfa hono hefyd y derbyniwyd y brawd John R. Williams yn bregethwr i'r Cyfundeb. Yn yr un flwyddyn, yn Nghymanfa Lehigh, derbyniwyd y brodyr David Davies, Carbondale; a David W. Howells, Summit Hill, i undeb a'r Gymanfa fel pregethwyr. Yr oedd gan y blaenaf lythyr cymeradwyaeth o'r Hen Wlad er's saith mis. Arholwyd hwynt gan y Parchn. Thos. R. Jones, Thomas Phillips a David Williams, Remsen.

Yn y Gymanfa Gorfforedig, yn Danville, 1853, ymddyddanwyd a'r brawd Joseph Rees, yr hwn oedd wedi dechreu pregethu yno, a phenderfynwyd dwyn ei achos i sylw pan gyraeddai y Gymanfa i Carbondale, ac yno derbyniwyd ef i undeb a'r Gymanfa fel pregethwr.

Yn Nghymanfa 1854, yn Slatington, derbyniwyd y brawd W. E. Jones yn aelod o'r Gymanfa fel pregethwr. Yn Minersville ymddyddanwyd a'r brawd ieuanc E. J. Hughes, yr hwn oedd yn dechreu pregethu. Cafwyd boddlonrwydd ynddo, a derbyniwyd ef i undeb cyfeillgar a'r Gymanfa nes sefydlu eglwys Peach Bottom, ac iddo yntau gael llythyr cymeradwyaeth gan y Presbyteriaid.

Yn Nghymanfa y flwyddyn 1855, derbyniwyd y brodyr E. F. Jones, Slatington; David J. Morgans, Pottsville; a William R. Matthews, Carbondale, i undeb a'r Gymanfa.

Yn 1858 yr oedd y Gymanfa yn Scranton, pryd yr ymddyddanwyd a'r brodyr Thos. J. Phillips, Carbondale, a Thomas Williams, Slateford. Holwyd hwynt gan y Parchn. Thos. Jenkins, Utica, a John Davies, Blakely, a derbyniwyd hwynt i undeb a'r Gymanfa.

Yn y cyfnod hwn ychwanegwyd 13 wedi dechreu pregethu o fewn cylch y Gymanfa er ei dechreuad.

(f) Y rhai a dderbyniwyd ar sail llythyrau cymeradwyol yn aelodau o'r Gymanfa.

1. Yn Nghymanfa Minersville, 1849, bu sylw ar achos y brawd William Williams, yr hwn oedd wedi bod am flynyddoedd gyda'r Wesleyaid. Yr oedd wedi ei dderbyn yn

aelod gyda'r T. C. yn New York ar sail llythyrau oddiwrth y Parchn. William Jones (W.), a Joseph Williams (T. C.), Liverpool. Holwyd ef yn faith a manwl am ei brofiad a'i egwyddorion gan y Parchn. Thos. Phillips a Joseph E. Davies, a derbyniwyd ef yn aelod o'r Gymanfa. Pregethodd yn y Gymanfa hono unwaith.

2. Yn Carbondale, 1851, derbyniwyd y brawd Robert G. Sennar trwy lythyr o Gyfarfod Misol Sir Gaernarfon yn aelod o'r Gymanfa.

Yr un flwyddyn, yn Nghymanfa Lehigh, darllenwyd llythyrau cymeradwyol i'r brawd Griffith Davies, oddiwrth y Parch. Henry Rees, a Chyfarfod Misol ei Sir, a derbyniwyd ef yn aelod o'r Gymanfa. Bu trafodaeth a'r brawd hwn yn Nghymanfa Gorfforedig New York, yn 1848, ac ymddyddanwyd ag ef am ei brofiad a'i egwyddorion, a'i gymellion i'r weinidogaeth. Yn nglyn a hyny, ac fel rheswm paham, mae yn debyg, eglurwyd mai yr un faint o berthynas sydd rhwng yr eglwys yn New York a Sir Oneida, a Thalaeth Pennsylvania.

3. Yn Nghymanfa 1854, yn Pottsville, derbyniwyd y Parch. John Williams o Sir Feirionydd i undeb cyfeillachol a'r Gymanfa, i aros er gweled pa le y sefydlai. Yr un pryd derbyniwyd y brawd Thomas James o Sir Forganwg, i undeb a'r Gymanfa fel pregethwr. Rhoddwyd caniatad iddo gasglu at gapel Canton, Baltimore, yr un amser.

4. Yn 1857 derbyniwyd y brawd Benjamin T. Jones yn aelod o'r Gymanfa fel pregethwr yn Danville. Felly ychwanegwyd 18 mewn pregethwyr a gweinidogion at nifer y Gymanfa yn y cyfnod hwn.

(g) Yr ordeiniadau a gymerodd le o fewn cylch y Gymanfa hon.

1. Y Parch. Robert Williams, Minersville. Wedi cael cydsyniad a chymeradwyaeth Cymanfaoedd New York ac Ohio, ordeiniwyd ef yn Nghymanfa Minersville, Hydref 4, 1846. Yr oedd y cyfarfod hwn am 8 boreu Sabboth. Darllenodd y Parch. John G. Jones, Allentown; gweddiodd Mr. Thos. R. Jones, Carbondale; holwyd ei brofiad a'i egwydd-

orion gan Dr. Rowlands a'r Parch. Thos. Williams, Collinsville. Yr araeth ar Natur Eglwys gan Dr. Rowlands, a'r cyngor gan y Parch. John Davies, Blakely. Yr oeddid hefyd wedi cymeryd sylw o achos y brawd David Williams, Pottsville, ond nid oedd yn sefydlog o ran ei feddwl i aros yn y Dalaeth; felly gohiriwyd ei ordeiniad ef.

2. Y Parch. Joseph E. Davies, Pottsville. Wedi cael cydsyniad a chymeradwyaeth Cymanfa New York, ordeiniwyd Dr. Davies yn Danville, Ebrill 2, 1848. Holwyd ef yn y drefn arferol gan y Parch. John Davies, a rhoddwyd y cyngor gan Dr. Rowlands, seiliedig ar Actau 20: 24.

3. Yn y Gymanfa uchod penderfynwyd fod y brodyr John G. Jones, Allentown; a Thomas Phillips, Pottsville, i gael eu hordeinio yn y Gymanfa Gorfforedig yn New York, yr hon oedd i'w chynal Mehefin 10-13, 1848. Yn y gwasanaeth hwn darllenodd a gweddiodd y Parchn. Joseph E. Davies; holi eu hegwyddorion, Thos. T. Evans; a'r cyngor gan Dr. Rowlands, seiliedig ar Colossiaid 1: 28.

4. Yn Nghymanfa Harrison, 1850, nodwyd ar y Parch. Thos. Phillips i gyflwyno achos y brawd William Williams o Philadelphia i sylw y Gymanfa Gorfforedig yn Remsen, gyda golwg ar ei ddodi yn ei swydd weinidogaethol. Nid ydym wedi gweled dim cofnodion yn dangos fod y Gymanfa hono wedi cydsynio a'r cais, nac yn gwybod dim pellach am dano.

5. Y Parch. Thomas James, Baltimore. Yn Nghymanfa y Dosbarth Gogleddol, yn Danville, Hydref 25-28 1855, yr ordeiniwyd y brawd hwn i gyflawn waith y weinidogaeth, a chymerwyd rhan yn y gwasanaeth ar yr achlysur fel y canlyn: Y gwasanaeth arweiniol, y Parch. Thos. T. Evans, Floyd; Natur Eglwys, y Parch. Howell Powell, Cincinnati; holi ei egwyddorion, Parch. J. Hughes, Gilbertsville; cyngor y Parch. Thos. Williams, Remsen.

6. Y Parch. Edward J. Hughes, Slate Hill. Yn Nghymanfa Pottsville, 1856, yr ordeiniwyd Mr. Hughes. Dechreuwyd y gwasanaeth gan y Parch. R. Williams, Minersville; arholi yn brofiadol ac athrawiaethol, y Parch. Thos. James,

Baltimore, am fod Dr. Rowlands yn absenol; traddodwyd ar Natur Eglwys gan Dr. Roberts, New York; a rhoddwyd y cyngor hefyd gan yr un.

7. Y Parch. Evan F. Jones, Slatington. Yn Nghymanfa 1857, yr hon a gynaliwyd yn Danville, neillduwyd Mr. Jones i gyflawn waith y weinidogaeth. Dechreuwyd y gwasanaeth gan Dr. Rowlands, ac arholwyd ef am ei egwyddorion gan Dr. Roberts; traddodwyd yr araeth ar Natur Eglwys gan Dr. Rowlands, seiliedig ar Actau 2: 41, a'r cyngor gan Dr. Roberts oddiar 1 Cor. 9: 16.

(h) Achosion o Ddysgyblaeth.

Mae hon yn ochr dywyll i'r gyfres hon o Gymanfaoedd, ond mae tywyllwch yn wasanaethgar i ddangos gwerth goleuni. "Canys rhaid yw bod hefyd heresiau yn eich mysg, fel y byddo y rhai cymeradwy yn eglur yn eich mysg." Yn Nghymanfa Minersville, 1846, ataliwyd y brawd W. Williams o'r lle hwnw i weinyddu yn ei swydd fel blaenor, am weithio ar ddydd yr Arglwydd.

Yn Nghymanfa Harrison, 1850, darllenwyd llythyr o Efrog Newydd, yn achos y brawd Griffith Davies, Slatington, a diarddelwyd ef fel pregethwr. Yn y Gymanfa ganlynol, yr hon oedd yn Carbondale, dygwyd cyhuddiad yn ei erbyn ei fod yn gwrthod ymostwng i benderfyniad Cymanfa Gorfforedig New York ar ei achos. Cydnabu yntau wirionedd y cyhuddiad, a phenderfynwyd nas gellid ei ystyried mwy yn bregethwr na swyddog o Gyfundeb y Methodistiaid.

Yn Nghymanfa Danville, 1853, cadarnhawyd gweithrediadau eglwys Minersville yn niarddeliad David Howells o bob undeb eglwysig.

Yn Nghymanfa St. Clair, 1854, wedi ymdrin a sefyllfa yr achos yn y lle, penderfynwyd fod ymddygiad y brawd John Adams yn ymatal oddiwrth yr ordinhad, yn anmhriodol yn y cyfryw amgylchiad. Derbyniwyd y blaid ymadawedig yn ol gan y Gymanfa ar yr amod iddynt gladdu pob peth, a bod pwy bynag a godai achos yr ymrafael i sylw drachefn i'w roddi dan ddysgyblaeth.

Yn Nghymanfa Pottsville, 1856, bu sylw ar achos Mr. Benjamin Jones, diweddar o Gymru, yr hwn a fu am dymor yn Danville. Darllenwyd llythyr oddiwrth y Parch. Henry Rees yn hysbysu nad oedd ond ymgeisydd heb ei dderbyn i undeb a'r Gymanfa, ac ymddangosai i'r brodyr nad oedd wedi ymddwyn mor ddoeth ag y gallasai ar ei ddyfodiad i'r wlad; er hyny mai gwell oedd iddynt fod yn dyner o hono, a rhoddi mantais iddo weithio ei ffordd yn nerth ei gleddyf; a rhoddwyd ar y Parch. W. Roberts, D. D., Efrog Newydd, i ysgrifenu llythyr ato er dangos iddo nad oedd wedi ymddwyn fel y dylasai. Ond yn Nghymanfa Danville, 1857, bu sylw pellach ar ei achos, a rhoddwyd sicrwydd digonol ei fod yn aelod o'r Cyfarfod Misol yn yr 'Hen Wlad, ac wedi ei arholi derbyniwyd ef yn aelod o'r Gymanfa y pryd hwnw. Ond yn y Gymanfa y flwyddyn ganlynol mae cyfeillion Danville yn dwyn cyhuddiadau yn ei erbyn: (a) Twyllo yr eglwys, ac ymddwyn yn afreolaidd yn ei fynediad i New York. (b) Ceisio codi arian o'r Gymdeithas Genadol heb gydsyniad, ac yn gwbl groes i farn yr eglwys. (c) Ofnid ei fod yn gwneyd ymgais at godi plaid. Felly, ar sail y cyhuddiadau hyn, ystyrid ei fod wedi tori pob cysylltiad rhyngddo a Chyfundeb y Methodistiaid. Yn yr un Gymanfa bu sylw ar achos y Parch. R. Williams a John Davies, Minersville, a chadarnhawyd yr hyn a wnaeth y Cyfarfod Dosbarth ar y mater, a phenderfynwyd eu gadael fel y maent hyd y Gymanfa nesaf, a chymellwyd hwynt i ddyfod i hono.

(i) Materion Cyfeillachau.

Yn gyffredin cynelid dwy gyfeillach yn nglyn â'r Cymanfaoedd hyn, un i ymdrin a sefyllfa yr achos yn y lle, a'r llall i ymdrin a mater o athrawiaeth neu ymarferiad; ac mae yr ymdriniaeth â'r materion hyn yn flasus a gwerthfawr, ac yn ddangosiad o fywyd crefyddol yr eglwysi a'r gweinidogion yn y cyfnod hwn. 1847, yn Carbondale. Daioni Duw tuag at ddynion colledig mewn creadigaeth, rhagluniaeth a gras. Yn St. Clair, Undeb yr eglwys, ei hundeb ysbrydol â'i phen, ac â'u gilydd, o ran ei haelodau ac o ran ei gweithrediadau allanol.

1848, yn Danville, Natur gynyddol gwir grefydd, yn nghyd ag anogaeth i ddirwest, fel un o ffrwythau yr Ysbryd, a nodwedd gwir grefydd. Yn Pottsville, Crefydd ymarferol, Ieuo yn anghymarus, Dyledswydd deuluaidd, a Magu ein plant yn addysg ac athrawiaeth yr Arglwydd, yn ol ein hymrwymiad i eglwys Dduw wrth eu bedyddio.

1850, yn Harrison, Cariad brawdol, ei darddiad, ei wrthrychau, a'i ffrwythau; ac anogaeth i feithrin y pethau sydd yn tueddu i'w gynyddu, ac i cchel y pethau sydd a thuedd i'w adfeilio a'i leihau.

1851, yn Carbondale, Dyledswyddau teuluaidd, gweddio, addysgu, llywodraethu, canu mawl. Profwyd hwy o air Duw, a dygwyd engreifftiau i'w hegluro—Abraham, Joshua, Dafydd, Daniel, Timotheus. Hefyd, fod pob penteulu yn broffwyd, offeiriad a brenin y teulu, ac yn gyfrifol am yr oll o'u teuluoedd. Yn Danville, Edifeirwch, ei darddiad, ei natur, a'i effeithiau. 1852, Crefydd ysbrydol, yr angenrheidrwydd am dani, yn nghyd a'i ffrwythau amrywiol. Summit Hill, Y pechod o esgeuluso moddion gras. Yn Pottsville, Anufudd-dod aelodau eglwysig gyda gwahanol ranau yr achos. Minersville, Crefydd ymarferol.

1853, Danville, ymdriniwyd yn oleu, cadarn ac ysgrythyrol ar yr Angenrheidrwydd am undeb a chydweithrediad gyda'r achos yn ei holl ranau. Dylem synied yr un peth mewn athrawiaeth, a chydweithio yn ol yr un rheol mewn dysgyblaeth. Cymanfa 1854, Crefydd brofiadol. Cymanfa 1855, yn Danville, Y pechod o esgeuluso ein cydgynulliad ein hunain. Yn Scranton, Yr angenrheidrwydd am yr Ysbryd Glan—gweinidogaeth yr efengyl yn weinidogaeth yr Ysbryd. Mai nid priodoledd ydyw yr Ysbryd, ond person, a bod llawn cymaint o'i angen arnom ni ag ar Grist a'i apostolion. Mai yr amser mae yr efengyl fwyaf yn ei gogoniant yw pan fyddo yr Ysbryd gyda'r weinidogaeth. Yn Carbondale, Gostyngeiddrwydd.

Dyma fraslun o nodwedd y cyfarfodydd hyn; ac i'r enaid duwiolfrydig yr oedd yr ymdriniaeth a'r materion uchod yn fwyd blasus i'r rhai oedd yn dirnad pethau ysbrydol.

(j) Llyfr Hymnau.

Yn y Gymanfa hon, fel yr ydym yn tybied, y cychwynodd y symudiad at gael Llyfr Hymnau at wasanaeth y Cyfundeb. Cyhoeddwyd un llyfr bychan yn New York, yn y flwyddyn 1836, ond ni ddygwyddodd i ni weled copi o'r gwaith hwnw. Cyhoeddwyd hefyd ail argraffiad o lyfr y Parch. Morris Davies, Llanfyllin, yn Utica, yn 1846, ond yr oedd y cyflenwad hwnw wedi ei ddyhysbyddu er's talm, a llawer o'n cynulleidfaoedd yn amddifad o unrhyw ddarpariaeth at wneyd y rhan hon o wasanaeth y cysegr yn ogoneddus, oddieithr y casgliadau yr oedd ymfudwyr wedi dygwydd eu dwyn gyda hwynt o'r Hen Wlad.

Yn y Gymanfa Gorfforedig Dalaethol a gynaliwyd yn Danville, 1853, dygwyd y mater hwn i sylw, a'r angenrheidrwydd o gael Casgliad Americanaidd at wasanaeth ein heglwysi. Penderfynwyd nodi pwyllgor o'r gwahanol Dalaethau i ymholi pa faint o awydd a pharodrwydd oedd yn yr eglwysi i roddi cefnogaeth i anturiaeth o'r fath. Y Parch. John Adams, Pottsville; John R. Williams, Scranton; ac E. F. Jones, Slatington, dros Pennsylvania; y Parch. Richard Isaac, Mri. John Edwards ac Evan J. Evans dros New York; y Parchn. Howell Powell, Edward Morris a David Harries dros Ohio; y Parch. Rees Evans, a Mri. E. B. Williams a H. D. Foulkes dros Wisconsin.

Drachefn, yn Nghymanfa Pottsville, 1854, cymeradwywyd y cynllun a gynygiwyd i sylw yn y Gymanfa o'r blaen, ac ychwanegwyd fod yr Emynau ar Ddirwest, y Gymdeithas Genadol, Achos y Beiblau, Addoliad Teuluaidd, i fod yn gyfansoddiadau newyddion; a nodwyd Mri. Samuel Williams, Scranton, a John Moses, Carbondale, y Parchn. Robert Williams ac E. F. Jones i arolygu y cyfansoddiadau; a Mri. John Adams, W. H. Davies a J. R. Davies yn fwrdd o gyngor i ohebu a'r bwrdd gweithredol yn New York i arolygu y cyhoeddiad. Dyma ddechreuad y cymelliad i Dr. Rowlands i gyhoeddi y llyfr. Daeth yr argraffiad o'r wasg yn 1855. Mae y llyfr yn cynwys dros fil o emynau, ac o ran byrdra, cynwys, amrywiaeth, a threfn ei faterion, mae yn tra rhagori ar un llyfr a gyhoeddwyd at wasanaeth y T. C.

# PENOD IV.

## Y GYMANFA DALAETHOL—YR AIL GYFRES, 1859-1896.

WRTH adolygu yr ail gyfres o Gymanfaoedd y Dalaeth, mae amryw bethau yn taro ein hystyriaethau. (a) Y gwahaniaeth sydd rhyngddi a'r gyfres flaenorol. O angenrheidrwydd, mae llawer o unffurfiaeth annyddorol i'r lluaws yn hanes cyfarfodydd o'r fath, eto i'r dosbarth meddylgar maent yn ddyddorol ac addysgiadol, fel maent yn egluro sefyllfa yr achos, yn nghyd ag agweddau a nodweddau meddyliol y brodyr oedd yn llywio yr achos yn y naill genedlaeth a'r llall. Mae yn amlwg fod y dwylaw fu yn arwain yr achos yn ysbaid blynyddoedd y gyfres gyntaf o'r Cymanfaoedd Corfforedig, wedi myned o'r neilldu. Mae y Parch. Robert Williams wedi marw, a'r Parch. John Davies wedi myned yn hen a methedig; er ei fod eto am rai blynyddoedd yn dylyn y Cymanfaoedd, nid yw ei law wrth y llyw fel cynt. Mae y Parch. Joseph E. Davies wedi myned i Ohio, a'r Parch. Thomas Phillips i Wisconsin, a'r brawd o Allentown, yr ydym yn colli golwg arno yntau yn hollol. Mae yr undeb cydymdeimladol â New York, fel y manna gynt, wedi peidio, er nas gellir dweyd fod yr Israel Fethodistaidd wedi cyraedd gwlad yr addewid. Yn arbenig nodweddir y Cymanfaoedd hyn gan absenoldeb Dr. Rowlands, yr hwn fu yn llenwi lle mor fawr yn hanes y Cymanfaoedd cyntaf.

Dwylaw newydd sydd wrth y llyw yn awr. Tra mae dynion yn marw, mae dynoliaeth yn byw; ac er fod gweision Iesu yn cael eu symud gan law rhagluniaeth, neu weinidogaeth angeu, mae yr achos yn byw ac yn myned yn ei flaen.

Mae y brodyr sydd yn dyfod ger ein bron yn y gyfres hon yn ddynion byw, yn ymdeimlo a'u cyfrifoldeb, ac yn amcanu gosod yr achos mewn gwedd newydd i gyfarfod a gwahanol agweddau cymdeithas ddynol, a chynydd yr oes mewn gwahanol gyfeiriadau. Erbyn hyn mae y rhan fwyaf o'r ail ddosbarth o weinidogion wedi myned i ffordd yr holl ddaear, ac mae yn disgyn i'n rhan ni i adolygu eu gwaith.

(b) Erbyn hyn mae y Cyfarfodydd Dosbarthiadol wedi dyfod yn allu o fewn eu cylchoedd priodol i gyflawni yr hyn oedd yn cael ei wneyd gan y Cymanfaoedd cyntaf—arolygiaeth yr achos yn y gwahanol leoedd, derbyn blaenoriaid, yn nghyd ag achosion o ddysgyblaeth &c. O ganlyniad, mae y Cymanfaoedd yn cael hamdden i arolygu amgylchiadau cyffredinol yr achos yn y cyfnod hwn. Yn sicr, mae yn amlwg fod yma lawer o welliantau, mewn trefn a rheoleidd-dra, i ddwyn yr achos yn ei flaen. Organization heb reolau i fyw wrthynt, oedd y Gymanfa wedi bod hyd yma; ond bellach, mae yn cael ei gosod dan ddeddfau sefydlog. Yr un pryd, mae y symlrwydd, y duwiolfrydedd, yr "eneiniad oddiwrth y Sanctaidd hwnw" oedd yn nodweddu y Cymanfaoedd cyntaf, wedi ei golli i fesur o'r gyfres hon. Er gwyched yr ail deml, nid oedd goleuni y Secinah yn llewyrchu yn hono. Tra mae ffurfiau a rheolau yn dda, eto os nad ydyw "Ysbryd y bywyd" ynddynt, maent yn myned yn gydmarol ddiwerth.

(c) Mae gwerth mwyaf yr hanes i ni, bellach, yn y goleu ydym yn ei gael ar sefyllfa yr achos yn y cyfnod hwn—gofal a gwyliadwriaeth y brodyr oedd ar y mur yn ei ddangos am achos y Gwaredwr, a'u gwaith yn trefnu mesurau oedd yn ymddangos iddynt y rhai tebycaf i sicrhau ei lwyddiant.

Y brodyr yn y weinidogaeth, o fewn cylch y Cymanfa, ar ddechreu y cyfnod hwn oedd y rhai canlynol: Y Parchn. Edward J. Hughes, St. Clair; E. F. Jones, Slatington; D. J. Morgans, Pottsville; Thomas J. Phillips a John Moses, Belleveu; Thos. R. Jones ac Ebenezer T. Jones.

Yn bresenol, dodwn ger bron restr o'r gyfres hon o Gymanfaoedd, fel y gallo y darllenydd weled yr amseriad a'r lle y cynaliwyd pob un, yn nghyd a'r Llywydd a'r Ysgrifenydd.

1859, Mai 20-22, St. Clair. Parch. E. J. Hughes. Parch. John Moses.

1859, Hyd. 21-23, Bellevue. Parch. E. F. Jones. Parch. John Moses.

1860, Mai 12-14, Slate Hill. Parch. E. J. Hughes. Parch. D. J. Morgans.

1860, Medi 29, 30, Pittston. Parch. E. J. Hughes. Parch. D. J. Morgans.

1861, Mai 24-26, Minersville. Parch. E J. Hughes. Parch. Thos. J. Phillips.

1861, Medi 28-30, Scranton. Parch. E. J. Hughes. Parch. Thos. J. Phillips.

1862, Mai 23-25, Slatington. Parch. Thos. R. Jones. Parch. E. F. Jones.

1862, Hyd. 17-19, Bellevue. Parch. Thos. J. Phillips. Parch. E. F. Jones.

1863, Mai 23, 24, Pottsville. Parch. Ebenezer T. Jones. E. J. Hughes.

1863, Medi 25-27, Pittston. Parch. John Moses. Parch. E. J. Hughes.

1864, Mai 1, 2, Danville. Parch. J. R. Williams. Parch. E. J. Hughes.

1864, Tach. 15, 16, Scranton. Parch. J. R. Williams, Parch. E. J. Hughes.

1865, Mai 27, 28, St. Clair, Parch. D. C. Evans. Parch. E. J. Hughes.

1865, Tach. 11, 12, Pittston. Parch. D. C. Evans. Parch. E. J. Hughes.

1866, Mai 19-21, West Bangor. Parch. J. E. Davies.. Parch. E. J. Hughes.

1866, Hyd. 13, 14, Hyde Park. Parch. J. E. Davies. Parch. E. J. Hughes.

1867, Mai 17, 18, Minersville. Parch. J. L. Jeffreys. Parch. E. J. Hughes.

1867, Hyd. 11, 12, Wilkesbarre. Parch. Thos. J. Phillips. Parch. E. J. Hughes.

1868, Mai 23, 24, Slatington. Parch. E. F. Jones. Parch. E. J. Hughes.

1868, Hyd. 9, 10, Pittston. Parch. J. L. Jeffreys. Parch. E. J. Hughes.

1869, Mai 13, 14, Pottsville. Parch. J. L. Jeffreys. Parch. E. J. Hughes.

1869, Hyd. 22-25, Wilkesbarre. Parch. J. L. Jeffreys. Parch. E. J. Hughes.

1870, Mai 13-16, St. Clair. Parch. J. L. Jeffreys. Parch. E. J. Hughes.

1870, Hyd. 21, 22, Plymouth. Parch. J. L. Jeffreys. Parch. E. J. Hughes.

1871, Medi 16, 17, Bellevue. Parch. W. Roberts, D. D. Parch. E. F. Jones.

1872, Medi 28, 29, West Bangor. Parch. W. Roberts, D. D. Parch. E. F. Jones.

1873, Ebrill 25-27, Hyde Park. Parch. E. F. Jones. Parch. M. A. Ellis.

1873, Hyd. 10-12, Shenandoah. Parch. E. F. Jones. Parch. M. A. Ellis.

1874, Ebrill 24, 26, Wilkesbarre. Parch. M. A. Ellis. Parch. R. V. Griffiths.

1874, Hyd. 22-25, Minersville. Parch. M. A. Ellis. Parch. R. V. Griffiths.

1875, Mai 14-16, Bangor. Parch. M. A. Ellis. Parch. Thos. J. Phillips.

1875, Medi 28, Hyde Park. Parch. R. H. Evans. Parch. B. D. Davies.

1876, Mai 20, 21, Slatington, Parch. J. E. Davies. Parch. B. D. Davies.

1876, Hyd. 20-22, Plymouth. Parch. J. E. Davies. Parch. B. D. Davies.

1877, Mai 18-20, Shenandoah. Parch. E. J. Hughes. Parch. J. E. Davies.

1877, Rhag. 21-23, Bellevue. Parch. E. J. Hughes. Parch. J. E. Davies.

1878, Ebrill 26-28, Pottsville. Parch. E. J. Hughes. Parch. J. E. Davies.

1879, Ebrill 18-20, Carbondale. Parch. J. E. Davies. Parch. Thos. B. Thomas.

1879, Hyd. 26-28, Wilkesbarre. Parch. J. E. Davies. Parch. Thos. B. Thomas.

1880, Ebrill 16, 17, Minersville. Parch. J. E. Davies. Parch. Thos. B. Thomas.

1880, Hyd. 22-24, Taylor. Parch. W. H. Williams. Parch. Thos. B. Thomas.

1881, Mai 13-15, Hyde Park. Parch. Thos. B. Thomas. Parch. E. J. Hughes.

1881, Hyd. 21-23, Plymouth. Parch. Thos. B. Thomas. Parch. E. J. Hughes.

1882, Hyd. 13-15, Wilkesbarre. Parch. Thos. B. Thomas. Parch. E. J. Hughes.

1883, Mai 27-28, Carbondale. Parch. W. D. Jenkins. Parch. W. E. Morgans.

1883, Hyd. 19-21, Slatington. Parch. Thos. J. Phillips. Parch. W. E. Morans.

1884, Mai 23-25, Bellevue. Parch. W. D. Jenkins. Parch. W. E. Morgans.

1884, Hyd. 18, 19, Slatington. Parch. E. J. Hughes. Parch. W. D. Jenkins.

1885, Ebrill 25, 26, Hyde Park. Parch. Hugh Davies. Parch. W. D. Jenkins.

1885, Hyd. 17, 18, Minersville. Parch. W. H. Williams. Parch. W. E. Morgans.

1886, Mai 8, 9, Wilkesbarre. Parch. J. T. Morris. Parch. W. D. Jenkins.

1886, Hyd. 16, 17, Shenandoah, Parch. R. S. Thomas. Parch. W. D. Jenkins.

1887, Mai 13-15, Plymouth. Parch. W. E. Morgan. Parch. E. W. Jones.

1887, Hyd. 21, 22, Slatington. Parch. W. E. Morgan. Parch. E. W. Jones.

1888, Mai 18-20, Bellevue, Parch. W. E. Morgan. Parch. E. W. Jones.

1888, Hyd. 26-28, Bangor. Parch. W. E. Morgan. Parch. E. W. Jones.

1889, Mai 17, 18, Ashley. Parch. J. T. Morris. Parch. E. W. Jones.

1889, Hyd. 25-27, Slatington. Parch. J. T. Morris. Parch. E. W. Jones.

1890, Mai 2-4, Plymouth. Parch. J. T. Morris. Parch. E. W. Jones.

1890, Hyd. 24-26, West Bangor. Parch. J. T. Morris. Parch. E. W. Jones.

1891, Ebrill 17-19, Hyde Park. Parch. R. F. Jones. Parch. R. E. Williams.

1891, Hyd. 16-18, Bangor. Parch. W. H. Williams. Parch. R. E. Williams.

1892, Mai 13-15, Olyphant. Parch. Abram Edmunds. Parch. R. E. Williams.

1892, Hyd. 14-16, Slatington. Parch. Hugh Hughes. Parch. R. E. Williams.

1893, Mai 18-21, Wilkesbarre. Parch. Hugh Hughes. Parch. R. E. Williams.

1893, Hyd. 13-15, Wind Gap. Parch. Hugh Hughes. Parch. R. E. Williams.

1894, Mai 18-20, Bellevue. Parch. Hugh Hughes. Parch. R. E. Williams.

1894, Hyd. 19-21, Philadelphia. Parch. J. T. Morris. Parch. R. E. Williams.

1895, Mai 17-19, Plymouth. Parch. Hugh Davies. Parch. H. F. Williams.

1895, Hyd. 25-27, Bangor. Parch. Hugh Davies. Parch. H. F. Williams.

1896, Mai 22-24, Wilkesbarre. Parch. Hugh Davies. Parch. H. F. Williams.

1896, Hyd. 23-25, Slatington. Parch. J. W. Morris. Parch. H. F. Williams.

Wele y gyfres yn awr ger bron. Traddodwyd, ar gyfartaledd, yn mhob un, o 10 i 12 o bregethau. Mae syniad y lluaws am bregethu mewn Cymanfa yn isel ac arwynebol iawn. Edrychir arni yn gyffelyb i'r Eisteddfod, yn gyfleusdra i'r pregethwyr i ymryson pregethu, ond ni a obeithiwn mai nid felly mae y pregethwyr yn edrych arni, ond fel cyfleusdra gwerthfawr i egluro yr efengyl, a gosod Crist ger bron meddyliau dynion, a'u cymell i gredu ynddo; ac mae cyfrifoldeb mawr yn aros eto pa fodd yr ymddygir ynddynt.

Ni a edrychwn yn awr ar rai o'r prif faterion cysylltiedig â llwyddiant yr achos y bu y brodyr yn teimlo dyddordeb ynddynt, ac yn llunio mesurau er eu dwyn oddiamgylch i sicrhau llwyddiant ac adeiladaeth yr eglwysi.

### I.—Y Gymanfa.

Teimlid gan y brodyr oedd yn llywio ac yn arolygu yr achos yn y cyfnod hwn, fod eisieu gosod y Gymanfa fel prif allu a llys uwchaf yr enwad, i benderfynu pob achosion o bwys ar safle mwy trefnus a rheolaidd nag yr ydoedd wedi bod hyd yma. Yn ol yr hen drefn, yr oedd y Llywydd a'r Ysgrifenydd yn cael eu dewis am y tro; ond dechreuwyd y gyfres hon trwy ddewis y ddau i wasanaethu am flwyddyn. Yn Nghymanfa Slatington cymerwyd sylw o'r drefn bresenol o ddewis swyddogion y Gymanfa, a theimlid fod angen cyfnewidiad, oblegid fod ysbryd eiddigus yn dyfod i'r golwg yn y dewisiad, a bod yn rhaid fod un o bob Dosbarth, yn lle ymofyn am y dynion cymwysaf i wneyd y gwaith. Y drefn arferedig yn awr oedd i Fwrdd y Diaconiaid nodi personau i'w cynyg i gymeradwyaeth y Gymanfa, ac i gyfarfod yr anfoddlonrwydd a deimlid yn nglyn a'r mater, penderfynwyd i'r ddau Gyfarfod Dosbarth bob yn ail i nodi personau, a gadael y Gymanfa at ei rhyddid i'w cymeradwyo neu beidio, fel y gwelai yn oreu. Ac fel eglurhad paham yr oeddid yn anfoddlawn i waith y diaconiaid, sylwyd fod angen am "gynrychioliad mwy cyfartal o'r eglwysi yn ein Cymanfaoedd." Hefyd, o herwydd anmharodrwydd yr eglwysi i benodi materion cyfeillachau, penderfynwyd fod y Gymanfa yn cymeryd hyny i'w llaw ei hun o hyn allan.

Yn Nghymanfa Bellevue, 1862, yn nglyn a'r un mater, mae sylw yn cael ei alw at y cwestiwn, Pa fodd i gael pleidleisiau mwy cyfartal yn ein Cymanfaoedd. Dygwyd cynllun i sylw y Gymanfa oddiwrth y Dosbarth Deheuol i'r perwyl, ond wedi sylwi peth ar hwnw gohiriwyd y mater am fod cynygiad arall ger bron unwaith eto i gael un Gymanfa yn y flwyddyn yn lle dwy. "Ofnid mai dirywiad crefydd yn yr eglwysi oedd yr achos o hyny," a'r pryd hwnw penderfynwyd i gadw yn mlaen yn ol y dull presenol.

Yn Nghymanfa Pittston, 1863, bu sylw drachefn ar y cynygiad i leihau nifer y Cymanfaoedd, a phenderfynwyd ei droi yn ol i'r Cyfarfodydd Dosbarthiadol, ac iddynt hwythau ei droi i'r eglwysi, fel y gallo pob eglwys o fewn cylch y Gymanfa bleidleisio ar y cwestiwn. Yn Nghymanfa Danville, 1864, daeth pleidleisiau yr eglwysi trwy y Cyfarfodydd Dosbarthiadol, yn ffafriol i barhau at yr hen ddull o gynal dwy yn y flwyddyn. Fel hyn y penderfynwyd nifer ein Cymanfaoedd.

Yn Nghymanfa Plymouth, 1870, galwyd sylw at yr angenrheidrwydd am drefn neu ffurf benodol o gynal cyfarfodydd y Gymanfa, "fel na byddo angen gwneyd eithriadau fel yn bresenol." Sicrhâi rhai o'r brodyr fod y ffurf bresenol yn benderfynedig, ac y dylid cadw ati, ond mae eraill yn dadleu fod y ffurf wedi ei newid lawer gwaith, ac y dylid trefnu nifer ac amser cyfarfodydd y Gymanfa.

Yn Nghymanfa Hyde Park, 1875, nodwyd pwyllgor i dynu allan reolau i'r Gymanfa weithredu wrthynt—y Parchn. William Roberts, D. D., E. J. Hughes a Mr. Thos. W. Morgan. Ond yn y Gymanfa ddylynol, yn Shenandoah, rhyddhawyd y pwyllgor hwn am nad oedd wedi gweithredu, mae yn debyg, a nodwyd un arall yn ei le—y Parchn. Joseph E. Davies, D. D., R. H. Evans a Mr. Daniel Moses.

Yn Nghymanfa Bellevue, 1877, mae y pwyllgor hwn yn gwneyd eu hadroddiad, ac yn cynyg llaw-reolau tuag at gynal y Gymanfa, y rhai a gymeradwywyd ac a dderbyn-

iwyd; a'u bod i gael eu darllen yn y Gymanfa nesaf a'u cymeradwyo. Yn Nghymanfa Pottsville, 1878, darllenwyd a chymeradwywyd y rheolau, a phenderfynwyd eu bod i ddyfod i weithrediad yn y Gymanfa nesaf. Mae y rheolau yn wyth mewn nifer. Dodwn yma dalfyriad byr o honynt, fel y gallo y darllenydd weled wrth ba reolau mae y Gymanfa yn gweithredu o hyny hyd yn awr.

I. Fod y Gymanfa hon yn meddu yr un awdurdod a Chymanfaoedd Chwarterol Cymru.

II. Aelodau y Gymanfa ydynt swyddogion eglwysig o fewn y Corff, yn weinidogion, pregethwyr a diaconiaid.

III. Fod y Gymanfa i gael ei chynal ddwywaith yn y flwyddyn, bob yn ail Ddosbarth, y trydydd Sabboth yn Ebrill, a'r pedwerydd yn Hydref.

IV. Fod yn perthyn i'r Gymanfa fwrw golwg ar yr achos yn ei amgylchiadau allanol, yn gystal a thufewnol.

V. Ei swyddogion—Llywydd, Ysgrifenydd a Thrysorydd.

VI. Fod y Llywydd a'r Ysgrifenydd i aros yn eu swydd ddwy flynedd.

VII. Fod pwyllgor o dri yn perthyn i'r Gymanfa i edrych dros lythyrau a materion personol a ddichon ddyfod dan sylw y Gymanfa, a fyddant yn deilwng a'i peidio.

VIII. Nad oes neb i gael ei gynyg i'w ordeinio ond trwy y Cyfarfodydd Dosbarth.

Wedi hyny daw trefn y cyfarfodydd, a chynllun ordeiniad: Fod tri o bersonau—dau weinidog a diacon—yn cael eu nodi i arholi yr ymgeisydd yn ddirgel, mewn gwybodaeth gyffredinol, hanesiaeth eglwysig, hanes y Methodistiaid, hanesiaeth Feiblaidd, a duwinyddiaeth, &c.

Y neb a ewyllysio wybodaeth fanylach am drefn y Gymanfa, ymgyngored a'r Rheolau hyn, y rhai a geir yn niwedd yr hen lyfr.

Bellach, wedi gosod y peiriant mewn trefn, dysgwylir iddo wneyd gwaith; a'r hyn sydd yn dyfod dan ei sylw gyntaf yw—

(a) Y drefn o godi pregethwyr.—Cyfodwyd llawer o frodyr yn y weinidogaeth dan nawdd y Cymanfaoedd cyntaf,

ond nid yw yn ymddangos fod ganddynt un reol sefydlog i weithredu wrthi, am hyny nid annyddorol fyddai edrych ar y gwahanol symudiadau a arweiniodd i ffurfiad a dewisiad y Llaw-Reolau sydd mewn arferiad yn ein mysg yn bresenol. Y drefn arferol, yn y dyddiau gynt, oedd arholi yr ymgeisydd yn gyhoeddus ddydd y Gymanfa, yn ngwahanol gangenau duwinyddiaeth Feiblaidd yn benaf. Nid oedd yr ymgeisydd yn gwybod dim yn mlaenllaw am y llwybr y bwriadai yr arholwr ei gymeryd, na, hwyrach, wedi ei weled hyd nes y byddai yn sefyll o'i flaen. Weithiau, byddai yntau yn defnyddio y cyfleusdra i ddangos ei fedr mewn cwestiynau cywrain, yn hytrach na buddiol a hanfodol, er taflu gwr ieuanc i ddyryswch. Ac yr oedd gwneuthur hyn o flaen canoedd o bobl yn brofedigaeth arteithiol i lawer un o feddwl a thymerau gwylaidd. Adwaenem ddau, yn neillduol, os yn bresenol, a arferent dori ar draws yr arholwr penodedig, os na byddai hwnw yn ddigon manwl i'w boddio hwy. Bid fyno, o dan yr oruchwyliaeth hono y derbyniwyd y gweinidogion hynaf sydd yn fyw yn awr i'r Gymanfa, a'u hordeinio hefyd. Beth bynag, mae y brodyr yn amcanu diwygio y drefn hon.

Yn Nghymanfa Minersville, 1861, anogwyd y Cyfarfodydd Dosbarthiadol i fabwysiadu rheol sefydlog gyda golwg ar godi pregethwyr ieuainc, yn nghyd a chael cynllun sefydlog ac unffurf i ordeinio. Sylwyd fod yn angenrheidiol cael safon i godi dynion ieuainc i'r weinidogaeth—safon iddynt i ddechreu, a safon pan yn cael eu derbyn i'r Gymanfa. Y cynygiad at welliant mewn safon y pryd hwnw, tebygol, oedd penodi arholwr, a phwnc i'r ymgeisydd, neu ymgeiswyr, i gael ei arholi ynddo, ac os deuai drwy yr arholiad hwn yn llwyddianus, ei fod i gael ei gyflwyno i sylw, a gwneyd darpariaeth ar gyfer ei ordeinio yn y Gymanfa.

Y cyntaf ddaeth dan y drefn hon, fel y tybiwn, oedd y Parch. Benjamin Davies. Yr arholwr oedd y Parch. E. F. Jones, yn cael ei gynorthwyo gan Mr. Evan Evans, Cymru Newydd, a chenadwr y Dosbarth Deheuol. Y pwnc ydoedd, "Y gyfatebiaeth sydd rhwng dyfodiad marwolaeth i'r byd

trwy Adda, a bywyd trwy Grist," seiliedig yn benaf ar Rhuf. 5: 12-21.

Yn Nghymanfa Shenandoah, 1873, mae pwyllgor o ddau yn cael eu penodi fel arholwyr ar y rhai a gynygir o bryd i bryd gan y Cyfarfodydd Dosbarth i'w derbyn i'r Gymanfa —y Parchn. E. F. Jones ac M. A. Ellis, i fod yn y swydd am ddwy flynedd. Nid ydym yn cael fod un pwyllgor perthynol i'r drefn hono wedi dylyn hwn, oblegid mae y Dosbarth Gogleddol yn cyflwyno i sylw Cymanfa Bangor, yn 1875, nifer o reolau i godi ac ordeinio pregethwyr, ac wedi eu darllen a'u hadolygu yn fanwl, a'u cysoni a'r Cyfansoddiad, "Penderfynwyd eu bod yn cael eu mabwysiadu fel rhai cydweddol â'r Cyfansoddiad."

Nid ydym wedi gweled y rheolau hyny, ond mae yn amlwg mai wrthynt yr oeddid yn gweithredu hyd nes mae y Dosbarth Gogleddol, unwaith eto, yn cynyg rheolau codi ac ordeinio pregethwyr i Gymanfa Minersville, 1885. Penodwyd pwyllgor i'w diwygio ac ychwanegu atynt—y Parchn. E. W. Jones, W. E. Morgans, Thos. J. Phillips, Mri. John T. Griffiths a John Phillips. Cymeradwywyd hwynt yn Nghymanfa Wilkesbarre, 1886, ac wrth y rhai hyn yr ydym yn symud yn mlaen yn mhob achos o'r fath, o hyny hyd yn awr. Penodwyd y Parch. W. E. Morgans i argraffu y Rheolau hyn.

(b) Pwy oedd i benderfynu dewisiad brodyr i gael eu hordeinio? Ymddengys mai mwyafrif aelodau yr eglwysi oedd wedi bod yn penderfynu y mater hwn. Ond yn Nghymanfa Minersville, 1861, dygwyd i sylw y cwestiwn, "Pa un hawddaf, ai gadael y mater yn llaw y diaconiaid, ynte mwyafrif pleidleisiau yr eglwysi oedd i benderfynu y mater hwn?" Trowyd y cwestiwn i sylw y Cyfarfodydd Dosbarthiadol, ac yn ol trefn, mae y mater hwn yn cael ei ddwyn i sylw yn nghyfarfod mis Mehefin. Yno cymerir pleidlais ar y brodyr sydd i'w symud yn mlaen, a threfnu mesurau priodol i'w dwyn o flaen yr eglwysi.

(c) Fod arholiad yr ymgeisydd i fod yn neillduedig, ac nid yn gyhoedd, yn ol yr hen drefn. Y pwyllgor arholiadol

i gael eu penodi gan y Gymanfa, ac i aros yn eu swydd am ddwy flynedd. Y rhai hyny i nodi maes yr arholiad i'r ymgeisydd o leiaf bedwar mis yn mlaenllaw, ac i roddi pob cyfarwyddyd iddo ddyfod yn hyddysg yn y maes.

(d) Ar ol 1873, yr ydys yn llithro i dderbyn i'r Gymanfa ac ordeinio yr un pryd; ac yn Nghymanfa Taylor ordeiniwyd yr arferiad yn rheol—"Penderfynwyd fod pob pregethwr a dderbynid i'r Gymanfa o hyn allan i gael ei ordeinio yr un pryd."

(e) Na bydd i'r Gymanfa ordeinio neb ond fydd o ddewisiad a neillduad y Cyfarfodydd Dosbarthiadol.

(f) Gyda golwg ar dderbyn pregethwyr o enwadau eraill. Yn Nghymanfa Hyde Park, 1873, "Penderfynwyd ein bod yn glynu wrth yr hen drefn o arholi pob pregethwr a ddaw atom, mewn athrawiaeth a llywodraeth eglwysig."

(g) Gan bwy mae hawl i bleidleisio yn newisiad swyddogion, a phenderfynu materion y Gymanfa?

Yn West Bangor, 1890, mewn atebiad i'r cwestiwn uchod, Penderfynwyd, (a) "Fod pob blaenor rheolaidd yn aelod o'r Gymanfa, ac fel y cyfryw yn meddu hawl i siarad ac i bleidleisio ar bob mater a ddygir ger bron, ond mai perthyn i'r cynrychiolydd yn unig mae dwyn materion o'r Cyfarfodydd Dosbarth i'r Gymanfa." (b) "Penderfynwyd fod pob pregethwr a dderbyniwyd yn aelod o'r Gymanfa trwy arholiad Cymanfaol yn parhau yn aelod o honi, er mai y rheol bresenol yw, mai trwy ordeiniad y derbynir brodyr yn aelodau o'r Gymanfa.

## Rheolau Neillduol.

(a) Yn Scranton, 1861, bu sylw ar frodyr wedi ymadael a ni, ac ymuno ag enwadau eraill ac ar yr un pryd yn ystyried eu hunain yn Fethodistiaid ac yn ymgeiswyr am y weinidogaeth. Dyma y penderfyniad ar y mater hwn, "Y dylent hysbysu i swyddogion yr eglwys maent wedi ymuno â hi, mai fel aelodau achlysurol y maent yno; ac i'r swyddogion hyny gyflwyno eu mater i sylw yr eglwys Fethodistaidd."

(b) Yn y gyfres hon o Gymanfaoedd, penderfynwyd "Fod pwnc yn cael ei nodi yn mhob Cymanfa, a brawd i bregethu arno yn y y Gymanfa ddylynol." Y cyntaf oedd "Dirwest;" a'r ail "Llenyddiaeth yr Hen Destament." Mabwysiadwyd y cynllun hwn tua 1865, a dylynwyd yn mlaen hyd 1885. Tra yr oedd yn perthyn i'r cynllun ei fanteision, yr oedd yn perthyn iddo ei anfanteision; ac erbyn hyn yr oedd ei ddaioni fel cynllun wedi gwisgo allan.

(c) Yn Nghymanfa Scranton, 1861, penderfynwyd "Y dylai y gweinidog cartrefol, lle byddo y Gymanfa neu unrhyw gyfarfod pregethu ynddo, fod yn bresenol gyda'r swyddogion, ac â llais ganddo yn nhrefniadau y cyfarfodydd cyhoeddus, os bydd y brodyr yn galw am ei wasanaeth.

(d) Trefnu cyhoeddiadau brodyr dyeithr trwy gylch y Gymanfa.

Yn Minersville, 1867, penderfynwyd "Fod y gorchwyl hwn yn perthyn yn arbenig i Ysgrifenydd y Gymanfa fel y cyfryw, a dymunid i frodyr dyeithr sylwi ar hyn."

Yn Nghymanfa Wilkesbarre, 1874, o herwydd rhyw amgylchiadau, daeth y mater i sylw drachefn, a phenderfynwyd "Ein bod yn ail gadarnhau ac yn cadw at yr hen reol gyda golwg ar hyn; nad oes neb i ymyraeth a threfnu cyhoeddiadau gwyr dyeithr o fewn cylch y Gymanfa hon ond yr Ysgrifenydd."

Yn 1883, yn Nghymanfa Slatington, daeth ger bron y Gymanfa drachefn fel cais o'r Gymanfa Gyffredinol, i nodi rhyw frawd, mewn undeb a'r Cymanfaoedd eraill, i drefnu cyhoeddiadau i frodyr dyeithr, a thrachefn nodwyd yr Ysgrifenydd, pwy bynag a fyddai. Ond yn Hyde Park, 1885, newidiwyd y rheol, a phenodwyd brawd o blith y diaconiaid i ymgymeryd a hyn o orchwyl. Y cyntaf oedd Mr. W. D. Davies o Hyde Park, ac os ydym yn cofio yn gywir, dylynwyd ef gan Mr. Edward Foulkes, Bangor.

(e) Cred-Lythyrau.

Yn Nghymanfa St. Clair, 1859, bu sylw ar yr angenrheidrwydd "Am i bregethwyr o'r Hen Wlad gael llythyrau cymeradwyaeth rheolaidd a swyddogol oddiwrth Gyfarfod

Misol y Sir y perthynant iddo; a bod i olygydd y "Drysorfa" gyhoeddi yr uchod, a rhoddi atalfa ar annhrefn a thrafferth.'

Yn Wilkesbarre, 1879, penderfynwyd "Ein bod yn ail gadarnhau y rheol o berthynas i ymwelwyr o'r Hen Wlad, sef nad ydym i drefnu cyhoeddiad na chaniatau i neb bregethu yn ein pwlpudau heb lythyrau cymeradwyaeth oddiwrth Gymanfa neu Gyfarfod Misol." Mae brodyr parchus, teilwng, bob amser yn gofalu am eu "Cred-lythyrau," gan eu cyflwyno i'r Gymanfa yn gyntaf peth; eto mae y penderfyniadau uchod yn dangos fod y brodyr wedi cael eu blino gan rai nad oeddynt felly.

(f) Hawliau Dysgyblaethol.

Yn 1876 yn Slatington, cyfododd ymofyniad, "A oes gan eglwys hawl i ddysgyblu swyddog eglwysig cyn cyflwyno ei achos yn gyntaf i'r Cyfarfod Dosbarth?" Mewn atebiad i hyn penderfynwyd "Ein bod yn ei ystyried yn ddealladwy fod yn rhaid i bob cyhuddiad yn erbyn unrhyw swyddog gael ei gyflwyno yn gyntaf i'r Cyfarfod Dosbarth y perthyn iddo, cyn rhoddi ei fater o flaen yr eglwys y byddo yn aelod o honi; ac oblegid hyny ein bod yn dymuno rhoddi ar ddeall fod pob dysgyblaeth a weinyddir arno yn groes i hyn yn ddirym." Ar yr un pryd y dylai swyddogion yr eglwys atal y swyddog fyddo dan gyhuddiadau o weithredu yn gyhoeddus hyd oni chaffer amser cyfaddas i ddwyn ei achos dan weinyddiaeth y llys rheolaidd. Mae arferiad y Cyfundeb yn hyn yn debyg i unwritten law yn y wladwriaeth.

Ar yr un pryd y ddeddf ysgrifenedig yw, "Fod gan bob eglwys hawl i drafod ei materion ei hunan, heb unrhyw ymyraeth oddiallan, os gall." Ac mae egwyddor y ddeddf yn cyraedd at ei swyddogion yn gystal a'i haelodau. Aelodaeth yw sylfaen y swydd.

(g) Gweinyddu Dysgyblaeth.

Yn 1866, yn Nghymanfa West Bangor, daeth cwestiwn i sylw o'r Cyfarfod Dosbarth Gogleddol fel y canlyn: "Yn llaw pwy mae dysgyblaeth eglwysig o ran y gweinyddiad o

honi?" I hyn yr atebwyd, mai yn llaw y swyddogion yn benaf. Pan ddelo cyhuddiad yn erbyn aelod, dyger ef i fwrdd y swyddogion, cynwysedig o fugail a diaconiaid yr eglwys y perthyn yr aelod iddi; yna eled dau o'r blaenoriaid i chwilio a yw y cyhuddiadau yn wir, ac os ceir eu bod felly, dyger y cyhuddedig ger bron y swyddogion enwedigol, os bydd yn foddlon i ddyfod. Os ceir ei fod yn euog, dadleued y bugail yr achos ger bron yr holl eglwys yn mhresenoldeb y cyhuddedig, os bydd yn dewis bod yn bresenol, gan ei ddangos yn ngoleuni y gwirionedd, a bydded pleidlais y mwyafrif o'r aelodau yn bresenol i benderfynu y cerydd."

(h) Pwy Sydd a Hawl i Bleidleisio?

Yn 1868, yn Slatington, cynygiwyd i sylw y dull goreu i bleidleisio wrth ddewis swyddogion eglwysig, sef "A ydyw yn rheolaidd i dderbyn pleidlais aelod ac yntau yn absenol?" Penderfynwyd yn nacaol, am ei fod yn fwy cydweddol â natur cymdeithas yn gyffredinol, ac yn fwy effeithiol er diogelu yr eglwys rhag cael ei thwyllo. Gwnaed sylw cynes a ffafriol ar hen ddull gonest a dirodres a arferid gan ein tadau, o fyned o'r naill du at frodyr o ymddiried a dewisiad, i amlygu eu meddwl. Awgrymwyd nad rhyw arwydd ffafriol iawn ydyw y bleidlais ddirgelaidd y safir drosti mor dŷn mewn manau, a chan rai personau. Yn hyn, fel yn mhob peth, dylem gofio "darparu pethau yn onest yn ngolwg pob dyn."

(i) Priodasau Anghyfreithlawn.

Mae y cwestiwn hwn mor bwysig gyda golwg ar foesoldeb a chrefydd, nas gall un enwad sydd yn proffesu Cristionogaeth fforddio bod yn anmhenderfynol yn ei gylch, ac mae yn briodol i'r darllenydd wybod beth mae Methodistiaeth wedi ei ddweyd ar y mater.

Yn 1853, yn Nghymanfa Remsen, gwnaed sylwadau ar natur a rhwymedigaethau y cyfamod priodasol, a phenderfynwyd "Nad ydym ni fel Cymanfa yn caniatau fod un achos cyfreithlon i wr ysgar a'i wraig, neu i wraig ysgar a'i gwr, ond godineb; a bod yn rhaid, yn nglyn a hyny, gael

rhyddhad gan y llywodraeth lle y byddo y cyfryw yn ddinasyddion." Nis gall neb, ni dybiwn, gamgymeryd ystyr y penderfyniad hwn.

Yn Nghymanfa Bellevue, 1859, bu sylw ar dderbyniad "Un yn aelod a fyddo yn briod â gwraig gwr arall," a dyma y penderfyniad, "Ein bod yn rhoddi aelodaeth i W. G. Thomas, Bellevue, ar yr amod ei fod yn myned yn ol at ei wraig, a byw gyda hi." Dichon y gwyddai y brodyr na buasai yn cydsynio a'u cais, ac felly nas gallai fod yn aelod, ond gwell o lawer fuasai datgan y ddeddf iddo ef a phawb o'i fath, yn ddifloesgni. "Nad oes i'r cyfryw ran yn nheyrnas Crist a Duw."

Yn Shenandoah, yn 1886, ymdriniwyd a'r mater uchod, a phenderfynwyd "Ein bod yn galw sylw Cyfarfodydd Dosbarth a swyddogion yr eglwysi at yr anmhriodoldeb fod rhai yn byw mewn priodasau anghyfreithlawn, ac ar yr un pryd yn aelodau eglwysig. Hefyd, ein bod yn anog i weinyddiad y rheol gyda golwg arnynt."

Yn Nghymanfa Plymouth, 1887, galwyd sylw y Cyfarfodydd Dosbarthiadol at yr un mater drachefn.

(j) Purdeb yr Areithfa Gysegredig.

Yn 1888, yn Nghymanfa Shenandoah, galwyd sylw at y mater mewn ffordd o benderfyniad a fabwysiadwyd gyda golwg ar "Ddyledswydd yr eglwysi i ofalu fod y rhai a dderbynir ganddynt i'n pwlpudau yn meddu cymeriad diargyhoedd." Edrychid ar y mater hwn yn bwysig iawn, a phenderfynwyd "Ein bod yn anog yr eglwysi i fod yn wyliadwrus." Yn Nghymanfa Plymouth, 1887, anfonwyd yr un mater fel cenadwri at y Cyfarfodydd Dosbarth yn y geiriau hyn: "Ar iddynt fod yn wyliadwrus, ac arfer manylwch wrth ddewis brodyr i'r weinidogaeth; eu bod yn meddu cymeriad diargyhoedd, ac na oddefer personau o gymeriadau ameus i esgyn i'n pwlpudau."

(k) Chwareuyddiaethau.

Yn Nghymanfa Pittston, 1868, mater y gyfeillach gyffredinol y pryd hwnw oedd, "Y niwed mae chwareuyddiaethau cyhoeddus, a lotteries, yn ei wneyd i achos crefydd yn y

byd." Dangoswyd yn dra eglur ac effeithiol eu bod yn hollol wrthwynebol i ysbryd Cristionogaeth, ac yn feithrinfa llygredigaeth yn y byd, ac yn foddion o'r mwyaf dylanwadol er dwyn y meddwl oddiwrth Dduw, a'n rhwystro yn ei waith, &c.

Yn Hyde Park, yn 1878, penderfynwyd "Fod y mater o briodoldeb neu anmhriodoldeb yr arfer o votio tuag at dalu dyledion addoldai i'w anfon yn ol i'r Cyfarfod Dosbarth Gogleddol, o'r hwn y daeth." Nid ydym wedi gweled dim yn nghofnodion y Cyfarfod Dosbarth hwnw yn amlygu ei fod wedi ei anfon fel cenadwri i'r Gymanfa. Onid gwell fuasai i'r Gymanfa ddatgan ei barn yn ddifloesgni ar y mater, yn ol ei deilyngdod, fel mae yn cynwys elfenau hapchwareuaeth?

Yn Nghymanfa Wilkesbarre, 1874, mabwysiadwyd y penderfyniad canlynol gyda golwg ar circuses: "Fod y mater hwn yn cael ei gyflwyno i sylw yr eglwysi trwy y Cyfarfodydd Dosbarthiadol, a bod dau frawd, un yn mhob Dosbarth, yn cael eu penodi i gyfansoddi papyr ar y pwnc, er ceisio argyhoeddi y bobl o ddrygedd y peth, yr hyn y rhaid ei wneyd cyn y gellir eu cadw o honynt."

Yn Hyde Park, 1891, fel cenadwri o'r Cyfarfod Dosbarth Gogleddol, dymunid ar i'r Gymanfa "Ddatgan ei bod yn condemnio arferiad llygredig ieuenctyd ein heglwysi o gydymffurfio â phechodau yr oes, megys cyfarfodydd dawnsio," &c., a mabwysiadwyd y penderfyniadau canlynol fel y moddion goreu i wrthweithio llygredigaeth yr oes:

1. Arfer gweddi gyhoeddus a dirgelaidd, &c.

2. Galw sylw athrawon yr Ysgol Sabbothol at y ddyledswydd o wasgu at feddyliau y bobl ieuainc yr angenrheidrwydd o ddysgu egwyddorion mawr yr efengyl.

3. Anog swyddogion yr eglwysi i ddwyn y mater o flaen y cyfeillachau.

4. Galw sylw rhieni at y ddyledswydd o ddysgu eu plant yn egwyddorion crefydd Mab Duw.

Yn dal cysylltiad agos a'r uchod mewn gwedd arall, mae y sylw fu ar "Beryglon yr oes" yn Nghymanfa Plymouth,

1876, "Ein bod yn anog ein heglwysi i ocheiyd a gwrthwynebu pob cyfrwng sydd yn amcanu hau hadau anffyddol yn mysg ein cenedl, a'n bod yn cefnogi pob cyfrwng sydd yn amcanu at buro chwaeth yr oes mewn llenyddiaeth bur. Hefyd, ein bod yn anog penau teuluoedd i dalu y sylw manylaf i'r llyfrau, cyhoeddiadau misol, a'r newyddiaduron a ddarllenir gan eu plant, a gofalu na byddo dim yn dyfod i'n tai a fyddo yn gwyro barn a llygru moesau."

(l) Angladdau ar y Sabboth.

Yn Nghymanfa Plymouth, 1870, gwnaed sylwadau llym a tharawiadol ar yr arferiad o gladdu ar y Sabboth, a phenderfynwyd, "Ein bod yn anghymeradwyo i'n gweinidogion a'n pregethwyr i weinyddu mewn angladdau ar y Sabboth, ond fel mesur o angenrheidrwydd, a hyny trwy ymgyngoriad a phenderfyniad swyddogion yr eglwys y byddant yn aelodau o honi, nac ychwaith iddynt hwy na neb o'n haelodau bresenoli eu hunain mewn angladdau o'r fath."

(m) Newidiad y dull o ddewis swyddogion y Gymanfa.

Yn Nghymanfa Slatington, 1892, penderfynwyd "Ein bod o hyn allan yn ethol swyddogion y Gymanfa fel y canlyn: Y bleidlais gyntaf i fod yn benodiadol, a'r ddau uwchaf i gael eu henwi, yna mwyafrif y pleidleisiau i sicrhau etholiad, ac nid y lluosrif."

## II.—Y Weinidogaeth.

Dygwyd y mater hwn o bryd i bryd i sylw y gwahanol Gymanfaoedd yn ei amrywiol agweddau, a diameu fod yr ymdriniaethau hyny wedi bod o les dirfawr er dadblygu gweithgarwch yr eglwysi, er na ddarfu iddynt lwyddo i gyraedd yr oll oeddynt yn amcanu ato. Mae yr Apostol, mewn gair, wedi egluro amcan swyddau ac ordinhadau yr efengyl, "Perffeithio y saint i waith y weinidogaeth"—cynyddu a dadblygu gweithgarwch priodol pob aelod unigol yn yr eglwys.

Amcanwn osod ger bron y darllenydd weithrediadau y Gymanfa gyda golwg ar y mater pwysig hwn.

(a) Gyda golwg ar haelfrydedd. Yn y gras hwn mae yr

eglwysi Methodistaidd wedi bod yn brin. Dylai pob aelod gael ei ddysgu i ddeall fod cyfranu yn gymaint o fraint a dyledswydd a gweddio. Mae Paul, yn un o'i lythyrau, yn dangos fod casgliad i'r tlodion "yn arogl peraidd, cymeradwy gan Dduw." Er fod rhai personau yn rhoi yn haelfrydig, eto mae llawer iawn yn edrych ar gyfranu gyda diflasdod, ond os nad ydyw dyn yn gallu rhoi yr hyn sydd ganddo, pa beth allai fod ganddo i brofi ei fod wedi rhoi ei hun?

Yn Nghymanfa St. Clair, 1859, "Rhoddwyd anogaeth i'r holl eglwysi i fod yn fwy ymdrechgar a chyson yn eu cyfraniadau at gynal y weinidogaeth, yr hyn sydd yn angenrheidiol er cysur yr eglwysi a llwyddiant yr efengyl." Yn Nghymanfa Pittston, 1863, galwyd sylw at rai eglwysi eu bod ar ol yn mhell yn eu cyfraniadau arianol, ac ystyrid fod eu hymddygiadau yn hollol annheilwng.

Eto yn Nghymanfa Hyde Park, 1866, "Barnwyd yn angenrheidiol cyflwyno i sylw yr eglwysi ar iddynt wneyd cydwybod er gogoniant yr achos, i anfon eu gweinidogion i fod yn bresenol yn y Cymanfaoedd, a hwythau i deimlo eu rhwymedigaeth i ddyfod." Yn hanes y gyfres flaenorol, fe geir sylw ar absenoldeb gweinidogion o'r Gymanfa, ac fel rheswm am hyny dywedid eu bod dan orfod i fod wrth eu gwaith. Gweinidogaeth deithiol oedd Methodistiaid yr oes flaenorol wedi ei weled yn Nghymru, ac nid oedd ganddynt un syniad amgenach. Felly hefyd y dechreuwyd yn y Dalaeth hon, ac nid oedd un dealltwriaeth rhwng y brodyr llafurus yn ysbaid y Cymanfaoedd cyntaf â'r eglwysi mewn ffordd o gydnabyddiaeth, amgen na derbyn hyny a roddid fel ewyllys da, a hyny yn fynych yn ychydig iawn, a dibynu ar ryw oruchwyliaeth yn y gwaith glo am damaid o fara iddynt hwy a'u teuluoedd. Felly dyma oedd y wers gyntaf oedd gan y brodyr i'w dysgu i'r eglwysi. Ar hyn yr oedd llwyddiant yr achos mewn gwahanol gysylltiadau yn dibynu.

(b) Magu dynion ieuainc, a chael gweinidogaeth deilwng o gynydd ac angenion yr oes.—Ymddengys i ni fod y brod-

yr megys gwylwyr effro ar y mur, ac yn deall arwyddion yr amserau, i wybod beth a ddylai Israel ei wneuthur. Yn ngwyneb marwolaeth rhai brodyr, a symudiad eraill o'r Dalaeth, gwnaed sylw yn y Gymanfa yn 1858, a rhoddid anogaeth i'r eglwysi ofalu a llafurio gyda'r ieuenctyd mewn gwybodaeth a phrofiad o bethau yr efengyl, fel y byddont o wasanaeth gyda theyrnas Iesu Grist, ac o wasanaeth i Fethodistiaeth. Methodistiaid o bawb yw y goreu i fagu Methodistiaid.

Yn 1861, yn Nghymanfa Minersville, anogwyd y Cyfarfodydd Dosbarthiadol i fabwysiadu rheol sefydlog ar gyfer codi pregethwyr ieuainc. Galwyd sylw at yr un peth yn Nghymanfa Scranton y flwyddyn hono, yr hyn sydd yn dangos fod y brodyr am godi y safon mor uchel ag y medrent dan yr amgylchiadau. Y pryd hwnw daeth cenadwri o fwrdd y diaconiaid, "yn dymuno arnynt beidio codi y safon yn rhy uchel ac anhawdd i bobl ieuainc eu canlyn. Dylem gofio mai wrth fagu lloi ieuainc mae gobaith am ychain da."

(c) Bugeiliaeth.—Anhawdd iawn oedd i lawer o Fethodistiaid wedi eu magu yn Nghymru dan weinidogaeth deithiol bob Sabboth, i synied y dylasai fod perthynas rhwng y gweinidogion a'r eglwysi. Nid ydym yn gwybod am un enwad Cristionogol ag sydd yn cydnabod y weinidogaeth yn ordinhad, nad ydynt hefyd yn cydnabod y dylasai fod perthynas rhwng yr eglwysi a'r gweinidogion, fel bugeiliaid, ond Methodistiaid. Bu y weinidogaeth deithiol yn dda yn ei hamser, am nad allesid gwneyd dim yn well, ond erbyn hyn mae wedi profi yr anfantais fwyaf i ni yn yr oes hon, ac yn y wlad hon. Felly, yr oedd raid i'r brodyr yr adeg hono wrthwynebu rhagfarn a ffurf arferion yr oes flaenorol, èr gosod yr achos ar well safle.

Yn Nghymanfa Bellevue, 1862, mabwysiadwyd y penderfyniad canlynol: "Yr angen sydd ar eglwysi y Gymanfa hon am bregethiad cyson o'r efengyl a gweinyddiad yr ordinhadau." Sylwyd hefyd "nad oedd un gobaith iddynt gynyddu mewn rhif a defnyddioldeb heb fod dan ofal bug-

eiliol." Barnwyd yn fuddiol i ryw frawd fyned trwy y Dosbarth Gogleddol i osod y mater ger bron yr eglwysi, a nodwyd y Parch. Howell Powell, Cincinnati, i wneyd hyn dros y Gymanfa.

Yn 1868, yn Nghymanfa Slatington, mabwysiadwyd y penderfyniad canlynol: "Ein bod yn anog yr holl eglwysi nad ydynt yn cael bugeiliaeth eglwysig i ymestyn at hyny hyd eithaf eu gallu, ac i dalu mwy o sylw a gofal am yr ieuenctyd." Gwelir gan hyny fod y Gymanfa o ddifrif yn y mater hwn, ac mae y Gymanfa Gyffredinol yn rhoddi symbyliad effeithiol i'r symudiad, trwy alw sylw yr holl Gymanfaoedd Talaethol i wasgu ar yr eglwysi y pwys a'r angenrheidrwydd sydd arnynt am ofal bugeiliol. Penodwyd hefyd ddau frawd—y Parchn. Evan F. Jones ac R. V. Griffiths—i ymweled a'r Dosbarthiadau er gweled sefyllfa yr achos, ac i hyrwyddo yr amcan hwn fel un o symudiadau mawr y dydd.

Yn Nghymanfa Shenandoah, 1873, mae y ddau frawd yn rhoi eu hadroddiad o'r ymweliad, ac yn dangos fod yr achos yn myned yn ei flaen, ac yn ymledu, ar yr un pryd fod yr eglwysi mewn angen adfywiad ysbrydol ac achubol.

Yn Nghymanfa Wilkesbarre, 1874, bu y mater dan sylw drachefn, pryd y dangoswyd "fod y pwnc pwysig yn gyfryw ag y dylid edrych yn ei wyneb ac amcanu cael allan ryw gynllun i sicrhau bugeiliaeth fanwl ac effeithiol yn yr holl eglwysi; ac yn gymaint nad oedd yr eglwysi wedi cymeryd pleidlais ar y mater, yn ol penderfyniad y Gymanfa flaenorol, penderfynwyd "Ein bod yn rhoi anogaeth daer i'r lleoedd sydd yn ol, i anfon eu llais i'r Gymanfa nesaf." O Gymanfa Minersville, 1874, anfonwyd cenadwri arbenig at y Dosbarth Gogleddol (mae hwn yn bresenol ar ol), "I anfon eu llais i'r Gymanfa nesaf, a'u bod yn taer ddymuno arnynt fabwysiadu penderfyniadau y Gymanfa Gyffredinol parth bugeiliaeth eglwysig, a bod y Dosbarth Deheuol wedi gwneyd," &c. Erbyn Cymanfa Shenandoah, 1877, mae y Dosbarth Gogleddol wedi llunio cynllun i ddwyn holl eglwysi y Dosbarth dan ofal bugeiliol, ac yn ei anfon i'r Gy-

manfa i'w gymeradwyo a'i fabwysiadu, gan apelio am gymorth cenadol i'w weithio allan. (a) Fod Providence a Grand Tunnel eisoes dan ofal bugeiliol, ac mae y Dosbarth yn cydnabod y berthynas. (b) Fod Carbondale, Jermyn, Blakely ac Olyphant i gael eu cysylltu fel maes cenadol, a rhywun i symud i'w plith i'w bugeilio. (c) Fod Nanticoke a Danville dan ofal rhyw un arall.

Mae y Gymanfa yn mabwysiadu y cynllun ar yr amod fod yr eglwysi yn cydsynio ac yn syrthio i fewn i'r cynllun, a sicrhau rhyw frawd i'w gwasanaethu; maent yn cael eu cyflwyno i ofal y Bwrdd Cenadol am gymorth o'r drysorfa, $50 yr un.

Daeth cais cyffelyb i'r Gymanfa hon oddiwrth y Dosbarth Deheuol, am gynllun i gyflenwi Pottsville, Minersville, St. Clair a Shenandoah â gweinidogaeth. Nodwyd pwyllgor i lunio cynllun, sef y Parchn. R. H. Evans, J. R. R. Jones, W. H. Williams, Mri. Ed. G. Anwyl a J. G. Thomas. Gwnaeth y pwyllgor adroddiad, ond nid cynllun, amgen na chyflwyno penderfyniad i chwyddo y casgliad cenadol, yr hyn a ddaw dan sylw eto yn ei le priodol.

Pa un a weithiwyd allan y cynllun ai peidio, ni allwn lai na theimlo fod tir lawer wedi ei enill (os nad yn ngwyneb gwrthwynebiadau, eto yn ngwyneb anmharodrwydd ac anaddfedrwydd i symud) er cyfnewid barn yr eglwysi a'u dwyn i deimlo fod pregethu cyson a bugeiliaeth fanwl fel ordinhad ddwyfol yn angenrheidiol i beri iddynt lwyddo.

## III.—Addysg.

Mewn cysylltiad â'r "fugeiliaeth," mae cwestiwn arall o bwys neillduol yn gwthio ei hun i sylw, sef yr angenrheidrwydd am gael rhyw gynllun effeithiol i addysgu y dynion ieuainc oedd o bryd i bryd yn ymgeiswyr am y weinidogaeth; ac nid oedd gan y Methodistiaid un ddarpariaeth i'r perwyl hwnw. Os oedd yr eglwysi i fabwysiadu bugeiliaeth, yr oedd yn rhaid iddynt gael dynion wedi eu cymwyso, nid yn unig gan ras, ond addysg a dysgyblaeth feddyliol hefyd. Yr oedd y brodyr mwyaf meddylgar er's blyn-

yddau, yn meddwl am ryw gynllun i gyraedd yr amcan hwn. Y cynllun cyntaf ydym yn cofio am dano oedd cael athrofa i'r enwad. Tybiwn mai o fewn cylch y Gymanfa hon y cychwynodd y syniad. Yr ydym yn cofio i'r mater gael sylw brwdfrydig yn Nghymanfa Wisconsin am dymor, a nodwyd y Parch. Rees Evans yn bwyllgor i ohebu a Dr. Edwards am ryw wr ieuanc o'r Bala i ddyfod yn athraw iddi, gan ddibynu y buasai athraw da yn penderfynu llwyddiant y sefydliad. Ond ni ddaeth un atebiad i'r cais o'r Bala, ac wrth fod yn ymarhous yn dysgwyl oerodd a diflanodd y brwdfryded hwnw am gael athrofa. Y cyfeiriad cyntaf at y mater hwn yn y Gymanfa hon ydoedd yn Slate Hill, 1860. "Bu sylw ar yr athrofa, a phenderfynwyd i'r mater fod ar y bwrdd hyd y Gymanfa nesaf." Yr oedd hono yn Pittston yn mis Medi, a phenderfynwyd "Ein bod ni dan yr amgylchiadau presenol yn rhy analluog i wneuthur dim gyda'r symudiad daionus hwn, er y buasai yn dda genym allu gwneyd." Felly trengodd y syniad am athrofa yn Pennsylvania. Eto mae y syniad am wneyd rhyw ddarpariaeth yn aros, ac yn Nghymanfa Slatington, 1868, "Penderfynwyd i gymeryd dan sylw yr angenrheidrwydd a'r posiblrwydd o gael cyfrwng addysg i ddynion ieuainc fyddant yn ymgeiswyr am y weinidogaeth, ac heb gael manteision addysg flaenorol." Nodwyd pwyllgor i feddwl am gynllun—y Parchn. E. F. Jones, M. A. Ellis a Mr. John Lucas. Ni welsom fod y pwyllgor hwn wedi gwneyd un adroddiad. Yn y flwyddyn ganlynol, 1869, mae y Gymanfa Gyffredinol yn cyfarfod yn Pittsburg, ac un o'r materion y penderfynwyd arno yno oedd danfon cais at y Presbyteriaid am gael undeb â hwy mewn addysg yn unig. Y Parch. W. Roberts, D. D., oedd y cenadwr, a chafodd dderbyniad cynes gan y Gymanfa, a chaniatawyd ein dymuniad. Mae y Doctor yn ei adroddiad yn dweyd, "Fod y Presbyteriaid yn agor drws eu hathrofeydd i'n dynion ieuainc ni gael yr un manteision addysg yn rhad a'u dynion ieuainc hwy, ar y telerau ein bod yn gwneyd casgliad blynyddol fel eu heglwysi hwy, gan eu hanfon i'r Bwrdd Cyffredinol."

O'r fan yma mae llawer o gamgymeriad wedi codi o'n tu ni beth bynag. Mae geiriad y cytundeb yn amwys a phenagored, a gallasai dolar, neu ddwy, gyfarfod a'i lythyren; ond mae yn eglur nad oedd hyny yn cyfarfod â sylwedd y mater. Yr hyn oedd y Presbyteriaid yn ei addaw oedd rhoddi addysg i'n dynion ieuainc, ond nid oeddynt yn golygu eu cynal gyda hyny. Yr oedd traul pob un i fyw yn yr Athrofa o leiaf yn $200 ychwanegol, a dylasai ein Cymanfaoedd dalu y rhai hyny. Ond fel arall yr oedd y rhan fwyaf, os nad yr oll, o'n heglwysi ni wedi synied, ac yn anfon casgliad bychan, nad oedd yn dechreu cyfarfod traul yr efrydwyr yn yr amrywiol athrofeydd, ac mewn canlyniad, yr oeddym yn suddo i ddyled y Bwrdd bob blwyddyn. Dr. Roberts anfonwyd yn genad drosom at y Gymanfa, ac efe oedd Llywydd Bwrdd Addysg, yn ol dewisiad ein Cymanfa Gyffredinol ni; ac mae yn rhaid ei fod yn deall y drafodaeth yn drwyadl. Yn 1874, mae Dr. Poor, Ysgrifenydd y Bwrdd (os ydym yn cofio yn gywir), yn anfon llythyr ato, fod ein henwad ni yn nyled y Bwrdd o $2,000, ac yr ydym yn cofio iddo anfon llythyr at Gymanfa New York yn hysbysu ein sefyllfa, ac fod cyfran y Gymanfa hono o'r ddyled yn $500. Yr oedd yr hysbysiad wedi taro y brodyr mwyaf meddylgar a braw, a phenderfynwyd yno mai gwell oedd gwneyd ymdrech i dalu yr ol-ddyled, a thori yr undeb, yn hytrach na suddo yn ddyfnach i ddyled. Mae yn ymddangos fod cryn bryder yn meddianu y brodyr yn y Dalaeth hon gyda golwg ar y mater hwn, oblegid yn Nghymanfa Bellevue, 1871, mae Pwyllgor Addysg, yn cynwys y Parchn. W. Roberts, D. D., J. E. Davies, D. D., John L. Jeffreys, Ed. J. Hughes, E. F. Jones ac M. A. Ellis, M. A., yn anfon anogaeth daer i'r holl eglwysi "I arfer ffyddlondeb gyda'r casgliad hwn." Yn Nghymanfa West Bangor, 1872, mae y penderfyniad canlynol yn cael ei fabwysiadu: "Cadarnhawyd penderfyniad y Gymanfa Gyffredinol fod yr eglwysi i gyfranu yn ol 10c. yr aelod, fel na byddo y Cyfundeb yn syrthio dan warth, o dynu mwy oddiwrth Fwrdd Addysg y Presbyteraidd nag ydym yn ei roddi i fewn."

Yn Nghymanfa Shenandoah, 1873, nodwyd y personau canlynol yn Bwyllgor Addysg: Parchn. M. A. Ellis, M. A., R. V. Griffiths, a Mri. W. P. Jones a James R. James, ac anfonwyd anogaeth i'r eglwysi wneyd casgliad at addysg mor fuan ag y byddo modd. Yn Minersville, 1874, gwnaed sylwadau fel y canlyn gyda golwg ar y casgliad at addysg: "Yn ngwyneb fod pethau fel y maent, penderfynwyd fod y Parch. M. A. Ellis i dalu ymweliad a'r holl eglwysi o fewn cylch ein Cymanfa, i'r dyben o ddadleu yr achos, a chodi casgliad effeithiol. Mae yn bryd i ni ddeffroi gyda hyn, gan obeithio y bydd ymweliad Mr. Ellis yn foddion i chwyddo y casgliad hwn yn fwy nag y gwnaed erioed." Yn y flwyddyn hon mae y Gymanfa Gyffredinol yn cyfarfod yn Hyde Park, ac yno daeth cynygiad oddiwrth Gymanfa Talaeth New York, "Gan fod ein heglwysi mor anmharod i gyfranu at yr achos hwn, y byddai yn well tori yr undeb na rhedeg i ddyled." Mabwysiadwyd y cynygiad gydag unfrydedd mawr, oblegid fod pawb yn addfed i wneyd rhyw gyfnewidiad. Ni welsom un achos a chymaint o anaddfedrwydd a gwrthwynebrwydd i roddi cefnogaeth deilwng iddo a hwn, nac un a chymaint o barodrwydd i'w ddiddymu. Yr oedd caredigion yr achos yn gorfod gostwng pen mewn cywilydd oblegid ymddygiad annheilwng yr eglwysi ar y mater. Talodd Cymanfa New York y gyfran o'r ddyled oedd yn aros ar eu rhan hwy, ond nid yw yn ymddangos fod Cymanfa Pennsylvania wedi gwneyd dim i symud y gwarthrudd hwn oddiar ein henwad.

Dymunodd y Cyfarfod Dosbarth Gogleddol ar y Gymanfa a gynaliwyd yn Hyde Park anghymeradwyo gwaith y Gymanfa Gyffredinol yn datod y cysylltiad rhyngom a'r Presbyteriaid; ond wedi ystyriaeth bwyllog ar y mater penderfynodd y Gymanfa, "Ei bod wedi gwneyd yn ddoeth, ac nad oedd wedi myned dros ben ei hawliau." Nis gallwn ymddiosg oddiwrth yr argyhoeddiad fod llawer o frodyr yn y Dosbarth uchod yn llafurio dan gamsyniad am natur y berthynas rhyngom a'r Presbyteriaid. Wedi i'r undeb gael ei dori, derbyniodd efrydwyr o'r Dosbarth hwn gymorth

oddiwrth ymddiriedolwyr Athrofa Princeton, a chesglid oddiwrth hyny mai arnom ni yr oedd y bai fod yr undeb wedi ei dori, ac nad oeddynt yn ein dal ni yn gyfrifol am yr ol-ddyled.

Ond mae yn briodol cofio mai â'r Gymanfa Gyffredinol (General Assembly) y gwnaethom ni gytundeb, ac nid ag ymddiriedolwyr un athrofa neillduol. Ac fe ddylai llythyr Dr. Speer fel Llywydd Pwyllgor y Gymanfa gynaliwyd yn Philadelphia benderfynu y mater. Mae i'w weled yn y "Cyfaill," Mai, 1875, tu dalen 182. Dyddiad y llythyr ydyw Mawrth 23, 1875. Am y pum mlynedd y bu y cytundeb mewn grym derbyniwyd o'r Bwrdd $3,775. Talwyd i'r Bwrdd yn yr un amser $1,324.91, ac yr oedd y diffyg y pryd hwnw yn $2,450.09, ac nid yw hyn yn cynwys y swm a dderbyniai yr efrydwyr ar ddiwedd blwyddyn y Bwrdd. Byddai erbyn hyny yn $3,845.50, gan adael yn ddyledus $2,520.59. Gallasai ymddiriedolwyr Princeton estyn cymorth i'r efrydwyr os oeddynt yn dewis, heb fod unrhyw berthynas rhyngddo â gwaith y Gymanfa, ac nid oedd dim a wnelem ni fel Cyfundeb ag ymddiriedolwyr yr athrofa hono yn neillduol, na hawl ar ei chyllidau.

Wedi yr holl siarad a thrafod fu ar y mater, dyma y berthynas agosaf fu rhyngom a'r Presbyteriaid, a'r undeb mwyaf manteisiol i ni, heb aberthu ein neillduolion enwadol, eto mae yn cael ei ddiddymu oblegid anffyddlondeb yr eglwysi i gyfranu er sicrhau ei barhad.

Ni wnaed un symudiad pellach ar y mater hwn o fewn cylch y Gymanfa am rai blynyddoedd, oblegid fod pleidwyr yr achos wedi digaloni o herwydd methiant yr undeb, ac nid oedd ynddynt galon i gynyg dim yn mhellach, gan fod yn eglur nad oedd yr eglwysi yn barod i gefnogi un mesur o'r fath. Ond yn Nghymanfa Bangor, 1891, derbyniwyd cenadwri o'r Cyfarfod Dosbarth Gogleddol yn galw sylw y Gymanfa "at y priodoldeb i ni fel Cyfundeb yn y Dalaeth hon i gael undeb rhyngom â'r Presbyteriaid, er sicrhau addysg i'n hymgeiswyr ieuainc am y weinidogaeth." Pasiwyd hefyd fod y "Cais yn cael ei anfon i'r Cyfarfodydd

Dosbarth er cael ymdrafodaeth bellach arno, a'i anfon oddiyno i'r eglwysi, er sicrhau llais yr eglwysi a'r Cyfarfod Dosbarth ar y mater erbyn y Gymanfa nesaf." Felly yn Nghymanfa Olyphant, 1892, bu y mater o dan sylw pellach, "ac wedi deall fod llais yr eglwysi yn y ddau Ddosbarth yn debyg ar hyn o beth, penderfynwyd nodi pwyllgor o bedwar—Parchn. John T. Morris, John Hammond, a Mri. Lewis S. Jones a James B. Davies, i ymohebu â Bwrdd Addysg y Presbyteriaid, i ofyn ar ba delerau y gallem ymuno â hwy er sicrhau yr addysg angenrheidiol, a bod y pwyllgor hwn i ddyfod a'u hadroddiad i'r Gymanfa nesaf."

Yn Nghymanfa Slatington, yr un flwyddyn, cofnodir fod y pwyllgor wedi gwneyd adroddiad o'u trafodaeth â'r Bwrdd Addysg, "a phenderfynwyd ei fod i barhau hyd nes dwyn y peth i derfyniad." Ond nid oes dim son eu bod wedi gwneyd un adroddiad pellach, a dyma y sylw olaf fu ar y mater hyd y dydd nwn.

## IV.—Undeb a'r Presbyteriaid.

Mae yr ysbryd hwn yn dyfod i'r golwg eto ar wahanol amserau, ac mewn gwahanol ddulliau, er y gallasem feddwl fod y Gymanfa Gorfforedig wedi ei gau allan o gyngorau y Methodistiaid am byth. Ond mae gwahaniaeth dirfawr yn ansawdd ein meddyliau pan yn edrych ar gwestiynau yn ol eu teilyngdod eu hunain, a phan yn edrych ar yr un cwestiynau oddiar safle buddiant personol; ac felly y cwestiwn hwn.

Yn 1854, yn Nghymanfa Slatington, mae y cwestiwn yn dyfod ger bron mewn cais am undeb oddiwrth weinidog yr eglwys Bresbyteraidd yn y lle. "Wedi ystyried y mater, ofnid na byddai y fath undeb yn esmwyth i deimladau y Methodistiaid, ac ysgrifenwyd llythyr at y gwr parchedig oedd wedi gwneyd y cais, i hysbysu hyny." Daeth y mater ger bron y Gymanfa y pryd hwnw ar ei deilyngdod ei hun; eto mae yn cael ei wrthod.

Yn 1860, mae Pottsville a Minersville yn anfon llythyr at y Gymanfa, yr hon a gynelid y pryd hwnw yn Pittston, gan

ddatgan eu teimladau, a'u bod yn dymuno cadw undeb â ni fel Methodistiaid, ond y casgliad ydyw, eu bod ar yr un pryd yn awyddus i ymuno â'r Presbyteriaid; ond mae yn amlwg, feddyliwn, fod yr awydd hwnw yn codi oddiar wendid yr achos, a'u hanallu i gynal a chael gweinidogaeth fel y buasent yn dymuno. Mae y symudiad hwn ar ran Dosbarth Pottsville gymaint yn fwy rhyfedd, yn ngwyneb y ffaith fod y Gymanfa ffaenorol wedi pasio penderfyniad, eu bod yn ymuno â'r Gymdeithas Genadol Americanaidd, a bod y Dosbarth Deheuol wedi gwneyd hyny eisoes. Sylwodd y brodyr yn Pittston ar y mater gyda theimladau caredig, a rhoddwyd ar y Parch. E. F. Jones i ysgrifenu llythyr atynt, er datgan teimladau y Gymanfa, a dangos nad oedd yn bosibl iddynt fod mewn undeb â'r Presbyteriaid ac â ninau hefyd. Gorphwysodd y mater am ryw dymor gyda hyn.

Yn Nghymanfa Bellevue, 1862, mae y mater yn dyfod i fyny drachefn, gyda brwdfrydedd anghyffredin. "Sylwyd y pryd hwnw ar y priodoldeb a'r posibilrwydd i ni ymuno â'r Hen Ysgol Bresbyteraidd, a'r manteision a allai ddeilliaw i ni trwy hyny, ac o bosibl iddynt hwythau hefyd." Eto, barnwyd yn well symud yn ddoeth a phwyllog, nes gweled fod addfedrwydd yn yr holl Gymanfaoedd at hyny. Mae yn eglur fod buddiant wrth wraidd y symudiad y tro hwn hefyd. Yn 1864, mae y Gymanfa yn Hyde Park; a'r pryd hwnw "ymddyddanwyd ar y posiblrwydd a'r buddioldeb o gael undeb o ryw fath a ffurf â'r Henaduriaethwyr. Amlygwyd tuedd gref, a chryn addfedrwydd at hyny; ond rhag gwneyd dim yn fyrbwyll, gohiriwyd y mater hyd y Gymanfa nesaf." Yr oedd hono yn St. Clair, ac wedi ymdriniaeth ychwanegol yno, "oedwyd sylw pellach arno hyd nes y byddai i ryw amgylchiad o bwys gyfreithloni ei ddwyn i sylw drachefn." Yn 1869, pan ddaeth y Gymanfa Gyffredinol yn ffaith, addfedodd y teimlad hwn, mewn undeb â'r Presbyteriaid mewn addysg yn unig; ac wedi tori yr undeb hwnw, yn 1874, nid ydym yn gwybod fod un symudiad pellach wedi ei wneyd yn un cwr o'r gwersyll Methodistaidd,

i gael undeb â'r Presbyteriaid, oddieithr fel cangen o'r "Cyngrair Cyffredinol," yn yr hwn mae yr holl gangenau sydd yn dal yr athrawiaeth Galfinaidd yn cydgyfarfod.

V.—Y GYMANFA GYFFREDINOL.

Nid oes a fynom ni a'r Gymanfa hon, ddim pellach nag olrhain y rhan a gymerodd Cymanfa y Dalaeth yn y symudiad. Edrychwn ar y blynyddoedd cyntaf yn hanes y gyfres hon, fel y cyfnod cyfoethocaf mewn cynlluniau ac amcanion i osod yr achos o fewn cylch y Gymanfa ar safle lwyddianus. Fel yr ydym yn tybied, oddiyma y cychwynodd y syniad am Gymanfa Gyffredinol, mewn gohebiaeth rhwng brodyr blaenllaw gyda'r achos o fewn cylch y gwahanol Gymanfaoedd. Fel ffrwyth yr ohebiaeth, daeth llythyr o Gymanfa Wisconsin at Gymanfa Pennsylvania yn 1866, yr hon a gynelid yn Hyde Park, a chynwys yr hwn oedd, "Penderfynwyd ein bod yn cydsynio ac yn unfrydol am gael Cymanfa Gyffredinol, a barnwyd yn ddoeth adael yr amser i farn y Talaethau eraill, am nad yw hyny o bwys i ni."

Yn Nghymanfa Minersville, 1867, ail gadarnhawyd y penderfyniad uchod, "am gael Cymanfa Gyffredinol, a'i bod i gael ei chynal yn Pittsburg neu Columbus, fel lle canolbarthol. Fel cynygiad oddiwrth fwrdd y diaconiaid, dewiswyd y Parch. John L. Jeffreys a Mr. John Lucas i'n cynrychioli yno." Yn y Gymanfa ddylynol, yr hon a gynaliwyd yn Wilkesbarre yr un flwyddyn, deallwyd "fod yn angenrheidiol nodi ac anfon ychwaneg o gynrychiolwyr nag a wnaed genym, ond o herwydd fod amgylchiadau masnach mor isel ar hyn o bryd, ac y gellid dwyn yn mlaen yr hyn fyddai yn angenrheidiol ei fod dan sylw, trwy ohebiaeth, fel y gellid ei chynal yn effeithiol y gwanwyn nesaf, ein bod yn ystyried mai y ffordd ddoethaf a mwyaf effeithiol fyddai nodi un o bob Cymanfa i fod yn bwyllgor trefniadol, i wneyd darpariaeth at ei chynal mor fuan ar ol Cymanfaoedd y gwanwyn ag y byddai yn gyfleus.

Yn Nghymanfa Pottsville, 1869, unwaith eto, "Penderfynwyd ein bod mewn angen am dani, er cael undeb mwy

trwyadl ac effeithiol rhwng ein gwahanol Gymanfaoedd, ac y dylai pob Cymanfa gael cynrychioliad priodol." Os byddai y Cymanfaoedd eraill yn penderfynu iddi fod cyn y Gymanfa nesaf, penderfynwyd fod y Parchn. J. L. Jeffreys, M. A. Ellis, M. A., ac E. J. Hughes i'n cynrychioli."

Gyda golwg ar ddwyn traul y cynrychiolwyr, "Penderfynwyd fod i swyddogion yr eglwysi o fewn cylch ein Cymanfa osod y mater ger bron yn yr adeg fwyaf manteisiol, a dysgwylir 25c. ar gyfer pob aelod, a'r arian i'w hanfon i law y Trysorydd, Mr. W. Williams, Slatington." Hysbyswyd y materion oedd i fod dan sylw y Gymanfa, sef "Pryniad y 'Cyfaill' a'i olygiaeth; undeb â'r Presbyteriaid; yr achos cenadol; ein llenyddiaeth yn y wlad hon; y seithfed reol yn ein rheolau dysgyblaethol."

Cymeradwywyd cyfansoddiad y Gymanfa Gyffredinol yn y Gymanfa a gynaliwyd yn Bellevue yn 1871, ac mae ei gweithrediadau a'i defnyddioldeb yn hysbys i'r Cyfundeb, fel nad oes achos yn galw am i ni ymdrin rhagor ar y mater hwn. Ond mae yn ymddangos fod yr un anhawsder i gael yr eglwysi i gyfranu er dwyn traul y cynrychiolwyr i'r Cymanfaoedd hyn, ag at yr achosion eraill, oblegid mae y mater yn cael ei ddwyn i sylw yn Nghymanfa Wilkesbarre, yn 1869, ac nad oedd ond un eglwys trwy holl gylch y Gymanfa wedi gwneyd dim tuag at hyny. "Penderfynwyd yno ei gyflwyno i sylw y Cyfarfodydd Dosbarthiadol, i'r dyben i'w gario allan yn llwyddianus." Yn 1870, gwnaed sylw ar yr un mater drachefn yn St. Clair, "Ac er mwyn i'r Cyfarfodydd Dosbarth ymaflyd yn y mater, barnwyd y byddai yn ddoeth i'r cyfarfodydd hyny ddangos i, a gwasgu ar, flaenoriaid yr eglwysi eu dyledswydd gyda golwg ar bethau amgylchiadol yr achos; neu ein bod mewn perygl o ddinystrio ein hundeb fel Methodistiaid, a myned yn fwy annibynol na'r Annibynwyr." Ac mae yr un drafferth wedi bod gyda'r achos hwn hyd yn bresenol. Ein cynrychiolwyr i'r Gymanfa Gyffredinol o'r dechreu, ydynt y brodyr canlynol:

Columbus, O., 1869—Parchn. M. A. Ellis a John L. Jeffreys.

Pittsburg, 1870—Parch. W. Roberts, D. D., a Mr. John Lucas (absenol).

New York, 1871—Parchn. W. Roberts, D. D., M. A. Ellis, M. A., Evan F. Jones a Mr. John M. Jones.

Racine, 1873—Parchn. W. Roberts, D. D., E. F. Jones.

Hyde Park, 1875—Parchn. Thos. J. Phillips, R. V. Griffiths, Mri. James R. Davies a William Parry.

Chicago 1877—Parch. R. H. Evans.

Utica, 1880—Parch. E. J. Hughes a David Moses.

Oak Hill, 1883—Parch. W. H. Williams a Mr. John S. Davies.

Milwaukee, 1886—Parch. Thos. J. Phillips a Mr. W. D. Davies.

Wilkesbarre, 1889—Parchn. R. S. Thomas, W. H. Williams, Mri. Edward Foulkes a John W. Roberts.

Utica, 1892—Parchn. R. E. Williams, John T. Morris, Mri. D. J. Evans a W. R. Williams.

Minneapolis, 1895—Y Parch. Hugh Hughes.

## VI.—Prynu y "Cyfaill."

Oddiyma hefyd y cychwynodd y symudiad hwn, fel y gellid casglu. Yn Nghymanfa Slate Hill, 1860, mabwysiadwyd y penderfyniad a ganlyn: "Ein bod yn cynyg ac yn cymeradwyo fod 'Y Cyfaill' yn cael ei brynu yn feddiant i'r Cyfundeb, os ceir ef am bris rhesymol." Nodwyd y Parch. E. F. Jones i ohebu â'r meddianwyr a'r Cymanfaoedd eraill ar y mater, fel y gallom ddod i benderfyniad erbyn y Cymanfaoedd Hydref.

Yn Nghymanfa Pittston yr un flwyddyn, "Dangoswyd ein bod fel Cymanfa yn teimlo yn ddyfal yr angenrheidrwydd o'i gael yn feddiant i'r Cyfundeb."

Yn 1866 bu farw Dr. Rowlands, perchenog a golygydd gwreiddiol y "Cyfaill;" ac yn yr adeg hono nodwyd y Parch. M. A. Ellis i ymgymeryd a'i olygiaeth, ac yn 1867 derbyniwyd llythyr oddiwrtho yn Nghymanfa Minersville yn cynwys anogaeth i'w brynu. Yr oedd yr adeg yn fwy ffafriol i wneyd hyny ar y pryd; felly "Penderfynwyd ein bod yn ffafriol i wneyd hyny, ac i'r golygydd presenol i

barhau yn ei swydd." Yn Nghymanfa Wilkesbarre yr un flwyddyn, penderfynwyd, "Yn gymaint ag y daw pryniad 'Y Cyfaill' i sylw y Gymanfa Gyffredinol, ein bod yn ail gadarnhau y penderfyniadau blaenorol, a'r golygydd presenol i barhau yn ei swydd, a'n bod yn ymddiried y gwaith o weithredu drosom i'r Parchn. Thos. J. Phillips ac E. J. Hughes, Ysgrifenydd y Gymanfa, os gellir dwyn hyn oddiamgylch erbyn dechreu y flwyddyn."

Yn Nghymanfa Pittston, 1868, dygwyd y mater i sylw drachefn, a phenderfynwyd "Ein bod, mewn undeb a'r Cymanfaoedd eraill, yn ei brynu; ac os gellir, bwriedir cael meddiant o hono erbyn y flwyddyn nesaf." Nodwyd pwyllgor y pryd hyny i'w brynu yn enw y Gymanfa hon, hyd nes y byddai y Cymanfaoedd eraill yn barod—y Parchn. M. A. Ellis, John L. Jeffreys, Thos. J. Phillips, Mri. John T. Griffiths a John Humphreys. Gwelir oddiwrth hyn fod y brodyr ar frys, ac yn cymeryd cyfrifoldeb arnynt eu hunain nad oedd gwir angen am hyny, ac yn gosod eu hunain yn agored i brofedigaeth.

Yn Nghymanfa Pottsville, 1869, cyflwynwyd i sylw sefyllfa bresenol "Y Cyfaill" mewn ystyr arianol, ac ystyriai y Gymanfa hon, "Ei bod yn rhwym i Mrs. Rowlands am dano, yn ol penderfyniad y Gymanfa flaenorol, ond ein bod yn ystyried mai doeth fyddai aros heb weithredu yn mhellach, gan ein bod yn dysgwyl sylw ar y mater yn y Gymanfa Gyffredinol; ar yr un pryd yr ydym yn rhoi yr anogaeth daeraf i'r holl gyfeillion o fewn cylch y Gymanfa i fod yn ffyddlon o'i blaid, gan nad oes digon o arian yn dyfod i fewn yn awr i dalu ei draul." Er mwyn tawelwch meddwl i Mrs. Rowlands, awdurdodwyd y Llywydd a'r Ysgrifenydd i roi *bond*, neu gopi o benderfyniad y Gymanfa hon ar y mater iddi.

Yr un flwyddyn, yn Nghymanfa Wilkesbarre, daeth cysylltiad y Gymanfa hon a'r mater i sylw eto, a chaed ei fod wedi rhedeg yn mhell yn ol mewn dyled oblegid anffyddlondeb y derbynwyr i dalu am dano.

Yn y flwyddyn uchod cynaliwyd y Gymanfa Gyffredinol

gyntaf, yr hyn a fu yn waredigaeth i'r brodyr o'u trafferth; ac yn gymaint a bod hono yn penderfynu ei brynu yn eiddo yr holl Gyfundeb, maent hwythau yn penderfynu anfon at Mr. W. H. Rowlands i gymeryd "Y Cyfaill" a'i olddyledion yn ei ol am y flwyddyn hon. Ac os gwnai, eu bod hwythau yn addaw gwneyd eu goreu i gasglu yr olddyledion, ond os na wnai, eu bod yn derbyn addewid y Parch. John L. Jeffreys.

Yn ol fel mae yn ymddangos i ni, ac fel yr ydym yn cofio, nis gallwn edrych ar y ffordd hon yn anrhydeddus i fyned allan o'r drafferth. Naill ai dylesid bod yn fwy pwyllog cyn gwneyd ymrwymiadau, neu ynte sefyll atynt yn anrhydeddus.

Wedi i'r Gymanfa Gyffredinol brynu "Y Cyfaill," penderfynodd y Gymanfa fod pob Cyfarfod Dosbarth i nodi goruchwyliwr i ofalu am dano. Enwyd hefyd y personau canlynol i gasglu at dalu am dano:

Plymouth, Parch. Thos. J. Phillips; Wilkesbarre, Parch. L. S. Jones; Pittston, Mr. David Owen; Bellevue, Mr. J. M. Jones; Hyde Park, Mr. W. D. Davies; Spring Brook, David Nichols; Danville, Mr. D. H. Davies; Shamokin, Mr. D. Thomas; St. Clair, Mr. D. J. Thomas; Pottsville, Mr. John Lucas; Minersville, Parch. B. D. Davies; Slatington, Parch. J. L. Jeffreys; Danielsville, Mr. J. G. Griffiths; West Bangor, Parch. E. F. Jones; Carbondale, Parch. W. Matthews; Olyphant, Mr. Thos. Jenkins.

Mae yr uchod yn cynwys crynodeb o weithrediadau y Gymanfa hon yn y mater uchod, er sicrhau ein cyhoeddiad gwerthfawr i'r Cyfundeb; ac am ei wasanaeth a'i ddefnyddioldeb i ni fel enwad, mae uwchlaw canmoliaeth oddiwrthym ni. Hir oes iddo eto.

### VII.—Yr Achos Cenadol.

Yn y flwyddyn 1859, yr ydym yn gweled fod y Gymanfa wedi pasio penderfyniad i ymuno â'r Gymdeithas Genadol Americanaidd, ond mae yn ymddangos na chafodd y brodyr foddlonrwydd yn y symudiad; neu yr hyn sydd debycaf, nid oeddynt yn gallu dyfod i fyny ag amodau y Gymdeithas

er derbyn y cymorth angenrheidiol. Yr un modd, mae y siarad fu am undeb â'r Presbyteriaid hefyd wedi myned yn fethiant. Yr un pryd yr oedd cyflenwi yr eglwysi gweiniaid o fewn cylch y Gymanfa yn gwestiwn pwysig, ac yn peri i'r brodyr oedd yn arweinwyr yr achos lawer o bryder meddwl.

Yn Nghymanfa Pottsville, 1863, mae yr achos cenadol yn cael ei ddwyn i sylw fel y canlyn: "Y dylem fel eglwysi wneyd rhywbeth gyda'r achos teilwng hwn, ac nid siarad o hyd—y dylem fabwysiadu cynllun i weithredu, a gofalu am weithio yn ol y cynllun, gan fod eglwys Crist, yn ol ei phroffes, yn eglwys genadol." Felly cynygiwyd a chymeradwywyd "I ni ymffurfio yn Gymdeithas Genadol, a mabwysiadu rhai, neu yr oll, o reolau Cymdeithas Genadol yn T. C. yn Nhalaeth New York;" ond o ddiffyg amser gohiriwyd y tro hwn. Yn y Gymanfa ddylynol, yn Pittston, daeth y mater i sylw drachefn, ond nid oedd yr oll oedd yn angenrheidiol i roddi cychwyniad rheolaidd wedi ei gwblhau, a gohiriwyd y mater eto, gydag anogaeth i'r eglwysi gyfranu.

Yn Nghymanfa Danville, 1864, mae swyddogion y Dosbarth Deheuol yn cyflwyno i sylw y Gymanfa Reolau wedi eu llunio er sefydlu Cymdeithas Genadol Gartrefol. Ond yn gymaint ag nad oedd y Dosbarth Gogleddol wedi cydweithredu yn nghyfansoddiad y rheolau, barnwyd mai gwell fuasai oedi sefydlu y Gymdeithas nes enill cydweithrediad yr holl frodyr o fewn cylch y Gymanfa, a dymunwyd ar y Dosbarth Gogleddol roddi sylw i'r mater, fel y gellid myned yn mlaen. Yn y cyfamser, yn Nghymanfa Hyde Park, 1866, rhoddwyd anogaeth i'r eglwysi oedd yn gallu cynal gweinidogion i gofio am yr eglwysi gweiniaid.

Yn Nghymanfa Pottsville, 1869, amlygwyd fod pob darpariaethau weithian yn barod, ac wedi cymeryd pleidlais, penderfynwyd iddi fod yn Gymdeithas Genadol Gartrefol a Thramor, ac etholwyd saith o frodyr yn bwyllgor gweithiol awdurdodedig—Mri. John Lucas, John Humphreys, David Owens, Daniel Moses, Hugh L. Davies, John T. Griffiths a John M. Jones. A wnaeth y Gymdeithas hon ryw gy-

maint o waith, nid ydym yn gwybod. Nid yw yn debygol, oblegid yn y flwyddyn hon mae y Gymanfa Gyffredinol yn cyfarfod, ac fel un o amcanion mawr ei bodolaeth, yn ffurfio Cymdeithas Genadol, gyda'r amcan o gyflenwi angen y genedl ag efengyl yn yr Unol Dalaethau.

Yn Nghymanfa Bellevue, 1871, anogwyd yr eglwysi i anfon eu casgliad at y Genadaeth i'r Gymanfa Gyffredinol yn New York. O hyn allan mae y gwaith cenadol o fewn cylch y Gymanfa hon yn cael ei ddwyn yn mlaen dan nawdd Cymdeithas Genadol y Methodistiaid yn America.

Yn Nghymanfa West Bangor, 1872, gwnaed sylw o sefyllfa yr eglwysi yn y Dosbarth Deheuol, ac yn mhlith pethâu eraill, cwynid oblegid anmharodrwydd yr eglwysi i dderbyn Cyfarfod Dosbarth. Cymerwyd sylw o amgylchiadau Cymry Bangor, Northampton a New Canton, West Virginia. Nodwyd y Parch. W. Roberts, D. D., a'r Parch. E. J. Hughes i ymweled â Bangor a Slateford, a'r Parch. E. F. Jones i ymweled â New Canton, ac anogwyd yr eglwysi i gynal cyfarfod gweddi nos Lun cyntaf yn y mis, ac i wneyd casgliad cenadol, oddieithr fod rhyw lwybr arall yn ymddangos yn fwy effeithiol. Dygodd y pwyllgor eu hadroddiad i Gymanfa Hyde Park, 1873. Cyflwynwyd achos Bangor i sylw y Cyfarfod Dosbarth, ac ysgrifenwyd llythyr dros y Gymanfa i'w cysuro a'u hanog i ddal yn mlaen, a chymellwyd y Parch. E. F. Jones i dalu ymweliad â South Bangor, a chynal gohebiaeth a hwy. Dangoswyd cydymdeimlad a Danielsville yr un modd.

Yn Nghymanfa Wilkesbarre, 1874, etholwyd y brodyr canlynol fel cyfeisteddfod Cymanfa i weithredu ar yr achos, ystyried y ceisiadau am gymorth cenadol, a'u cyflwyno i sylw y Bwrdd Cyffredinol: Y Parchn. M. A. Ellis, E. F. Jones, Mri. W. P. Jones, James R. James a Richard Roderick. Nodwyd yr Ysgrifenydd hefyd, y Parch. R. V. Griffiths, i fyned trwy gylch y Gymanfa i ddadleu achos y Genadaeth, ac i roi mantais i'r eglwysi a'r cynulleidfaoedd i gyfranu yn briodol.

Yn Nghymanfa Shenandoah, 1877, cyflwynodd y Dosbarth

Gogleddol gynllun er dwyn yr eglwysi yn y Dosbarth dan ofal bugeiliol, os gellid cael y cymorth angenrheidiol gan y Gymdeithas Genadol. Nodwyd pwyllgor i dynu allan gynllun cyffelyb gyda golwg ar y Dosbarth Deheuol: Y Parchn. J. R. R. Jones, R. H. Evans, W. H. Williams, a'r Mri. Ed. G. Anwyl a J. G. Thomas. Ni luniodd y pwyllgor hwn un cynllun, ond cyflwynwyd ganddynt dri o benderfyniadau er dangos yr angenrheidrwydd am ragor o gasgliad at yr achos, a'r ffordd oreu i'w gael.

Yn Nghymanfa 1881, yn Hyde Park, mae Pottsville, Minersville a St. Clair, unwaith eto, yn cael eu cyflwyno i sylw y Bwrdd Cyffredinol am gymorth, gan ddymuno arno gymeryd gólwg deg ar y mater.

Yn awr mae yn eglur y gwnaed ymdrech deg i gyflenwi y lleoedd gweiniaid â gweinidogaeth, ac fod y Gymanfa Gyffredinol wedi bod yn foddion i symbylu yr ysbryd cenadol yn yr eglwysi yn fwy nag y buodd erioed o'r blaen. Bellach mae yr achos yn symud mewn trefn reolaidd, a lleoedd gweiniaid yn derbyn cymorth blynyddol, ond ein diffyg ydyw, ein bod yn tynu oddiar y Gymdeithas agos gymaint ag ydym yn gyfranu i'r drysorfa. Cyflwynir pob cais gan bwyllgor cenadol y Dosbarth i'r Gymanfa, ac mae y pwyllgor Cymanfaol yn eu hadolygu ac yn eu cymeradwyo i'r Bwrdd Cyffredinol.

## VIII.—Yr Achos Dirwestol.

Fe ddichon, o herwydd amlder cwestiynau eraill a ddaeth ger bron y Gymanfa hon o bryd i bryd, fod hyny yn rheswm nad ydyw dirwest wedi cael lle mor amlwg ynddi ag yn ystod y gyfres gyntaf; ac ymddengys i ni fod ei llais yn wanach ac yn fwy anmhenderfynol. Er hyny mae y mater wedi ei gadw ger bron yr eglwysi mewn rhyw dull neu gilydd ar hyd y blynyddoedd.

Yn St. Clair, yn 1859, penderfynwyd "Nad ydym ni yn caniatau i neb fod yn aelodau ac yn gwerthu diodydd meddwol, a'r llywodraeth deuluaidd yn eu meddiant; ond nas gallwn wrthod y cyfryw nad ydyw y llywodraeth yn eu

meddiant." Mae y penderfyniad hwn yn un masw ryfeddol, ac mae yn anhawdd i ni ddeall pa fodd y cafodd gymeradwyaeth o gwbl. Yr un pryd, fe roddwyd anogaeth ddifrifol i'r eglwysi i ymddeffroi, a'u bod yn dysgwyl adroddiad o bob eglwys erbyn y Gymanfa nesaf, am eu hymdrech a rhif y dirwestwyr. Swm yr adroddiad oedd, fod yr eglwysi yn deffroi gyda'r achos, a bod rhai bron yn ddirwestwyr hollol, ac anfonwyd anerchiad gyda'r cenadon eto, er eu hollol ddeffroi i ymegnio o blaid yr achos.

Yn St. Clair, 1865, penodwyd yr Ysgrifenydd i draddodi pregeth ar ddirwest yn y Gymanfa ganlynol, a gwnaed sylwadau cyffredinol ar ddirwest, nid yn unig am ei fod yn un o ffrwythau yr Ysbryd, ond hefyd am yr ofnid fod rhai eglwysi yn esgeuluso ymdrechu o'i blaid.

Yn 1866, yn Hyde Park, penodwyd y Parch. E. J. Hughes i draddodi pregeth ar ddirwest.

Yn 1870, yn Plymouth, gwnaed sylwadau ar ein peryglon fel cenedl oddiwrth y fasnach feddwol, a'i bod yn llawn bryd i ni ymaflyd, a bod yn fwy difrifol a gweithgar gyda'r gymdeithas ddirwestol, yn mha ffurf bynag y byddo, er atal y llifeiriant meddwol. "Gwae y rhai a ddisgynant i angeu."

Yn Nghymanfa Bellevue, 1871, dygwyd i fewn gynygiad at wneyd dirwest yn amod eglwysig, ond gadawyd y mater i sylw yr eglwysi a'r Cyfarfodydd Dosbarth hyd y Gymanfa nesaf, gan obeithio cael llais yr eglwysi y pryd hwnw. Yr oedd hono yn West Bangor, ond oblegid na ddaeth llais yr eglwysi, gadawyd y mater yn yr un fan.

Yn 1873, yn Hyde Park, derbyniwyd llais yr eglwysi ar y mater, a "phenderfynwyd fod dirwest, fel amod eglwysig, yn cael ei adael ar y bwrdd hyd amser anmhenodol." Yno mae hyd heddyw. Eglur yw fod y Gymanfa yn amcanu gosod y safon yn uchel, ac yn rhy uchel i'r eglwysi y pryd hwnw; ac mae yn sicr nad yw ein heglwysi wedi gwella dim, ond yn hytrach wedi dirywio yn fawr. Ceir llawer o aelodau pwysig mewn manau, yn wrth-ddirwestol, ac yn wrthwynebol i bob symudiad gyda'r achos. I ni, mae rheol

neillduol yn ddiangenrhaid, am fod "cyffes ein ffydd" fel standard yn cynwys yr oll a ellir ei wneyd ar y mater. Os nad ydyw dynion yn foddlon mabwysiadu egwyddor "y rheol" ar y mater, ni chydsyniant chwaith ag unrhyw reol neillduol, ac y mae agwedd bresenol yr achos yn argoeli dinystr buan ein heglwysi.

Yn 1883, mae y Gymanfa Gyffredinol, drwy y cynrychiolwyr, yn anfon cais at yr holl eglwysi i bwrcaus llyfr dirwestol, ac anog yr holl aelodau i roi eu henwau, a hefyd i bob eglwys i gynal cyfarfodydd dirwestol.

Yn Nghymanfa 1887, mabwysiadwyd nifer o benderfyniadau yn datgan cydymdeimlad y cynulliad a'r symudiadau, yn wleidyddol a chrefyddol, gyda'r achos dirwestol. Y pryd hwnw yr oedd y mesur ger bron y Dalaeth i gael gwelliant ar y Cyfansoddiad, i wahardd gwneyd a gwerthu diodydd meddwol, ond mae yn sicr na chefnogodd ein heglwysi y symudiad daionus hwnw, fel y gallesid dysgwyl iddynt wneyd mewn achos sydd yn dal perthynas mor agos a'u llwyddiant.

Yn 1893, yn Wilkesbarre, penderfynwyd "Fod pregeth ar ddirwest yn cael ei thraddodi yn mhob Cymanfa." Yr oedd hyn yn rhoddi mantais i alw sylw y bobl at y mater ar ddydd yr uchelwyl; ond yn Nghymanfa Bangor, 1895, gosodwyd y penderfyniad o'r neilldu, a diddymwyd y bregeth. Dyma braidd yr oll o drafodaeth y gyfres hon o Gymanfaoedd ar yr achos dirwestol, ac mae yn sicr na chyraeddodd uwch tir na'r gyfres flaenorol, yn hytrach mae ei llais yn wanach. "Canys os yr udgorn a rydd sain anhynod, pwy a ymbarotoa i ryfel?"

## IX.—Hanes yr Enwad.

Dodwn ger bron y darllenydd yn y lle hwn y gwahanol symudiadau a wnaed o fewn cylch y Gymanfa gyda golwg ar y mater hwn. Y crybwylliad cyntaf ydyw, mewn sylw o lythyr ddaeth o Gymanfa Ohio at Gymanfa Pennsylvania yn nghylch cael hanes Methodistiaeth yn America. Yn y flwyddyn 1858, "Cydsyniodd y Gymanfa a'r brodyr yn Ohio,

fod gwir angen am y fath lyfr, ac anogwyd y Parch. W. Rowlands, D. D., i dderbyn yr holl hanesion, a chyfansoddi llyfr." Yn Nghymanfa St. Clair, 1859, cadarnhawyd penderfyniad Cymanfa Scranton i gasglu hanes Methodistiaeth. Teimlid fod nodiadau y Parch. John Hughes, Liverpool, ar Fethodistiaeth yn America yn ddiffygiol, ac mai nid arno ef yr oedd y bai. Nodwyd y personau canlynol i gasglu âc adolygu yn fanwl hanes pob sefydliad, a'i anfon i Dr. Rowlands: Parchn. John Davies, Blakely; Thos. R. Jones, Pittston; Mr. Daniel Scurry, Carbondale; y Parch. E. F. Jones a Mr. David Williams, Danville; a Mr. John Humphrey, Slate Hill, a chymeradwywyd eto i Dr. Rowlands gyfansoddi yr hanes. Ni wnaeth y pwyllgor hwn un adroddiad, ac nid ydym yn clywed gair o son am y mater yn mhellach hyd y flwyddyn 1872, pan mae rhyw un yn Nghymanfa West Bangor yn cynyg i sylw y Gymanfa Gyffredinol, "Y priodoldeb o benodi rhyw frawd i gasglu holl hanes y Methodistiaid yn America, a'i gyhoeddi yn llyfr." Nid ydym yn meddwl fod dim wedi dyfod o'r cynyg hwn, amgen na dangos fod y teimlad yn fyw yn meddwl y brodyr am gael hanes. Ond mae yn rhaid i gyfundebau crefyddol, fel cenedloedd, wneyd hanes cyn y gellir ei ysgrifenu.

Yn 1874, yn Nghymanfa Minersville, unwaith eto, "Penderfynwyd ein bod yn taer ddymuno ar y Parch. J. E. Davies, D. D., i ymgymeryd a hyn, a'n bod hefyd yn anog blaenoriaid ein heglwysi i wneyd pob peth o fewn eu gallu er ei gynorthwyo." Mae yn eglur, feddyliem, mai o fewn cylch y Gymanfa hon, feddylient, yn ol yr hyn a ganlyn: Gwnaeth Dr. Davies gasglu hanes y sefydliadau o'r dechreu, a'i ddwyn i lawr hyd 1870. Nis gallwn ddweyd dim am ei gynwys a'i deilyngdod, o herwydd rheswm a nodir yn mhellach. Paham na buasai yn ei ddylyn yn mlaen ac yn ei gyhoeddi, nid ydym yn gwybod.

Yn Nghymanfa Hyde Park, 1875, cawn adroddiad pwyllgor oedd yn dwyn cysylltiad â chasglu yr hanes, yn cymeradwyo rhoddi can' dolar i Dr. Davies am ei lafur, "a derbyniwyd a chymeradwywyd adroddiad y pwyllgor."

Yn 1881, yn Nghymanfa Hyde Park, derbyniwyd llythyr oddiwrth y Parch. R. V. Griffith, Columbus O., yr hwn oedd bellach wedi ei benodi gan y Gymanfa Gyffredinol at y gorchwyl hwn, yn amlygu ei fwriad, ac yn dymuno cymorth er dwyn allan lyfr yn cynwys hanes dechreuad, cynydd a sefyllfa bresenol y T. C. yn America. Amlygodd y Gymanfa ei llawenydd, a chyflwynodd y mater i sylw Cyfarfodydd Dosbarth i ymgymeryd a'r achos, a chasglu hanes y gwahanol ardaloedd. Yn Nghymanfa Plymouth, yr un flwyddyn, "Gwnaed ymholiad a oedd y Cyfarfodydd Dosbarth wedi ymgymeryd â'r gorchwyl o gasglu hanes yr achos mewn gwahanol ardaloedd, Atebwyd yn gadarnhaol eu bod, a rhoddwyd anogaeth i fyned yn mlaen nes gorphen." Pwy oedd y brodyr, a pha faint o ddefnyddiau a gasglwyd, nis gwyddom; ac mae yn debyg na ddaeth dim o'r cynyg hwn chwaith. Nid ydym yn gwybod fod dim yn mhellach wedi ei wneyd ar y mater hwn hyd yr adeg bresenol.

Yn Nghymanfa Wind Gap, 1893, mae yr Ysgrifenydd, y Parch. R. E. Williams, yn awgrymu y priodoldeb o gael casgliad o hanes y Cyfundeb yn y Dalaeth, a hyny ar frys, tra mae y personau yn fyw a allant roddi mwyaf o hanes i ni, a phenderfynwyd i gyflwyno y mater i sylw y Cyfarfodydd Dosbarth er cael eu barn arno, a'r cynllun goreu er dwyn y peth oddiamgylch; a nodwyd y Parch. W. E. Morgans i ohebu â pherthynasau Dr. Davies yn nghylch yr hyn a wnaethai ef. Yn Nghymanfa Bellevue, 1894, penodwyd pwyllgor o dri i'r un perwyl—y Parchn. W. E. Morgans, D. C. Phillips a Hugh Davies. Gwnaeth y pwyllgor eu hadroddiad yn Nghymanfa Philadelphia, 1894. Cynwys yr adroddiad ydoedd fod Dr. Davies wedi ysgrifenu 99 o dudalenau foolscap, ac yn dwyn yr hanes i lawr i 1870. "Ni chydsyniai Mr. Davies, mab y Doctor, i roi yr ysgrif o'i law ar un cyfrif, ac ni werthai hi heb $150, a chan fod 24 o flynyddoedd o hanes ar ol, y byddai yn anhawdd ei defnyddio heb ei hail ysgrifenu a'i thalfyru." Derbyniwyd yr adroddiad, rhyddhawyd y pwyllgor, a phenderfynwyd gadael y mater ar y bwrdd hyd amser anmhenodol y pryd hwnw.

Ond yn Nghymanfa Bangor, 1895, dygwyd y mater ger bron unwaith eto; ond gohiriwyd nodi neb i gasglu yr hanes at ei gilydd hyd y Gymanfa nesaf. Yr oedd hono yn Wilkes-barre, Mai, 1896, a'r pryd hwnw penodwyd Llywydd y Gymanfa i ymgymeryd a'r gorchwyl o gasglu yr hanes, a'i ddwyn i lawr hyd yr adeg bresenol. Ar gais y Gymanfa hon y gwnaed y casgliad hwn.

## X.—ACHOS Y CAPELAU.

Nid yw y mater hwn yn dyfod ger ein bron bellach yn yr un wedd ag yn hanes y gyfres gyntaf. Mae caniatau ac arolygu adeiladu capelau wedi ei droi drosodd i'r Cyfarfodydd Dosbarth, oddieithr fod achosion yn galw am sylw cyffredinol. Felly bu sylw neillduol, amryw droion, ar gapel Pittston, oblegid ei wendid, a'r ddyled fawr oedd arno, a'r ymdrechion i'w thalu. Felly hefyd bu sylw ar gapel Hyde Park yn Nghymanfa Danville, 1864. Gofynai y cyfeillion am hawl i fyned trwy gylch y Gymanfa i gasglu, ond oblegid fod y Dosbarth Deheuol dan faich trwm eisoes, a chynllun ar droed i'w ddileu, barnwyd yn well i gyfeillion Hyde Park ohirio eu cais hyd y Gymanfa ddylynol. Yr oedd hono yn cael ei chynal yn y lle yn mis Hydref, a chaniatawyd iddynt eu dymuniad y pryd hwnw. Yn Nghymanfa 1868, yn Slatington, cymerwyd sylw drachefn o'r addoldy yn y lle hwn, gan ei fod ar y pryd, er's misoedd, yn beryglus i fyned iddo, am fod y mur bron a syrthio, yn effaith cloddio y glo dan ei sylfeini. "Rhoddwyd anogaeth, trwy gyfreithiwr, neu rywun cymwys at orchwyl o'r fath, i fyned at y cwmpeini a gloddient y glo, er eu digolledu; ac os na ddeuai pethau yn mlaen felly, am iddynt fyned yn mlaen, yn ol y fantais a roddai y gyfraith iddynt."

Yn 1881 mae y Gymanfa yno ar ei thro, a chyflwynodd y cyfeillion achos eu haddoldy i sylw, a chawsant arwydd o gydymdeimlad, ac "anogaeth i beidio llaesu dwylaw, er fod y baich yn anhawdd ei gario o herwydd ei bwysau enfawr." Yn Nghymanfa Plymouth, yr un flwyddyn, am fod y brawd Rees Morgan wedi symud oddiyno, maent yn cynyg y

brawd W. D. Davies i sylw y Gymanfa fel casglydd yn ei le. Cymeradwywyd ef, ac awdurdodwyd yr Ysgrifenydd i roddi llythyr iddo dros y Gymanfa.

Yr un flwyddyn, yn Nghymanfa Hyde Park, darllenwyd llythyr o Olyphant yn hysbysu fod y capel yno wedi llosgi i lawr, ac heb ddim yswiriant arno. Cawsant hwythau arwydd o gydymdeimlad, a drws agored am dri mis i gasglu at ail adeiladu. Dyma yr oll o'r achosion neillduol fu dan sylw y Gymanfa hon. Mewn agweddau eraill, bu llawer o ymdriniaeth ag achos y capelau.

Yn St. Clair, 1865, mae y Dosbarth Deheuol yn galw sylw y Gymanfa at yr angenrheidrwydd o gael cynllun i ddileu dyled yr addoldai, yr hwn a ohiriwyd hyd y Gymanfa nesaf yn Pittston, pan y penodwyd y Parchn. Joseph Davies, D. D., Thos. J. Phillips a Mr. Walter Phillips yn bwyllgor i dynu allan ryw reol neu reolau ar hyn, i'w cyflwyno i'r Gymanfa nesaf. Yn yr un Gymanfa ymofynwyd, A ydyw gweithredoedd ein capelau wedi eu recordio? a "nodwyd y Parchn. E. F. Jones yn y Dosbarth Deheuol, a J. E. Davies yn y Dosbarth Gogleddol i ofalu am hyn, rhag i ddim annymunol ddygwydd o ddiffyg hyn."

Yn 1870, yn Nghymanfa St. Clair, ymofynwyd, "A oedd ddim yn bosibl cael modd i sicrhau ein capeli yn eiddo i'r Corff, yn lle eu bod yn eiddo lleol, fel y maent yn bresenol?" Cyflwynwyd y mater i ofal y Llywydd, y Parch. J. L. Jeffreys, i wneyd ymchwiliad iddo erbyn y Gymanfa nesaf. Cafwyd adroddiad ffafriol ganddo o'r posiblrwydd o gael ein haddoldai yn feddiant cyfreithiol. Nodwyd pwyllgor o bump i dynu allan freinlen (*charter*) unol â'r gyfraith, a'i chyflwyno i sylw y Gymanfa nesaf—y Parchn. W. Roberts, D. D., E. F. Jones, J. E. Davies, D. D., L. S. Jones a Mr. John Lucas.

Drachefn, yn Nghymanfa Bellevue, 1871, penodwyd pwyllgor o dri i ffurfio *charter* ar gapelau y Cyfundeb yn nghylch y Gymanfa—Parchn. W. Roberts, D. D., M. A. Ellis, M. A., a Mr. Daniel Moses, a rhoddwyd i sylw y pwyllgor "y priodoldeb fod gweithredoedd y capelau yn cael eu

cadw gan un person, er mwyn diogelwch a chyfleusdra i'w cael." Yn 1872, yn West Bangor, rhoddwyd anogaeth daer i'r pwyllgor ar y *charter* i weithredu yn ddioed, a dwyn eu hadroddiad i'r Gymanfa nesaf. Felly, yn Hyde Park, 1873, mae y pwyllgor yn gwneyd eu hadroddiad, a'i gynwys oedd, nad ellid dal eiddo eglwysig ond trwy un person yn sefyll dros yr holl Gyfundeb, neu fel yn bresenol trwy ymddiriedolwyr. Er hyny, penderfynwyd i'r pwyllgor barhau, a thri o'r Dosbarth Deheuol i gael eu hychwanegu atynt, i drefnu ffurf o *charter* at wasanaeth yr holl eglwysi o fewn cylch y Gymanfa hon. Y pwyllgor, fel y mae yn sefyll yn bresenol, ydynt y Parchn. W. Roberts, D. D., M. A. Ellis, M. A., a Mr. Daniel Moses, Dosbarth Gogleddol; y Parchn. E. F. Jones, R. V. Griffiths, a Mr. J. Lucas, Dosbarth Deheuol. Penderfynwyd hefyd, "Fod y pwyllgor i gael holl *charters* yr eglwysi, er mantais i gydmaru y naill a'r llall, ac i dynu cynllun unffurf i'r oll." Yn Shenandoah gwnaeth y pwyllgor hwn adroddiad, a phenderfynwyd fod *charters* y gwahanol eglwysi i ddyfod i law Mr. Ellis, yn absenoldeb y cynullydd, Dr. Roberts. Ond yn Nghymanfa Wilkesbarre, 1874, penderfynwyd fod y *charters* i'w dychwelyd yn ol i'r eglwysi, gan y gellir cael un yn annibynol arnynt, a phenderfynwyd fod Dr. Davies i weithredu fel aelod o'r pwyllgor hwn yn lle Dr. Roberts.

Yn Nghymanfa Minersville, 1874, hysbyswyd nad oedd dim neillduol wedi ei wneyd yn mhellach gyda golwg ar y *charter*. Ar ol hyn mae y mater yn sefyll am flynyddoedd, mewn rhan, am na ddarfu i'r pwyllgor uchod weithredu, a hefyd o herwydd amlder a phwysigrwydd materion eraill oedd yn dyfod dan sylw y Gymanfa o bryd i bryd.

Ond yn Nghymanfa Plymouth, 1887, mae y mater yn cael ei adgyfodi drachefn, a phenodwyd y Parch. Thomas Roberts, Mri. J. B. Davies a T. J. Griffths yn bwyllgor i wneyd ymchwiliad, "A oedd yn bosibl cael breinlen i'r Cyfundeb o fewn cylch y Gymanfa hon, a ffurfio y cynllun goreu er ei chael erbyn y Gymanfa nesaf." Gwelir fod y mater yn cael ei godi i sylw fel pe na buasai ymofyniad o'r fath wedi bod

ger bron o'r blaen, yr hyn sydd yn dangos fod y brodyr yn anwybodus o weithrediadau y Gymanfa o'i dechreuad. Yn Nghymanfa Slatington gwnaeth y pwyllgor adroddiad, a phenderfynwyd cyflwyno y mater i sylw y ddau Gyfarfod Dosbarth, i gymeryd pleidlais arno. Yn Nghymanfa Bellevue, 1888, gohiriwyd ymdriniaeth bellach, am nad oedd llais yr eglwysi ar y mater wedi dyfod i law. Erbyn Cymanfa Bangor mae pleidleisiau yr eglwysi wedi dyfod i law, a'r mwyafrif o honynt yn ffafriol i gael breinlen i'r Gymanfa hon, "A dymunwyd ar y pwyllgor etholedig, ar gychwyniad y symudiad, i ymholi a chyfreithiwr profedig am y dull goreu a diogelaf i'w gwneyd, a thynu cynllun o honi erbyn y Gymanfa nesaf." Rhyddhawyd Mr. J. T. Griffiths oddiar y pwyllgor, a dewiswyd y Parch. Hugh Davies yn ei le. Yn Nghymanfa Ashley y flwyddyn ganlynol, rhyddhawyd y Parchn. Thomas Roberts a Hugh Davies, a dewiswyd y Parch. R. S. Thomas a Mr. John S. Davies i weithredu yn eu lle.

Ymddengys i'r mater orphwys heb i'r pwyllgor hwn wneyd dim hyd Gymanfa Bangor, 1891, pan benderfynwyd fod mater y freinlen i ddyfod i sylw y Gymanfa ddylynol, a bod y pwyllgor penodedig i gasglu pob gwybodaeth yn ei chylch erbyn hyny. Erbyn Cymanfa Olyphant nid oedd gan y pwyllgor un adroddiad eto. Nodwyd Mr. W. R. Williams i gymeryd lle y Parch. R. S. Thomas, yr hwn oedd yn ymadael, a bod y pwyllgor i barhau yn eu swydd nes sicrhau y freinlen. Hefyd, etholwyd y brodyr canlynol yn charter members: Parchn. W. E. Morgans, J. T. Morris, J. Hammond, R. E. Williams, Mri. J. B. Davies, John S. Davies a W. C. Roberts. Ond ni wnaeth y pwyllgor eu gwaith; ac yn Nghymanfa Slatington, 1892, penderfynwyd eu bod i aros yn eu swydd nes sicrhau breinlen i'r enwad. Yr un modd yn Nghymanfa Plymouth, 1893. Ond yn Nghymanfa Bangor, 1895, mabwysiadwyd a ganlyn: "Gan fod ychydig ddyryswch yn nglyn a phwyllgor y freinlen, penderfynwyd ein bod yn eu diswyddo, ac yn ethol pwyllgor newydd yn eu lle, a dewiswyd y Parch. H. Davies, Mri. J. B. Davies a

Lewis S. Jones. Yn Wilkesbarre, 1896, cyflwynodd y pwyllgor hwn form of application i'r Gymanfa; darllenwyd a chymeradwydwyd pob erthygl unigol, a chymeradwywyd ef yn y cyfanswm o hono. Cadarnhawyd y weithred, "By the Judges of the Court of Common Pleas, for the County of Luzerne, October 12, 1896." Felly mae Cymanfa Pennsylvania, y Cyfarfodydd Dosbarthiadol, yn gorfforaeth cyfreithiol.

### XI.—Cronfa Hen Weinidogion.

Yn Nghymanfa Minersville, 1867, fel cenadwri o Gyfarfod Dosbarth Pottsville, "Y priodoldeb o wneyd darpariaeth ar gyfer hen weinidogion a rhai methedig, a'u teuluoedd, y rhai a ddichon, oblegid eu hamgylchiadau, fod yn deilwng o elusen." Dichon fod marwolaeth y Parchn. John Davies a William Thomas, Shamokin, wedi bod yn achlysur i gymell y mater teilwng hwn i sylw y Gymanfa, ond ni wnaed un symudiad gyda'r achos yn ebrwydd.

Yn Nghymanfa Slatington, 1876, cafwyd sylw pellach arno, ac anogaeth i ffurfio "Trysorfa pregethwyr yn ol cynllun y Gymanfa Gyffredinol, a phenodwyd pwyllgor o saith i weithredu—y Parchn. William Roberts, D. D., Joseph E. Davies, D. D., Mri. Hugh L. Davies, Hugh G. Thomas, John T. Griffiths, Jonah Lewis, John S. Davies a'r Parch. Benjamin D. Davies. Ymffurfiodd y pwyllgor, gan ethol Dr. Roberts yn Llywydd, y Parch. B. Davies yn Ysgrifenydd, a Mr. Hugh L. Davies yn Drysorydd, a phenderfynwyd fod pob arian i ddyfod i law yr Ysgrifenydd, ac iddo yntau eu trosglwyddo i law y Trysorydd. Derbyniwyd cyfran o arian ar y pryd gan y Parchn. Dr. Roberts, Dr. Davies, Ed. J. Hughes a B. D. Davies, ac anogwyd y pwyllgor i weithio yn ddioed, a chwyddo y gronfa. Ond nid yw yn ymddangos fod y pwyllgor wedi gweithio, neu ynte, nad oedd eu hymdrechion yn llwyddiant. Yn 1873, yn Shenandoah, nodwyd pwyllgor o ddau—Mri. John Lucas a James R. James—i dynu cynllun o gronfa at gynal hen weinidogion, yn ol cynllun y Gymanfa Gyffredinol. Yn 1874, yn

Wilkesbarre, penderfynwyd fod y Parchn. J. E. Davies, D. D., M. A. Ellis, a Thos J. Phillips i weithredu fel pwyllgor er cael allan gynllun i'r Pwyllgor Cyffredinol. Yn Plymouth, 1876, rhoddwyd mantais i aelodau newyddion i ymuno, ac i dderbyn arian. Ond ymddengys nad oedd llwyddiant ar y symudiad o gwbl. Yn Nghymanfa Taylor, 1880, penderfynwyd fel y canlyn: "Yn ngwyneb methiant y mudiad, awdurdodwyd y Trysorydd i ddychwelyd yr arian sydd yn ei law at y gronfa i'r cyfranwyr." Yn Nghymanfa Slatington, 1883, daeth y mater i sylw drachefn, fel cenadwri oddiwrth y Gymanfa Gyffredinol i wneyd sylw ar "Drysorfa gweinidogion hen a methedig," ond gadawyd y mater ar y bwrdd, ac yno mae eto.

Nid ydym yn gwybod fod un Gymanfa heblaw Wisconsin wedi gweithredu dim gyda'r achos hwn. Yno mae Cronfa mewn sefyllfa lwyddianus, a gweddwon rhai o'r gweinidogion ymadawedig yn derbyn cymorth oddiwrthi. Nid oes un achos yn fwy teilwng o gefnogaeth yr eglwysi, ac yn dal cysylltiad mor agos a'u llwyddiant, na gwneyd darpariaeth i leddfu ychydig ar ofidiau henaint y rhai sydd wedi eu gwasanaethu yn ffyddlawn ar hyd eu hoes.

## XII.—Y Brodyr a Dderbyniwyd yn Aelodau o'r Gymanfa.

Y pryd hwn yr oedd hyny yn cael ei wneyd trwy arholiad cyffelyb ag a wneir yn awr yn y Cyfarfod Dosbarth.

1859—Yn Nghymanfa Mai, yn St. Clair, arholwyd y brawd John Moses, Olyphant, am ei brofiad a'i egwyddorion, gan y Parchn. Thomas Williams, Slatington, a Thomas R. Jones, Pittston, a derbyniwyd ef yn aelod o'r Gymanfa.

1860—Yn Nghymanfa Pittston derbyniwyd y brawd Ebenezer S. Jones, Slatington, i undeb a'r Gymanfa.

1862—Yn Nghymanfa Slatington, fel cynygiad o'r Cyfarfod Dosbarth Deheuol, mae y brawd M. A. Ellis, Slate Hill, yn cael ei dderbyn yn aelod o'r Gymanfa.

1864—Yn Nghymanfa Danville, y brawd E. D. Humphreys, West Bangor.

1865—Yn Nghymanfa St. Clair y brodyr William Harrison, Columbia, a William J. Lewis, Wilkesbarre.

1867—Yn Nghymanfa Minersville, y brodyr Benjamin D. Davies, St. Clair, a William R. Thomas, Mahanoy City.

1868—Yn Nghymanfa Pittston derbyniwyd y brawd Lewis S. Jones yn aelod o'r Gymanfa.

1870—Yn St. Clair, y brawd E. C. Evans, Shenandoah.

1873—Yn Nghymanfa Shenandoah, y brodyr John R. R. Jones, Slatington; W. D. Jenkins, Wilkesbarre; W. E. Morgan, Gibsonburg; Ebenezer Evans, Pottsville; a John R. Jones, Shenandoah.

1878—Yn Nghymanfa Pottsville, y brawd John L. Anwyl, Minersville.

## XIII.—Ordeiniadau.

1859—Mai 21-23, yn St. Clair, y Parch. John Adams, Minersville. Cyflawnwyd y gwasanaeth hwn: Dechreu, Parch. Thomas R. Jones, Pittston; Natur Eglwys, E. F. Jones, Danville; Holi ei egwyddorion, Parch. W. Roberts, D. D., New York; a'r Cyngor gan y Parch. John Davies, Blakely.

1860—Medi 28-30, yn Pittston, Parchn. Daniel J. Morgans, Pottsville; Thos. J. Phillips, Bellevue; John Moses, Olyphant; Joseph Rees, Cattaraugus, N. Y. Darllenwyd gan y Parch. John Davies; holwyd eu hegwyddorion gan y Parch. E. F. Jones; Natur Eglwys, gan y Parch. Thos. R. Jones; a'r Cyngor gan y Parch. W. Rowlands, D. D.

1863—Yn Nghymanfa Pottsville, y brawd John R. Williams, Scranton. Holwyd ef am ei brofiad gan y Parch. Howell Powell, Cincinnati; am ei deimlad gyda golwg ar bregethu, gan Dr. Rowlands. Llywyddid y cyfarfod ordeinio gan y Parch. H. Powell. Gwasanaethwyd gan y Parchn. John Moses trwy ddarllen a gweddio; holwyd ei egwyddorion gan E. J. Hughes; Natur Eglwys, E. F. Jones; Cyngor, J. Davies, Blakely.

1865—Tachwedd 11, 12, yn Pittston, y Parch. Wm. Harrison, Columbia. Darllenwyd y rhanau arferol gan y Parch. John Davies; yn traddodi ar Natur Eglwys, Parch. E. J. Hughes; Holi ei egwyddorion, Dr. Roberts; a'r Cyngor gan y Parch. J. E. Davies, D. D.

1868—Yn Slatington, Mai 23, 24, dygwyd achos y brodyr B. D. Davies, St. Clair, a W. J. Lewis i sylw. Ond yr oedd y cais am ordeinio Mr. Lewis wedi dyfod o'r eglwys, yn lle trwy y Cyfarfod Dosbarth, ac anfonwyd ei fater ef yn ol i'r eglwys er mwyn ei gyflwyno yn rheolaidd trwy y Cyfarfod Dosbarth. Yn y Gymanfa hon penderfynwyd gwneyd newidiad ar y drefn o arholi, ac fod y brodyr a ordeinir i fyned dan arholiad neillduol ar bwnc penodedig. Nodwyd ar y Parch. E. F. Jones a'r brawd E. Evans, Cymru Newydd, i'w harholi ar "y gyfatebiaeth rhwng dyfodiad marwolaeth trwy Adda, a bywyd trwy Grist," seiliedig ar Rhuf. 5: 12-21, ac ordeiniwyd y ddau frawd yn Minersville Hydref 9, 10, 1868—y Parchn. E. F. Jones i draethu ar Natur Eglwys; M. A. Ellis i holi eu hegwyddorion; John L. Jeffreys i roddi y Cyngor; a Joseph E. Davies, D. D., i ddyrchafu yr urdd weddi. Yn y Gymanfa hon bu sylw ar achos y brawd W. Matthews, a phenodwyd maes llafur iddo erbyn y Gymanfa nesaf, "Y cysondeb rhwng cyfiawnhad trwy ffydd gan Paul, a chyfiawnhad trwy weithredoedd gan Iago," y Parchn. J. L. Jeffreys, M. A. Ellis, Thos. J. Phillips, a dau frawd o blith y diaconiaid a benodir gan y Cyfarfod Dosbarth i'w arholi. Ordeiniwyd ef yn Nghymanfa St. Clair, Mai 13-16, 1870. Traethwyd ar Natur Eglwys gan y Parch. M. A. Ellis; holwyd ei egwyddorion gan y Parch. E. F. Jones; a rhoddwyd y Cyngor gan Dr. Roberts, ac offrymwyd yr urdd weddi gan y Parch. John Owen, Ty'n Llwyn, G. C.

1877—Mai 18-20, yn Shenandoah, neillduwyd y brawd W. H. Williams, Wilkesbarre. Holwyd ef o'r Cyffes Ffydd gan Dr. Roberts. Yr araeth ar Natur Eglwys, y Parch. E. J. Hughes; a'r Cyngor gan y Parch. R. H. Evans.

1878—Ebrill 26-28, ordeiniwyd y brodyr W. E. Morgans, Warrior Run, ac E. C. Evans, Shenandoah. Y pwyllgor arholiadol oedd y Parchn. R. H. Evans, E. J. Hughes a Mr. John Lucas. Cyflawnwyd y gwasanaeth gan y Parchn. Thos. B. Thomas yn dechreu; E. J. Hughes yn gofyn y cwestiynau; W. H. Williams yn traethu ar Natur Eglwys; ac R. H. Evans yn traddodi y Cyngor.

1879—Wilkesbarre, Hydref 24-26, y Parch. W. D. Jenkins. Y pwyllgor arholialol, y Parchn. W. H. Williams ac E. J. Hughes, a Mr. John M. Jones. Dechreuwyd y cyfarfod gan y Parch. W. A. Jones, Utica: holwyd y cwestiynau arferol gan y Parch. W. H. Williams; darllenwyd papyr ar Natur Eglwys gan y Parch. Thos. B. Thomas; a'r Cyngor gan y Parch. J. E. Davies.

1883—Yn Carbondale, Mai 25-27, y brawd John R. Jones, Taylor. Yr arholwyr oedd y Parchn. W. E. Morgans. William D. Jenkins a Mr. Daniel D. Roderick. Dechreuwyd y cyfarfod gan y Parch. Joseph Rees, a holwyd y cwestiynau gan y Parch. Morris Roberts, Pwllheli; Natur Eglwys gan y Parch. W. H. Williams; a'r Cyngor gan y Parch. James Jarret. Yr oeddid hefyd wedi bwriadu ordeinio y brawd J. R. R. Jones, Slatington, yr un pryd, ond barnodd yn ddoeth i beidio sefyll arholiad y pryd hwnw.

1883—Yn Slatington, Hydref 19-21, neillduwyd y brodyr R. S. Thomas ac E. W. Jones. Pwyllgor arholiad Mr. Thomas oedd y Parchn. W. E. Morgans, W. H. Williams a Mr. John S. Davies. Ordeiniwyd Mr. Jones ar sail certificate o'r Hen Wlad. Gwasanaethwyd yn yr ordeiniad hwn trwy holi y Cwestiynau gan y Parch. W. E. Morgans; Natur Eglwys, gan y Parch. R. F. Jones; a'r Cyngor gan y Parch. Edward J. Hughes.

1886—Yn Wilkesbarre, Mai 8, 9, ordeiniwyd y brawd Hugh Hughes, Ashley. Pwyllgor yr arholiad oedd y Parchn. J. T. Morris, Thos. J. Phillips a Mr. Lewis D. Williams. Dechreuwyd gan y Parch. W. H. Williams, a holwyd y Cwestiynau gan y Parch. E. W. Jones. Traethwyd ar Natur Eglwys gan y Parch. W. E. Morgans, a rhoddwyd y Cyngor gan y Parch. Thos. J. Phillips, a'r urdd weddi gan Dr. Roberts.

1886—Hydref 16, 17, yn Shenandoah, y brawd J. E. Harris, West Bangor. Y pwyllgor arholiadol oedd y Parchn. R. S. Thomas, W. E. Morgan a Mr. D. Williams, Pottsville. Holwyd y Cwestiynau gan y Parch. Hugh Davies; traethwyd ar Natur Eglwys gan y Parch. W. D. Jenkins; rhodd-

wyd y Cyngor gan y Parch. R. S. Thomas; a'r urdd weddi gan y Parch. James Donne.

1888—Yn Bellevue, Mai 18-20, ordeiniwyd y brodyr John Isaac Hughes, Olyphant, ac R. E. Williams, Bangor. Y pwyllgor fu yn arholi Mr. Williams oedd y Parchn. Thomas Roberts, W. H. Williams, J. E. Harris, a Mr. James Owen. Ordeiniwyd Mr. Hughes ar sail certificate o'r Hen Wlad. Gwasanaethwyd y tro hwn, gan ddechreu trwy ddarllen y rhanau arferol gan y Parch. W. H. Williams; holi y cwestiynau gan y Parch. W. E. Morgans; Natur Eglwys gan y Parch. E. W. Jones; a'r Cyngor gan y Parch. Thos. Roberts; a'r urdd weddi gan Hugh Davies.

1889—Yn Ashley, Mai 17-19, ordeiniwyd John J. Hughes, Miners Mills. Y pwyllgor fu yn arholi y brawd oeddynt y Parchn. Hugh Davies, R. S. Thomas, Hugh Hughes a Mr. Ed. Foulkes, Bangor. Yn y gwasanaeth hwn dechreuodd y Parch. W. E. Morgan; holwyd y cwestiynau o'r Cyffes Ffydd gan y Parch. R. S. Thomas; y Parch. J. T. Morris oedd yn traethu ar Natur Eglwys; a'r Cyngor gan y Parch. H. Davies; a'r urdd weddi gan y Parch. W. J. Lewis.

1890—Yn Plymouth, Mai 2-4, ordeiniwyd Morgan J. Morgans, Carbondale. Y pwyllgor arholiadol oedd y Parchn. R. E. Williams, J. T. Morris, J. W. Morgans, a Mr. R. C. Powell, Hyde Park. Cyflawnwyd y gwasanaeth y tro hwn trwy ddechreu gan y Parch. J. W. Morgans; traethu ar Natur Eglwys gan y Parch. Hugh Hughes; Holi y Cwestiynau gan y Parch. Thos. Charles Edwards, D. D., Aberystwyth; y Cyngor gan y Parch. W. E. Morgans; a'r urdd weddi gan y Parch. William Williams, Buenos Ayres.

1894—Yn Bellevue, Mai 17-19, ordeiniwyd W. Jones Edwards ar sail ei certificate. Dechreuwyd gan y Parch. R. Jones, Danielsville. Traethwyd ar Natur Eglwys gan y Parch. H. F. Williams; holi y Cwestiynau gan y Parch. Hugh Davies; a rhoddwyd y Cyngor gan y Parch. John O. Jones.

1896—Yn Slatington, Hydref 23-25, ordeiniwyd y brawd John J. Williams, Olyphant. Y pwyllgor arholiadol oedd

y Parchn. John O. Jones, John T. Morris, J. W. Morris a Mr. John S. Davies. Dechreuwyd y gwasanaeth gan y Parch. R. E. Williams; rhoddwyd yr araeth ar Natur Eglwys gan y Parch. W. J. Lewis; Holwyd y Cwestiynau gan y Parch. Hugh Hughes; a rhoddwyd y Cyngor gan y Parch. J. T. Morris; offrymwyd yr urdd weddi gan y Parch. W. R. Matthews.

## XIV —Y Brodyr Dderbyniwyd i Undeb y Gymanfa trwy Lythyrau.

1864—Yn Danville, y Parch. D. Charles Evans, o Gymanfa New York.

1864—Yn Scranton, y Parch. J. E. Davies, o Gymanfa Ohio.

1866—Yn Scranton, y Parch. J. L. Jeffreys, o Gymanfa Ohio.

1868—Yn Pittston, y Parch. M. A. Ellis, o Gymanfa Ohio.

1869—Yn Wilkesbarre, Parch. W. Roberts, D. D., o Gymanfa New York.

1870—Yn St. Clair, Parch W. R. Thomas, o Gymanfa Ohio.

1874—Yn Wilkesbarre, Parch. R. H. Evans, o Gymanfa Ohio,

1875—Yn Bangor, Parch. E. J. Hughes, o Gymanfa New York.

1879—Yn Carbondale, y Parch. Thos. B. Thomas, o Gymanfa Ohio.

1881—Yn Scranton, Parch. Jos. Rees, o Gymanfa Ohio.

1881—Yn Plymouth, Parch. James Jarret, o Gymanfa New York.

1882—Yn Wilkesbarre, y Parch. W. E. Morgans, o Gymanfa New York.

1883—Yn Slatington Parch. Hugh Davies, o Gymanfa New York.

1883—Yr un pryd, Parch. R. F. Jones, o Gymanfa Minnesota.

1885—Yn Hyde Park, Parch. J. T. Morris, o Gymanfa Wisconsin.

1886—Yn Shenandoah, Parch. Hugh Davies, o Gymanfa Ohio.

1887—Yn Plymouth, Parch. Thos. Roberts, o Gymanfa Ohio.

1888—Yn Hyde Park, Parch. J. W. Morgans, o Gymanfa Minnesota.

1889—Yn Ashley, Parch. W. J. Lewis, o Gymanfa y Gorllewin.

1889—Yn Slatington, Parch. Abram Edmunds, o Gymanfa Ohio.

1890—Yn West Bangor, Parch. D. C. Philiips, o Gymanfa Ohio.

1891—Yn Bangor, Parch. J. Hammond, o Gymanfa Wisconsin.

1891—Yr un pryd Parch. H. F. Williams, o Gymanfa New York.

1893—Yn Wind Gap, Parch. J. O. Jones, o Gymanfa Wisconsin.

1893—Yn Wind Gap, Parch. J. R. Evans, o Gymanfa New York.

1893—Yn Wind Gap, Parch. R. R. Jones, o Gymanfa Ohio.

1894—Yn Philadelphia, Parch. J. W. Morris, o Gymanfa New York.

1894—Yr un pryd Parch. Ellis Roberts, o Gymanfa New York.

1895—Yn Bellevue, Parch. E. W. Jones, o Gymanfa New York.

## XV.—Brodyr Dderbyniwyd yn Achlysurol trwy Wahoddiad neu Ymwellad.

Yn y blynyddoedd cyntaf yr oedd undeb ac ymweliadau rhwng y Dalaeth hon a New York, ac nid oedd neb yn dychymygu am ymweliadau o'r Hen Wlad. Ond yn y blynyddoedd diweddaf mae gwyddoniaeth a chelfyddyd wedi gwella cyfleusderau teithiol, fel mae y pellder dros y mor, mewn cydmariaeth, yn llawer llai, ac yn ysbaid y gyfres hon yr ydym yn cael y brodyr yn gogwyddo yn serchog at eu mam wlad, yn hytrach na'u brodyr yn y dwyrain neu y gorllewin.

1860. Yn Slate Hill, mae y Parch. W. Hughes, Utica, yn bresenol.

1860. Yn Pittston, mae y Parch. William Rowlands, D. D., yn bresenol, a hon oedd y Gymanfa olaf iddo ef fod yn bresenol yn Pennsylvania. Clywsom lawer o son am ei bregethau yn y Gymanfa hon fel rhai godidocaf ei oes.

1861. Yn Minersville yr oedd y Parch. Thomas Jenkins, Utica, yn y Gymanfa hon, a sylwyd ar y priodoldeb o anfon gwahoddiad i'r Parchn. John Phillips, Bangor, ac Owen Thomas, Llundain, i ddyfod ar ymweliad a'r wlad hon. Hyd yr ydym yn cofio, dyma y cynyg cyntaf o'r fath yn un o'n Cymanfaoedd. Wedi ymdrin a'r mater, penderfynwyd, "Yn ngwyneb amgylchiadau presenol y wlad mai annoeth a fyddai hyny, er ein bod yn awyddus am eu gweled a'u clywed."

1862. Yn Bellevue, y Parch. Howell Powell, Cincinnati, O. Cafwyd anerchiad ganddo am yr hyn a welodd ac a glywodd ar ei ymweliad a Chymru.

1863. Yn Pottsville, y Parch. John Jones, Rhyd Bach (yn awr Emporia). Cafwyd anerchiad ganddo ar ansawdd yr achos yn Nghymru, a nodwyd y Parchn. E. F. Jones a Thos. J. Phillips i anfon cyfarchiad dros y Gymanfa at y brodyr yn yr Hen Wlad.

1865. Mae y Parch. Thos. Phillips, D. D., yn ymweled a'r wlad dros Feibl Gymdeithas Llundain, ac yn nglyn a hyny ymwelodd a'r Cymanfaoedd a'r sefydliadau Cymreig yn dra manwl.

1866. Mae Cymanfa Wisconsin yn cael ar ei meddwl i anfon gwahoddiad i'r Parchn. Owen Thomas a John Phillips, ac anfonwyd llythyr i'r Gymanfa hon er eu cymell i gydweithredu, ond dyma y penderfyniad: "Oblegid ein hanallu i ddwyn treuliau a thalu y brodyr yn anrhydeddus, y buasai yn well peidio."

1866. Mae Cymanfa West Bangor yn anfon gwahoddiad i'r Parch. Wm. Jones, Wisconsin, i dalu ymweliad â chylch y Gymanfa, ac i ddyfod erbyn y Gymanfa ddylynol yn Hyde Park.

1867. Yn Minersville, darllenwyd cred-lythyrau, a rhoddwyd derbyniad cynes i'r Parch. Thomas Levi, Ystradgynlais. Yr un pryd, fel ymwelwyr, i'r Parchn. D. J. Lewis, Wisconsin, ac R. H. Evans, Johnstown.

1869. Yn Pottsville, Parch. William Roberts, D. D., New York.

1870. Yn St. Clair, darllenwyd llythyrau cymeradwyol, a rhoddwyd derbyniad serchog i'r Parch. John Owen, Ty'n Llwyn.

1873. Yn Hyde Park, estynwyd gwahoddiad i'r Parchn. James Lamb a Thos. Levi i ddyfod trwy gylch y Gymanfa.

1874. Yn Wilkesbarre, fel ymwelwyr, derbyniwyd y Parchn. John Moses, Niles; Owen Evans, Cincinnati; ac R. H. Evans, Columbus, Ohio.

1874. Yn Minersville, Parch. W. C. Roberts, D. D., Elizabeth, N. J.

1875. Yn Hyde Park, Parch. Thos. B. Thomas, Alliance, Ohio.

1876. Yn Slatington, Parch. John Prichard, New York.

1879. Yn Carbondale, Parch. Thos. R. Jones, ar ei daith i Gymru.

1879. Yn Wilkesbarre, y Parchn. G. H. Humphreys, James Jarret, William A. Jones, John Adams o New York.

1880. Yn Minersville, gwahoddwyd y Parch. Edmund Edmunds, Abertawe, trwy gylch y Gymanfa.

1880. Yn Taylor, rhoddwyd derbyniad cynes i'r Parch. Rees Evans, Cambria, ar ei ddychweliad o'r Presbyterian Council yn Philadelphia. Hefyd, i'r Parchn. John Moses a Thos. R. Jones.

1881. Yn Hyde Park, Parch. Hugh Davies o New York.

1881. Yn Plymouth, rhoddwyd derbyniad serchog i'r Parch. Thos. Thomas, Llanymddyfri, ar sail cred-lythyrau.

1883. Yn Carbondale, derbyniwyd y Parch. Morris Roberts, Pwllheli, ar sail llythyrau cymeradwyol.

1884. Yn Bellevue, trwy wahoddiad, y Parch. H. P. Howell, D. D., Milwaukee. Hefyd, Hugh Hughes o Athrofa Princeton; ac estynwyd gwahoddiad i'r Parchn. Richard

Hughes, Iowa; Richard Isaac a Thos. E. Hughes, ar eu dychweliad o Gymru.

1885. Yn Hyde Park, rhoddwyd derbyniad croesawgar i'r Parchn. Rees Evans, Llanwrtyd; David G. Jones, Tonau; a W. Dickens Lewis, ar sail cred-lythyrau.

1886. Yn Shenandoah, Parch. James Donne, Llangefni.

1887. Yn Plymouth, y Parch. Evan Jones, Caernarfon, a'r Parch. Thos. Edwards, Cwmafon.

1887. Yn Slatington, darllenwyd llythyr oddiwrth y Parch. Dr. Edwards, Bala, yn egluro ei anallu i fod yn bresenol, yn ol gwahoddiad Cymanfa Shenandoah. Yr un pryd rhoddwyd derbyniad i'r Parch. John W. Roberts a'i gyfaill, Thos. Hughes, Mankato, ar eu taith i Gymru.

1888. Yn Bellevue, rhoddwyd derbyniad i'r Parch. Mostyn Jones, Arfon, ar sail ei lythyrau cymeradwyol.

1890. Yn Plymouth, croesawyd y Parchn. William Williams, Buenos Ayres; D. C. Phillips, Hugh F. Williams a Thos. C. Edwards, D. D., o'r Bala. Cafwyd ganddo anerchiad yn llawn o emau doethineb.

1891. Yn Hyde Park, y Parchn. John Wynne Jones, Baltimore; John Hammond a Robert Williams, Rome, N. Y.

1892. Yn Olyphant, derbyniwyd y Parchn. Griffith Ellis, Bootle; ac Owen Evans, Colwyn Bay.

1892. Yn Slatington, y Parchn. William T. Williams (A.), a John W. Morris, Vermont.

1893. Yn Wilkesbarre, Parchn. John O. Jones o Wisconsin; Edward Lloyd a John Williams o Gymru.

1893. Yn Wind Gap, y Parch. Thos. R. Jones o Wisconsin.

1895. Yn Plymouth, y Parch. W. Ryle Davies o Lundain.

1895. Yn Bangor, y Parch. William Elias o Gymru.

1896. Yn Wilkesbarre, y Parchn. J. Hughes Parry, Utica; Thomas B. Thomas, Monroe, N. Y.

### XVI.—Ymadawiad trwy Lythyrau.

Yn yr un cyfnod rhoddwyd llythyrau ymadawol neu ymweliadol i'r brodyr canlynol:

1860. Yn Nghymanfa Slate Hill, rhoddwyd llythyr i'r Parch. Joseph Rees, Carbondale, yn ei gyflwyno i Gymanfa New York.

1862. Yn Nghymanfa Bellevue, rhoddwyd llythyr i'r Parch. Thos. R. Jones yn ei gyflwyno i Gymanfa New York.

1864. Yn Danville, rhoddwyd llythyrau ymadawol i'r Parchn. Ebenezer T. Jones ac M. A. Ellis i gylch Cymanfa Ohio.

1865. Yn St. Clair, awdurdodwyd yr Ysgrifenydd i roi llythyr i'r Parch. D. C. Evans, Danville, os byddai yn ymadael ac yn dychwelyd yn ol i Gymru.

1868. Yn Nghymanfa Slatington, caniatawyd llythyrau i'r Parchn. W. Harrison a W. R. Thomas i Gymanfa Ohio, ac E. D. Humphreys i Gymanfa New York.

1871. Yn Nghymanfa Bellevue, gwnaeth John L. Jeffreys sylwadau am ei ymweliad â Chymru, a dymunodd am lythyr yn ei gyflwyno i Gymanfa Ohio.

1873. Yn Hyde Park, rhoddwyd llythyr cymeradwyaeth i'r Parch. Edward J. Hughes yn ei gyflwyno i Gymanfa New York.

1873. Yn Shenandoah, rhoddwyd llythyr i'r brawd John R. R. Jones i ymweled a Chymru.

1874. Yn Wilkesbarre, rhoddwyd llythyrau cymeradwyol i'r Parch. William Roberts, Bellevue; a William J. Lewis, Plymouth, i ymweled a Chymru.

1875. Yn Bangor, rhoddwyd llythyr ymadawol i'r Parch. E. F. Jones, West Bangor, i Gymanfa Ohio, wedi bod yn aelod ffyddlawn o'r Gymanfa hon am ugain mlynedd.

1876. Yn Slatington, rhoddwyd llythyrau i'r Parch. Edward C. Evans o Athrofa Princeton, i ymweled a Chymru, ac i'r Parchn. M. A. Ellis ac R. Vaughan Griffiths yn eu cyflwyno i Gymanfa Ohio.

1877. Yn Nghymanfa Shenandoah, rhoddwyd llythyrau ymadawol i'r Parchn. W. Roberts, D. D., a Benjamin D. Davies, yn eu cyflwyno i Gymanfa New York, a'r Parch. William J. Lewis yn ei gyflwyno i Gymanfa Wisconsin. Yn hon hefyd rhoddwyd llythyr i'r Parch. E. J. Hughes i fyned ar ymweliad a Chymru.

1878. Yn Pottsville, rhoddwyd llythyrau cymeradwyol i'r Parch. R. H. Evans er ei gyflwyno i Gymanfa Wisconsin, a'r Parch. W. E. Morgans, er ei gyflwyno i Gymanfa New York.

1880. Yn Minersville, rhoddwyd llythyr gollyngdod i'r Parch. E. C. Evans, Shenandoah, i Gymanfa New York.

1881. Yn Nghymanfa Hyde Park, mae y Parch. W. D. Jenkins yn myned i'r West er mwyn ei iechyd, a phenderfynwyd ei ollwng gyda'n dymuniadau goreu, yn naturiol ac ysbrydol.

1883. Yn Slatington, caniatawyd llythyrau i'r Parchn. James Jarret a Thos. J. Phillips i fyned ar ymweliad a Chymru, ac awdurdodwyd hwy i'n cynrychioli yn y Cymanfaoedd y caffont gyfle i fod ynddynt. Ni ddychwelodd Mr. Jarret yn ei ol.

1884. Yn Bellevue, rhoddwyd llythyr i'r Parch. John R. Jones yn ei gyflwyno i Gymanfa Ohio fel brawd rheolaidd yn y weinidogaeth. Yr un amser, rhoddwyd llythyr cymeradwyaeth i'r Parch. Joseph Rees i fyned i Gymru, a'r Parch. W. E. Morgans, os bydd yn penderfynu myned, yr un modd.

1886. Yn Wilkesbarre, rhoddwyd llythyr cymeradwyaeth i'r Parch. J. T. Morris i fyned ar ymweliad a Chymru.

1887. Yn Nghymanfa Plymouth, rhoddwyd llythyrau cymeradwyaeth i'r Parchn. J. E. Harris, West Bangor, a W. R. Matthews, Olyphant, i fyned ar ymweliad a Chymru, y cyntaf er mwyn ei iechyd, a datganwyd cydymdeimlad y Gymanfa â Mr. Matthews wedi colli ei briod.

1888. Yn Hyde Park, rhoddwyd llythyr i'r Parch. John I. Hughes, yn ei gyflwyno i Gymanfa Minnesota.

1889. Yn Ashley, caniatawyd llythyr gollyngdod i'r Parch. Thomas Roberts pan alwai am dano. Hefyd, i'r Parchn. Thos. J. Phillips, J. E. Harris a W. D. Jenkins i fyned ar ymweliad a Chymru.

1889. Yn Slatington, rhoddwyd llythyr cyflwyniad i'r Parch. J. E. Harris i Gymanfa Deheudir Cymru.

1892. Yn Olyphant, rhoddwyd llythyrau cyflwyniad i'r

Parchn. R. F. Jones i Gymanfa Wisconsin; R. S. Thomas i Gymru; E. W. Jones i Gymanfa New York. Hefyd, i'r Parchn. W. H. Williams, Hugh Hughes, Abram Edmunds a D. C. Phillips i ymweled a Chymru.

1893. Yn Wilkesbarre, rhoddwyd llythyr cyflwyniad i'r Parch. John Hammond i Gymanfa Ohio.

1895. Rhoddwyd llythyr cyflwyniad i'r Parch. J. O. Jones i ymweled a Chymru. Yn Nghymanfa Plymouth, rhoddwyd gollyngdod i'r Parch. W. Jones Edwards at y Presbyteriaid.

1895. Yn Bangor, cyflwynwyd y Parch. Ellis Roberts, trwy lythyr, i Gymanfa New York.

1896. Yn Wilkesbarre, rhoddwyd llythyr cyflwyniad i'r Parch. R. E. Williams i ymweled a Chymru, a'r Parch. J. W. Morris, os bydd yn galw am dano.

## XVII.—Achosion o Ymrafael a Dysgyblaeth.

Yn Nghymanfa Bellevue, 1859, bu sylw ar fater o anghydfod rhwng y brawd J. R. Williams ac eglwys Scranton, ac er ei derfynu mabwysiadwyd y penderfyniad, "Fod i'r eglwys roddi llythyr ymadawol i Mr. Williams a'i deulu, fel aelodau eglwysig." Caniateid hyn dan amgylchiadau neillduol, ar yr un pryd datganwyd nad oedd caniatad i aelod symud o un eglwys i'r llall, oddieithr ei fod yn symud ei drigfan, heb ganiatad Cyfarfod Dosbarth.

Yn Nghymanfa Minersville, 1861, bu sylw manwl a phwyllog ar achos y brawd Thomas Williams o Slatington, a daethpwyd i'r penderfyniad nas gellid ei ystyried ef mwyach yn bregethwr o gwbl: (a) Am y caed ef yn euog o godi terfysg yn yr eglwys gartref; (b) Am ei fod yn ymyraeth a materion ei frodyr yn eu hamgylchiadau; (c) Am ei fod yn gomedd ufuddhau i'r Cyfarfod Dosbarth; a diarddelwyd ef.

Yn Bellevue, 1862, bu sylw ar achos o anghydfod rhwng yr eglwys hon a'r brawd J. R. Williams—ei fod wedi dweyd geiriau na ddylasai dan lywodraeth cynyrfiad y fynyd, ac i'r eglwys dan lywodraeth cynyrfiad cyffelyb deimlo. Y penderfyniad fabwysiadwyd oedd, fod i'r eglwys a Mr. Wil-

liams ystyried y mater, ac ymgymodi, ac iddo gael rhyddid i bregethu, a phenodwyd dau frawd i gario y genadwri hon i'r eglwys, y Parchn. E. J. Hughes a W. Roberts, D. D., New York.

1866. Yn West Bangor, dygwyd cwyn yn erbyn brawd yn y weinidogaeth o'r Dosbarth Gogleddol, ei fod yn cael ei gyhuddo o dwyll yn gysylltiedig a'i fasnach. Am nad oedd y brawd yn bresenol ni ellid trin yr achcs. Rhoddwyd awdurdod i'r Ysgrifenydd ei alw yn ol i'r wlad, trwy lythyr, os byddai raid, fel y gellid symud y gwarth oddiar yr achos. Am fod brys yn angenrheidiol, ymddiriedwyd i'r Cyfarfod Dosbarth drin yr achos, ac i fod yn gyfrifol i'r Gymanfa am y modd mae yn defnyddio yr hawl. Tebygol fod y cwynicn wedi eu troi yn ol ar y cyhuddwr, ac i'r Cyfarfod Dosbarth derfynu y mater.

1870. Yn Nghymanfa Plymouth, cadarnhawyd gweithrediadau y Cyfarfod Dosbarth yn niarddeliad y brawd J. R. Williams, yr hwn oedd erbyn hyn wedi llithro i ymarferiad a'r gwlybyroedd meddwol.

1876. Yn Slatington, ar sail llythyr oddiwrth swyddogion eglwys Wilkesbarre, yn cyhuddo y brawd L. S. Jones ei fod wedi gwyro oddiwrth yr athrawiaeth sydd yn ol duwioldeb, a phenderfynwyd yn unfrydol ein bod yn ei ddiarddel o fod yn bregethwr i'r Cyfundeb.

1884. Mae Cymanfa Slatington yn cymeradwyo gwaith y brawd J. R. R. Jones yn ymatal oddiwrth waith y weinidogaeth, ac yn dymuno arno barhau nes gwneyd ymchwiliad pellach i'r achos. Nodwyd pwyllgor i wneyd yr ymchwiliad—Parch. E. W. Jones, W. D. Davies a W. T. Owens. Yn Nghymanfa Hyde Park, 1885, penodwyd y pwyllgor i barhau, ac ychwanegwyd Mr. John R. Davies, Minersville, atynt. Dyfarniad y pwyllgor oedd: (a) Ei fod wedi bod yn euog o esgeulusdra ac annhrefn masnachol yn ei ymdrafodaeth a'i ofynwyr. (b) Nad yw yn ymddwyn yn addas o'i aelodaeth eglwysig yn nydd ei brofedigaeth, yn ystod y ddwy flynedd ddiweddaf. (c) Gobeithiwn y gwna adferu ei hun yn fuan, fel Cristion, ac i amodau aelodaeth eglwysig,

ond nis barnwn yn iawn ei anog fel ymgeisydd am y weinidogaeth o hyn allan. Wedi gwrando yr adroddiad, penderfynwyd yn unfrydol ein bod fel Cymanfa yn tori pob cysylltiad ag ef fel pregethwr; a bod yr Ysgrifenydd i anfon llythyr at eglwys Slatington i hysbysu hyny.

# PENOD V.

## CYFARFOD Y DOSBARTH GOGLEDDOL—EI HANES A'R MATERION FU DAN SYLW YNDDO—EI WEITHREDIADAU A'I BENDERFYNIADAU.

GWELSOM fod Cymanfa Minersville, 1846, wedi rhanu ei chylch yn ddau ddosbarth: (a) O Minersville i Old Mines. (b) O Danville i Carbondale. Wedi hyn mae y Gymanfa Gorfforedig a gynaliwyd yn Lehigh Gap yn rhanu y cylch yn dri Dosbarth. 1. Minersville, Pottsville a St. Clair, at yr hwn yr ychwanegwyd eglwys Philadelphia. 2. O Danville i Carbondale. 3. Summit Hill, Tamaqua a Lehigh Gap. Gwelir nad yw y rhaniad diweddaf yn newid dim ar derfynau daearyddol y Dosbarth Gogleddol. O Danville i Carbondale ydyw Dan a Beersheba y Dosbarth hwn wedi bod o'r dechreuad, ac felly y mae hyd yr awr hon. Dyma yw y casgliad oddiwrth y cofnodion ysgrifenedig yn y llyfr, ond mae yr adroddiad argraffedig o'r Gymanfa hono ychydig yn wahanol, yr hwn sydd fel y canlyn: "Penderfynwyd fod yr holl eglwysi yn cael eu rhanu yn ddau Ddosbarth, 1. Summit Hill, Beaver Meadows, Hazleton, Danville, Minersville, Pottsville ac Allentown i fod yn un Dosbarth. 2. Nanticoke, Hanover, Wilkesbarre, Cymru Newydd, Hyde Park, Blakely a Carbondale yr ail Ddosbarth." Tybiwn mai hwn yw yr adrodiad cywiraf gyda golwg ar Danville, canys yn 1869 y derbyniwyd yr eglwys hono i undeb a'r Dosbarth hwn. Eglur yw fod y Gymanfa yn cadw arolygiaeth dros y lleoedd uchod, ac mae yn arfer ei hawdurdod, megys yr oedd ganddi hawl gyfreithlawn i ranu y cwbl yn ddau ddosbarth, er mantais i'r arolygiaeth fod yn fwy manwl a thrwyadl. Y Gymanfa, gan hyny, sydd wedi creu a llunio y Cyfarfod Dosbarth, ond mae yn angenrheidiol mewn trefn i'w gorchymyn fod yn effeithiol,

fod i'r eglwysi o fewn y cylch gyfarfod a'u gilydd ac ymgorffori fel Dosbarth, ac arolygu yr eglwysi o fewn y cylch.

Pa bryd y dygwyd eglwysi y Dosbarth hwn i ffurf organyddol, ac y dechreuwyd cynal cyfarfodydd rheolaidd, nid oes dim yn y cofnodion yn ein hysbysu. Gellid casglu oddiwrth y cofnodion mai yn Carbondale, Chwefror 9, 10, 1856, y cynaliwyd y cyntaf, am yr hysbysir gan y cofnodydd y penderfynwyd fod llyfr i gael ei brynu at wasanaeth y Cyfarfod, a'r brawd Mr. John R. Williams i fod yn Ysgrifenydd. Ond mae adroddiad yn y "Cyfaill" yn dangos fod Cyfarfod Dosbarth wedi ei gynal yn Scranton, Chwefror 5, 6, 1853; ac am mai hwn ydyw y cyntaf mae genym hanes am dano, dodwn yma grynodeb o'i weithrediadau.

Nos Sadwrn pregethwyd gan y Parch. John Davies, Blakely. Boreu Sabboth pregethodd y Parch. John Davies. Am ddau o'r gloch cyfarfod eglwysig. Am chwech mae y brawd Daniel Scurry yn dechreu yr oedfa, a'r brodyr John R. Williams a John Davies yn pregethu.

Penderfynwyd fod y Gymanfa Gorfforedig i fod yn mis Mai, i ddechreu yn Danville, ac i ddybenu yn Carbondale. Hefyd, penderfynwyd i'r casgliad at ddwyn traul y Gymanfa gael ei anfon i Carbondale, a dymunid ar i'r gweinidogion fod yn bresenol yn y Gymanfa.

Penderfynwyd fod John Davies a David Williams i fyned i Carbondale i ddewis blaenoriaid. Penderfynwyd fod y brawd o Danville i aros fel y mae hyd y Gymanfa.

Hefyd, fod dymuniad difrifol ar i'r eglwysi ofalu am y plant. Os hwn oedd y cyntaf, mae yn eglur mai "dydd y pethau bychain" ydoedd yn ei bob peth. Pa un a gynaliwyd cyfarfodydd dylynol i hwn, hyd yr un y cyfeiriwyd ato uchod, yn Carbondale, 1856, nid oes genym ddim gwybodaeth; ond hwn yw y cyntaf ar y cofnodion; ac mae yr ail ar ei ol yn cael ei gynal yn Pittston Ferry, Medi 2, 1856. Yn hwnw penderfynwyd fod y cyfarfod yn rheolaidd ac mewn awdurdod.

Gelwid hwn y pryd hyny, "Cyfarfod Dosbarth Scranton a'r Cylchoedd," a thair eglwys—Carbondale, Scranton a

Pittston Ferry—a ymffurfiodd yn Gyfarfod Dosbarth i ddechreu. Adnabyddir ef yn awr dan yr enw "Cyfarfod Dosbarth Gogledd Ddwyrain Pennsylvania," yn cyraedd o Carbondale, ar hyd ddyffrynoedd Lackawanna a Wyoming, gydag afon y Susquehanna, i Danville.

Dodwn ger bron y darllenydd yn bresenol, amser corfforiad a derbyniad y gwahanol eglwysi i undeb â'r Cyfarfod Dosbarth. Buasem yn hoffi gwneyd hyny gyda manylrwydd, ond ni chaniata ein terfynau i ni wneyd hyny. Heblaw hyny, mae y cofnodion yn ddiffygiol am rai blynyddoedd, a rhai cyfarfodydd, naill ai heb eu cynal, neu heb eu cofnodi. Carbondale ydyw yr eglwys hynaf, nid yn unig yn y Dosbarth, ond yn nghylch y Gymanfa, wedi ei chorffori yn 1832; Cymru Newydd yn 1839; a Blakely yn 1848; ond eglwysi cymysg neu undebol oedd y ddwy ddiweddaf y pryd hwnw. Corfforwyd eglwys Harrison, neu Scranton, gan Dr. Rowlands, yn cael ei gynorthwyo gan Daniel Scurry, o Carbondale, tua diwedd y flwyddyn 1849. Gan hyny, Carbondale a Harrison oedd y ddwy eglwys gynrychiolid yn y cyfarfod gynaliwyd yn Carbondale yn mis Chwefror, 1856. Yn y cyfarfod hwnw mae un o ddiaconiaid Harrison yn galw sylw at y rhagolygon am achos yn Pittston Ferry, a phenodwyd y brawd John R. Williams (pregethwr) a Mri. Walter Phillips ac Evan Evans o Scranton, a Daniel Scurry o Carbondale (diaconiaid) i fyned yno i sefydlu eglwys. Gwnaed hyny ar y 15fed o Chwefror, 1856. Bellach, mae'r undeb yn cynwys tair eglwys; a dyma y cnewyllyn dechreuol o'r Cyfarfod Dosbarth Gogleddol. Nid yw yn beth tebyg fod eglwysi Methodistaidd wedi eu corffori yn Hanover, Nanticoke, Hazleton na Wilkesbarre; ond mai cynulleidfaoedd heb eu corffori, neu eglwysi undebol yn cynal cyfarfodydd a phregethu achlysurol, yn ol cyfleusdra oeddynt. Bellevue ydyw y nesaf o ran trefn. Edrychid ar yr eglwys hon am ryw dymor, fel parhad o eglwys Scranton, hyd nes ei derbyn i undeb a'r Dosbarth yn Nghyfarfod Pittston, Chwefror, 1858. Felly hefyd edrychid ar yr eglwys yn Hyde Park yn gangen o eglwys Bellevue, a bu y

ddwy yn bodoli dan yr un charter am rai blynyddoedd. Yn Pittston, Tachwedd, 1865, penderfynwyd fel y canlyn: "Fod ein cyfeillion yn Hyde Park, oedd yn gangen o eglwys Bellevue, i gael ei hystyried o hyn allan yn eglwys ar ei phen ei hun, fel rhyw eglwys arall yn y Dosbarth.

1864. Yn Nghyfarfod Medi nodwyd y Parch. Joseph E. Davies, a blaenor, i fyned i Wilkesbarre i gorffori eglwys, a derbyniwyd hi i undeb a'r Dosbarth yn Nghyfarfod mis Rhagfyr canlynol.

Plymouth.—Corfforwyd yr eglwys hon gan y Parch. J. E. Davies a'r Parch. M. A. Ellis, Mehefin 20, 1868, a derbyniwyd hi i undeb a'r Dosbarth yn Carbondale y mis Medi canlynol.

Danville.—Derbyniwyd yr eglwys hon trwy lythyr o'r Cyfarfod Dosbarth Deheuol, yn Wilkesbarre, Mehefin 20, 1869.

Olyphant.—O Gyfarfod Mai, 1870, yr hwn oedd yn Bellevue, anfonwyd y Parchn. J. E. Davies, W. H. Williams a Daniel Moses i'r lle hwn i gorffori eglwys. Gwnaethant hyny Gorphenaf 3ydd, a derbyniwyd yr eglwys i undeb a'r Dosbarth yn Carbondale, mis Medi canlynol.

Providence.—O Pittston Ferry, Rhagfyr, 1870, anfonwyd y Parch. M. A. Ellis a Mr. John M. Jones i'r lle hwn. Corfforwyd yr eglwys Ionawr 15, 1871, a derbyniwyd hi i undeb a'r Dosbarth yn Wilkesbarre yn mis Mawrth.

Summit Hill.—Ar gais Mr. John Beynon, anfonwyd y Parchn. J. E. Davies a W. H. Williams o Gyfarfod Providence, Mehefin, 1872, i'r lle hwn i sefydlu eglwys. Gwnaethant hyny Gorphenaf 7, 1872, a rhoddasant adroddiad o'u gwaith yn Nghyfarfod Medi yn Hyde Park.

Rushdale.—(Gibsonburg Jermyn). Yn Pittston, 1862, mae y Parchn. John Moses a John Davies yn gwneyd adroddiad eu bod, yn unol a chais blaenorol, wedi bod yn y lle hwn yn corffori eglwys. Ond aeth y cynyg hwnw yn fethiant oblegid amgylchiadau gweithfaol. Ond yn 1872, mae y Parch. B. D. Davies yn corffori eglwys yno, a derbyniwyd hi i undeb a'r Dosbarth yn Hyde Park, Medi, 1872.

Grand Tunnel.—Yn yr un cyfarfod mae y Parch. E. J. Hughes a Mr. Richard Roderick yn rhoi adroddiad eu bod wedi corffori eglwys yn y lle hwn, a derbyniwyd yr adroddiad, a'r eglwys i undeb a'r Dosbarth.

Blakely.—Yn Rhagfyr, 1872, penodwyd Dr. Davies a Mr. Thos. Jenkins i fyned i'r lle hwn i gorffori yr eglwys gymysg oedd yno, yn Fethodistaidd. Yn Mawrth, 1873, "Rhyddhawyd y pwyllgor hwn, a nodwyd y Parch. B. D. Davies a Mr. Thos. L. Jones yn eu lle, ond aeth yr ymgais hwn yn fethiant hefyd. Wedi hyny penodwyd y Parch. William Matthews a Mr. William Marsden, ac yn Bellevue, Rhagfyr 21, 1877, mae y pwyllgor hwn yn hysbysu eu bod wedi cwblhau y gorchwyl, a derbyniwyd yr eglwys i undeb a'r Dosbarth.

Bangor, Northampton.—Mawrth 22, 1873, gan y Parch. J. E. Davies a Mr. David Williams, Plymouth, a derbyniwyd hi i undeb a'r Dosbarth yn Carbondale, Mehefin canlynol.

Warrior Run.—Corfforwyd yr eglwys hon hefyd gan y Parch. J. E. Davies a Mr. Richard Roderick, a derbyniwyd hi i undeb a'r Dosbarth yn Plymouth, Hydref 12, 1873.

Moosic.—Sefydlwyd yr eglwys hon gan y Parch. Thos. J. Phillips, Hydref 12, 1873, a derbyniwyd hi i undeb a'r Dosbarth yn Plymouth y Rhagfyr canlynol.

Nanticoke.—Gwnaed ymgais i gorffori eglwys yn y lle hwn i ddechreu, mewn undeb â Grand Tunnel, gan y Parch. William Matthews, yn 1874, ond aeth y cynyg yn fethiant. Yn 1875, mae y Parch. W. J. Lewis a Mr. Jenkin Lewis yn corffori eglwys yno, ac aeth hono i'r dim hefyd. Yn 1883 mae y Parch. James Jarret a Mr. James Morgans, Plymouth, yn cael eu hanfon yno eto i sefydlu eglwys, a derbyniwyd hi i undeb a'r Dosbarth, Medi, 1884.

Taylorville.—Corfforwyd yr eglwys yn y lle hwn gan y Parch. R. H. Evans a Mr. W. D. Davies, Hyde Park, a derbyniwyd hi i undeb a'r Dosbarth yn Moosic, Mawrth, 1876.

Ashley.—Gan y Parch. Thos. J. Phillips a Mr. Lewis D. Williams, Plymouth, a derbyniwyd hi i undeb a'r Dosbarth yn Rhagfyr, 1883.

Miners Mills.—Yn Wilkesbarre, Mehefin, 1886, nodwyd Mri. J. T. Griffiths, David Roberts, a'r Parch. Thos. J. Phillips yn bwyllgor i ystyried amgylchiadau y lle. Yn mis Rhagfyr hysbyswyd fod eglwys wedi ei sefydlu yno, a derbyniwyd hi i undeb a'r Dosbarth.

Sugar Notch.—Y Parch. Hugh Davies a Mr. John T. Griffiths anfonwyd i'r lle hwn, a derbyniwyd yr eglwys i undeb a'r Dosbarth, Medi, 1886.

Rolling Mill Hill.—Derbyniwyd yr eglwys hon i undeb a'r Dosbarth Mehefin, 1886, yn Wilkesbarre.

Edwardsdale.—Yn Sugar Notch, Rhagfyr, 1888, penodwyd y Parch. W. H. Williams a Mr. Lewis S. Jones i sefydlu eglwys yn y lle hwn, a derbyniwyd hi i undeb a'r Dosbarth yn Nanticoke, Mawrth, 1889.

Avoca.—Gan y Parch. Hugh Hughes a Mr. Evan L. Evans, Moosic, derbyniwyd yr eglwys i undeb a'r Dosbarth, Medi, 1890.

Buttonwood.—Gan y Parch. R. E. Williams a Mr. Thos. R. Evans, Plymouth, a derbyniwyd yr eglwys i undeb a'r Dosbarth, Rhagfyr, 1894.

Cymru Newydd.—Dylasai sylw ar y lle hwn fod yn ei le priodol o ran amser. Eglwys gymysg oedd yno o'r flwyddyn 1839 hyd 1869, pan ymadawodd yr Annibynwyr i fod yn eglwys ar eu penau eu hunain, ac arosodd y Methodistiaid yn eu cartref, fel o'r blaen. Yn Medi, 1869, yr oedd y Cyfarfod Dosbarth yno, a dyna y pryd, mae yn debyg, y derbyniwyd yr eglwys i undeb a'r Dosbarth, er na ddywedir hyny mewn geiriau pendant.

Dyma yr oll o'r eglwysi sydd wedi eu corffori o dan nawdd y Cyfarfod Dosbarth hwn, o'r dechreu cyntaf hyd yn bresenol.

Wedi corffori yr eglwysi, yr ydym mewn mantais i edrych ar weithrediadau y Cyfarfod Dosbarth fu yn rheoleiddio eu bywyd, yn dufewnol ac allanol.

## I.—Achosion ein Haddoldai.

Yn nglyn a'r mater hwn, mae yn eglur fod y Cyfarfod Dosbarth Gogleddol, o'r cyntaf, wedi gweithredu gyda

ffyddlondeb teyrngarol i egwyddorion ac arferion y Cyfundeb. Egwyddor sylfaenol Methodistiaeth ydyw, fod y Gymanfa a'r Cyfarfod Dosbarth, fel ein llysoedd eglwysig, yn meddu awdurdod i arolygu holl amgylchiadau yr eglwysi yn dufewnol ac allanol, ac eiddo pob eglwys i fod at wasanaeth y Cyfundeb. Y dydd yr ymwrthodwn a'r egwyddor hon, peidiwn a bod yn Fethodistiaid yr un pryd. Nid oes un egwyddor ag mae y tadau fu yn sylfaenu yr achos ac yn adeiladu yr eglwysi yn y wlad hon, wedi gwneyd mwy drosti, nac un mater wedi cael mwy o sylw yn ein Cymanfaoedd, na chael rhyw gynllun i ddiogelu meddianau eglwysig yn eiddo i'r Cyfundeb. Yr hyn sydd yn ddirgelwch i ni ydyw eu bod mor aflwyddianus yn cyraedd yr amcan. Am y deng mlynedd cyntaf o hanes yr enwad yn y Dalaeth hon, yr oedd y Gymanfa yn arolygu pob achos mewn cysylltiad ag adeiladu capelau, ond wedi corffori y Cyfarfod Dosbarth mae y gwaith hwn yn disgyn yn naturiol i'w ofal; a'i fod wedi arolygu pob peth sydd yn dal cysylltiad â llwyddiant yr eglwysi yn y cyfeiriad hwn, mewn ffyddlondeb teyrngarol i'r Cyfundeb, sydd tu hwnt i ddadl, fel y cawn weled.

Yn Pittston, Mai, 1857, yr ail flwyddyn ar ol dechreu Cyfarfod Dosbarth, mae yn ymgymeryd a phenodi ymddiriedolwyr (trustees) ar gapel Bellevue—Mri. Walter Phillips, Thos. Jenkins, John Griffiths, John W. Morris a J. R. Williams. Yn yr un cyfarfod sylwyd fod yn angenrheidiol cael lle i gadw deeds y capelau.

Yn y cyfarfod a gynaliwyd yn Bellevue, 1858, penodwyd Mr. John R. Williams i wneyd ymchwiliad am gynllun i sicrhau gweithredoedd y capelau yn eiddo i'r Cyfundeb. Yn Nghyfarfod Pittston, 1859, penodwyd y Parch. John Moses a Mri. Evan Evans a Thos. Leyshon yn bwyllgor i ymweled ag eglwys Scranton, er eu cynorthwyo yn y drafferth maent ynddi gyda'r capel. Yn y cyfarfod a gynaliwyd yno Ionawr, 1860, barnwyd y buasai yn well er lles yr achos i symud y capel i'r dref.

Yn Carbondale, 1860, anogwyd yr eglwysi i fynu brein-

leni (charters) ar eu capelydd mor fuan ag y medront. Fod y brodyr yn ymdeimlo a'r pwysigrwydd o gael ein capelau yn feddiant cyfreithiol, sydd eglur oddiwrth a ganlyn: Yn Nghyfarfod Cymru Newydd, Hydref, 1871, bu sylw ar yr angenrheidrwydd am gael trefn, yn unol a'r gyfraith, i sicrhau ein haddoldai yn feddiant i'r Cyfundeb. Diwedd yr ymdriniaeth y pryd hwnw cedd cyflwyno y mater i'r eglwysi i gymeryd pleidlais arno, a gorchymyn i'r Ysgrifenydd anfon llythyr i bob eglwys o fewn cylch y Dosbarth, fel y galler cael eu llais yn y Cyfarfod dylynol. Yn hwnw gadawyd y mater ar y bwrdd, am nad oedd pleidlais yr eglwysi wedi dyfod i mewn; ac anogwyd yr Ysgrifenydd i anfon atynt drachefn.

Yn Danville, 1872, galwyd am y pleidleisiau, a chafwyd fod amryw yn anaddfed i bleidleisio, o ddiffyg goleuni mwy ar y mater. Anogwyd golygyddion y "Cyfaill" i roddi eglurhad arno, er mantais i'r eglwysi fod yn fwy unfrydol. Yn gymaint ag fod y mater eisoes dan sylw y Gymanfa, ni wnaed dim yn mhellach o fewn cylch y Dosbarth, a gadawyd iddo sefyll hyd y flwyddyn 1886.

Yn Nghyfarfod Nanticoke, 1886, galwyd sylw drachefn at yr angenrheidrwydd o gael breinlen (charter) i'r Trefnyddion Calfinaidd yn Pennsylvaina. Nodwyd y Parchn. Richard F. Jones, William E. Morgans, Thomas Roberts, Mri. James B. Davies a John T. Griffiths yn bwyllgor ar y mater.

Yn Providence, 1889, penodwyd ymwelwyr i fyned trwy yr eglwysi i egluro natur charter cyffredinol i'r enwad—y Parch. W. H. Williams a Mr. James B. Davies o Miners Mills i Danville; a'r Parch. Thos. Roberts a Mr. W. D. Davies o Moosic i Carbondale. Yn Cymru Newydd, 1889, cafwyd fod mwyafrif pleidleisiau yr eglwysi yn y Dosbarth yn ffafriol i gael breinlen gyffredinol i'r enwad. Penderfynwyd fod copi o'r freinlen i gael ei hargraffu a'i dwyn i sylw yr eglwysi cyn gwneyd dim mewn ffordd o benderfyniad yn mhellach ar y mater.

Yn 1892, yn Nghyfarfod Providence, penderfynwyd fod deed capel Cymru Newydd yn cael ei throsglwyddo i'r eg-

lwys, a bod yr eglwys i sicrhau breinlen yn ddioed. Ceir yr un anogaeth yn cael ei hadnewyddu yn ddiweddarach eto.

Gwelir oddiwrth hyn fod y Cyfarfod Dosbarth wedi gweithredu gyda ffyddlondeb teyrngarol i egwyddorion ac arferion yr enwad o'r cychwyn cyntaf. Pa beth bynag a ddywedir am ei wedd gyfreithiol, nid oes dadl i fod ar ei wedd foesol, oblegid fod yr eglwysi wedi eu corffori dan nawdd ac awdurdod y Cyfarfod. Dodwn ger bron y darllenydd grynodeb byr o weithrediadau y Cyfarfod gyda golwg ar fuddianau yr enwad.

1.—Hyde Park. Amlygwyd cydymdeimlad y Cyfarfod a'r brodyr yn y lle, oblegid y dinystr a wnaed i'r adeilad, a nodwyd pwyllgor o dri—y Parchn. Thos. J. Phillips, John R. Williams, a Mr. L. S. Jones—i gynorthwyo yr eglwys i adferu y golled oddiar law y cwmni. Hefyd, i gasglu trwy y Dosbarth tuag at ddwyn y draul.

2.—Blakely. Yr oedd y Parch. John Davies wedi rhoddi tir i adeiladu y capel ar ei fferm ef, ond bu farw cyn rhoddi y deed; oblegid hyny cafwyd cryn lawer o drafferth cyn cael y weithred gan ei etifeddion. Nodwyd y Parch. J. Davies a Mr. Edward Jones, Olyphant, yn bwyllgor ar yr achos hwn. Ond fel y sylwir mewn lle arall, ni chafwyd y weithred nes i'r Cyfarfod roi careg ar fedd Mr. Davies.

3.—Gyda golwg ar gapel Scranton. Cymerodd y Cyfarfod Dosbarth lawer o drafferth gyda'r achos hwn yn allanol cystal ag yn du fewnol. O'r flwyddyn 1870 yn mlaen bu y Parchn. Dr. Roberts, M. A. Ellis, Mri. J. T. Griffiths, Daniel Moses, John D. Phillips, Lewis S. Jones ac eraill yn bwyllgorau ar yr achos, nes ei werthu i'r German Baptist Society yn 1874.

4.—Pittston. Yr oedd rhagolygon y lle hwn yn addawol ar y cyntaf, ac aed i draul fawr i adeiladu capel, ac mewn canlyniad, i drafferthion gofidus. Yn 1871 yr ydym yn cael fod y brodyr John Jones, Daniel Moses a Lewis S. Jones yn bwyllgor i'w cynorthwyo. Yn 1876 cawn fod y Parchn. Joseph E. Davies a B. D. Davies, a Mr. J. T. Griffiths yn

bwyllgor ar yr achos. Yn 1879 mae Mri. J. P. Green a Thomas Davies, Pittston, a Joseph Davies, Moosic, yn cael eu penodi yn bwyllgor, gydag awdurdod i werthu y capel.

5. Wilkesbarre.—Yn Nghyfarfod Carbondale, Mehefin, 1865, penderfynwyd, "I'r eglwys hon gael ei rhyddid i ddefnyddio pob mantais a allai oddiwrth y Presbyteriaid, ond eu bod i ofalu am y deeds i'r Trefnyddion Calfinaidd, ac heb hyny na chaniateir i bregethwyr Methodistaidd bregethu iddynt.

6. Providence.—Yn 1872, penodwyd Dr. Roberts, Mri. John M. Jones a James R. James yn bwyllgor i gydweithredu â'r eglwys hon i adeiladu capel. Sicrhawyd iddynt hefyd fenthyg mil o ddoleri o arian capel Scranton.

7. Gibsonburgh.—Yn 1873, caniatawyd rhyddid i'r eglwys hon adeiladu capel, ac anogwyd hwy i gasglu gartref i ddechreu, ac wedi hyny cânt ryddid y Dosbarth o Dan i Beersheba.

8. Yn 1870, "Rhoddwyd anogaeth i eglwys Cymru Newydd i adeiladu capel newydd, a rhoddwyd rhyddid iddynt i ddyfod trwy y Dosbarth i gasglu at ddwyn y draul.

9. Olyphant.—Capel undebol adeiladwyd yma i ddechreu, ond ymadawodd y Methodistiaid yn 1870. Ac, os cael achos Methodistaidd, yr oedd yn rhaid iddynt feddwl am adeiladu eto; ac mae Cyfarfod Dosbarth Providence yn datgan cydymdeimlad â hwynt, ac yn addaw eu cynorthwyo. Bu hefyd yn gefn i'r cyfeillion mewn adegau trafferthus eraill, yn nglyn a'r ddyled.

10. Bangor.—Yn Nghyfarfod Wilkesbarre, 1873, penderfynwyd fod gweithrediadau eglwys Bangor gyda golwg ar adeiladu capel yn cael eu cymeradwyo, a'n bod yn addaw rhyddid iddynt i gasglu trwy y Dosbarth pan fydd yr adeg yn fanteisiol.

11. Grand Tunnel.—Penodwyd y Parch. Thos. J. Phillips a Mr. David Williams, Plymouth, i gynorthwyo y cyfeillion i gael lle cymwys i adeiladu, ac arolygu y gwaith.

12. Plymouth.—Yn 1873 rhoddwyd caniatad i'r eglwys hon i adeiladu capel, yr hyn a wnaed y flwyddyn hono.

Heb fanylu ar yr cll, nodwn yn mhellach weithrediadau y Cyfarfod gyda golwg ar eglwys Nanticoke, yr hon sydd yn anfon cais at y Cyfarfod Dosbarth gynaliwyd yn Plymouth, 1893, am lythyr ymadawiad i ymuno a'r Presbyteriaid, gan fyned a'i meddianau gyda hi. Gwrthodwyd y cais.

(a) Yn gymaint ag y byddai gwaith y Cyfarfod yn caniatau llythyr i eglwys Nanticoke yn gymeradwyaeth i'r symudiad.

(b) Nad ydyw eglwys Nanticoke wedi cyflwyno ei hachos i'r Cyfarfod Dosbarth, na gofyn cyngor na chyfarwyddyd yn ei symudiadau.

(c) Yn gymaint ag nad yw yr eglwys wedi ymddwyn yn unol â chyfansoddiad a rheolau y Corff, nac ychwaith yn gydunol ag egwyddorion a gofynion breinlen eglwys Nanticoke ei hun.

(d) Yn gymaint a bod llawer o arian y Methodistiaid wedi cael eu defnyddio i adeiladu dau gapel i'r enwad yn y lle hwn, nis gall y Cyfarfod ganiatau llythyr iddi.

Mae y nodiadau hyn yn dangos fod y Cyfarfod Dosbarth hwn, yn gystal a'r Gymanfa, wedi gweithredu yn unol a chynllun ac egwyddor sylfaenol Methodistiaeth, yn ei arolygiaeth dros achosion y capelau.

Yr Enwad sydd wedi sefydlu yr eglwysi ac arolygu eu symudiadau a'u meddianau; oblegid hyn, nid eiddo lleol neu bersonol ydyw ein capelau, ond eiddo yr enwad. Mae hawl yr enwad, mewn ystyr foesol, i'r eiddo, yn gwaelodi ar undeb yr eglwysi, ac arolygiaeth y Cyfarfod Dosbarth a'r Gymanfa.

## II.—Rheolau a Phenderfyniadau.

Mae pob corff cymdeithasol yn ei gychwyniad yn dibynu ar ychydig reolau syml, ac yn ychwangeu atynt yn ol fel y byddo amgylchiadau yn dysgu a'r angen yn galw. Nodweddir gwareiddiad uchel gan nifer, manylrwydd, a llymder ei ddeddfau; ac mae cymdeithas ar ei chychwyniad yn amddifaid o honynt. Mae gwaith y Cyfarfod Dosbarth yn

gyffelyb i waith y Gymanfa, ond ei fod o fewn cylch llai. Y brodyr yn y weinidogaeth, o fewn y cylch ar y pryd, oedd y Parchn. John Davies, Blakely; Joseph Rees, Carbondale; W. R. Matthews, Olyphant; W. Rowlands, D. D.; a J. R. Williams, Scranton; Thos. J. Phillips, Bellevue; a John Moses, Olyphant.

Cychwynodd y Cyfarfod hwn, fel yr ymddengys i ni, heb un cynllun blaenorol pa fodd i weithredu. Nid ydym yn gwybod beth a'u cymellodd i alw Cyfarfod yn awr, yn mhen 10 mlynedd ar ol i'r Gymanfa awdurdodi a nodi terfynau y Dosbarth. Yn yr ail Gyfarfod, Awst 2, 3 (yn ol y "Cyfaill"), yn Carbondale, maent yn penderfynu fod y Cyfarfod yn rheolaidd ac mewn awdurdod. Ar yr un pryd nad oedd gan un Cyfarfod hawl i basio dim oedd yn milwrio yn erbyn llwyddiant y Corff yn gyffredinol.

Yn Scranton, Tachwedd 22, 23 (yn ol y "Cyfaill"), penderfynwyd i'r Cyfarfod gael ei gynal bob tri mis yn ddieithriad.

Yn Carbondale, 1857, penderfynwyd fod yr eglwysi i wneyd casgliad at gynal Cyfarfod, trwy alw enwau yr aelodau, a chasgliad pob lle yn cael ei gofnodi ar lyfr y Dosbarth, yn nghyd a'r taliadau allan.

Gyda'r ychydig reolau cyffredinol hyn, mae y brodyr yn symud yn mlaen, gan gynal pedwar Cyfarfod yn y flwyddyn i arolygu yr achos yn ei bobpeth, o fewn y cylch, hyd fis Medi, 1866. Y pryd hwnw, yn Nghyfarfod Carbondale, penderfynwyd fod pedwar Cyfarfod yn y flwyddyn yn ormod, ac mai bob pedwar mis y cynelid Cyfarfodydd y Dosbarth o hyny allan, ac i'r Ysgrifenydd anfon llythyr i bob eglwys, pa le, a pha bryd y cynelid y Cyfarfod, a bod yr eglwysi hyny i anfon yn brydlon y mater a ddewisid i fod dan sylw yn y gyfeillach. Felly o hyn allan mae i fyned ar gylch ac yn ei dro i bob eglwys. Yn yr un Cyfarfod penderfynwyd mai y Cyfarfod Dosbarth sydd o hyn allan i benderfynu lle y Gymanfa yn y Dosbarth, ac nad ydyw i fyned i bob lle yn ei chylch fel o'r blaen. Yn Wilkesbarre, 1867, penderfynwyd diddymu y rheol hon, gan fod angen

am y Cyfarfod yn amlach—bob tri mis, a phob trydydd Sabboth o bob trydydd mis.

Yn Nghyfarfod Plymouth, Mehefin, 1871, penodwyd pwyllgor o dri—y Parchn. W. J. Lewis, Thos. J. Phillips a Lewis S. Jones—i dynu allan reolau i'r Cyfarfod Dosbarth i weithredu wrthynt.

Yn Providence, 1874, darllenwyd y Llaw-Reolau, ond dychwelwyd hwynt yn ol i'r pwyllgor er eu diwygio a'u perffeithio, ac ychwanegwyd dau at y pwyllgor, Mr. John T. Griffiths a'r Parch. Thos. J. Phillips. Mae yn debyg nad oedd Mr. Phillips wedi gweithredu gyda'r pwyllgor cyntaf. Yn y Cyfarfod a gynaliwyd yn Gibsonburg, Hydref, 1875, derbyniwyd a mabwysiadwyd y Llaw-reolau hyn ond un, sef, "Nad oes gan neb hawl oddieithr un ar yr ochr gadarnhaol i ail godi mater i sylw y Cyfarfod, ac mewn trefn i wneyd hyny rhaid iddo ei anfon mewn ysgrif i'r Ysgrifenydd, a'i ddarllen mewn tri o Gyfarfodydd yn olynol cyn ei roddi i bleidlais."

Wrth y rheolau hyn mae y Cyfarfod wedi gweithredu ar y cyfan o hyny hyd yn awr. Cyhoeddwyd hwynt yn y "Cyfaill" am Mawrth, 1875. Ni roddwyd un cofnodiad o honynt ar y llyfr, ac maent yn rhy faith i ninau eu dyfynu yma.

Ychwanegir penderfyniadau o bryd i bryd i gyfarfod ag amgylchiadau neillduol; ond mae y Llaw-reolau yn organic law y Cyfarfod. Dodwn ger bron y darllenydd grynodeb o'r penderfyniadau hyn ar wahanol faterion:

(a) Yn Bellevue, Rhagfyr, 1872, penderfynwyd fod i'r diaconiaid perthynol i'r Dosbarth gadw cyfrifon cywir o'r holl arian a dderbynir oddiwrth yr eglwysi, yn nghyd a'r taliadau allan, a bod trysorfa (*fund*) i gael ei ffurfio er dwyn traul y Cyfarfod Dosbarth yn ei holl ranau, fel na byddo pob traul bychan yn cael ei ddwyn ger bron yr eglwysi.

(b) Cyfarfod Wilkesbarre, 1873, fel penderfyniad oedd wedi ei adael allan o gofnodion y Cyfarfod blaenorol, "Fod gan swyddogion eglwysig hawl i weinyddu dysgyblaeth ar

unrhyw aelod pan fyddo wedi troseddu yn amlwg, yn ngwyneb 'cyffes ein ffydd,' heb ofyn pleidlais yr eglwys."

(c) Yn Plymouth, Medi, 1877, penderfynwyd "Y priodoldeb o ddileu y rheol sydd yn gwrthod hawl i'r eglwysi alw rhai oedd yn flaenoriaid mewn eglwysi yn flaenorol heb genadau o'r Cyfarfod Dosbarth.

(d) Yn Bellevue, Rhagfyr, 1897, penderfynwyd "Fod treuliau brawd neu frodyr a anfonir gan y Cyfarfod Dosbarth ar gais unrhyw eglwys, person neu bersonau, i gael eu talu gan y person neu bersonau fyddo yn galw am danynt.

(e) Yn Nghyfarfod Gibsonburg, Hydref, 1875, mewn atebiad i ymofyniad, "Pa nifer sydd yn angenrheidiol i wneyd gweithrediadau y Cyfarfod Dosbarth yn rheolaidd?" Atebwyd, "Nad oedd y Cyfarfod yn dibynu ar nifer neillduol ond ar drefniant rheolaidd.

(f) Yn 1876, yn Warrior Run, penodwyd pwyllgor o bump —Mri. E. D. Evans, J. T. Griffiths, W. D. Davies, D. Nicholas a D. Thomas i drefnu cynllun pa fodd i ranu arian y Dosbarth, a dyma eu hadroddiad: "Fod treuliau pregethwyr a chenadon i gael eu talu o'r casgliad, a'r eglwys yn y lle y cynelir y Cyfarfod i gydnabod y rhai a elwir i bregethu." Mabwysiadwyd y penderfyniad yn Moosic, 1881, gyda hyn o wahaniaeth, "Fod y gweddill dros ben y treuliau i'w rhanu yn gyfartal rhwng y rhai a elwir i wasanaethu."

Bu yr un mater o dan sylw drachefn amryw droion. Yn Nghyfarfod Hyde Park, 1878, mae pwyllgor trefniadol yn gwneyd adroddiad fel y canlyn:

1. "Pan fyddo y Trysorydd penodedig yn absenol, penoder Trysorydd achlysurol yn ei le am y Cyfarfod hwnw, ac iddo ef gyflwyno yr arian a ddelo i law dros ben talu y treuliau i'r Trysorydd Cyffredinol.

2. Fod y Llywydd i benodi Ysgrifenydd Arianol yn mhob cyfarfod, i gydweithredu a'r Trysorydd rheolaidd neu achlysurol, yn ol fel y byddo amgylchiadau yn galw, a bod iddynt gadw cyfrifon manwl o bob arian a dderbynir ac a

delir allan, a'u cyflwyno drosodd i Ysgrifenydd y Cyfarfod Dosbarth i'w rhoddi ar lyfr y Dosbarth.

3. Fod pum' dolar i gael eu cadw ar ol talu treuliau cyffredinol a rheolaidd, at ei dreuliau achlysurol."

Yn Nghyfarfod Carbondale, 1881, penderfynwyd, "Fod yr Ysgrifenydd i ymdrechu cael gafael yn y rheol yn nglyn a threfnu arian y Cyfarfod Dosbarth, ac os ceir gafael ynddi ei bod i gael ei darllen yn y Cyfarfod dylynol. Wedi i hyn gael ei wneyd, cyflwynwyd y mater i sylw y blaenoriaid, i lunio cynllun i weithredu wrtho yn y dyfodol, yr hwn sydd fel y canlyn: "Fod y gweinidogion a'r pregethwyr fydd yn bresenol, yn nghyd a chenadon yr eglwysi, i gael eu treuliau, a'r gweddill a ddaw i law i gael eu rhanu yn gyfartal rhwng y rhai fydd yn cael eu galw i wasanaethu yn y moddion cyhoeddus."

Pa faint bynag o drafod fu ar y mater hwn wedi hyn, hon yw y rheol ag mae swyddogion y Dosbarth yn gweithredu wrthi yn bresenol.

(g) Rheol gyda golwg ar Adystyriaeth.—Yn Scranton, 1868, wedi siarad ar y mater, penderfynwyd "Fod hawl gan unrhyw aelod neu eglwys i godi mater ag fydd wedi ei benderfynu, i sylw yr ail waith, yn y Cyfarfod cyntaf ar ol ei benderfynu; ond fod angen i bawb arfer doethineb yn y cysylltiad hwn, rhag fod y naill gyfarfod yn cael ei dreulio i ddadwneyd yr hyn a wnaeth Cyfarfod blaenorol." Ond yr adeg y mabwysiadwyd y Llaw-reolau yn Gibsonburg, 1875, gwneir y sylw eu bod wedi eu mabwysiadu fel yr oedd y pwyllgor wedi eu llunio, ond un, "Yr hon sydd i ddarllen fel y canlyn: Ar ol penderfynu unrhyw fater nad oes gan neb hawl, oddieithr rhyw un ar yr ochr gadarnhaol, ei ail godi i sylw y Cyfarfod; ac mewn trefn i wneyd felly rhaid iddo ei anfon i mewn trwy ysgrifen, ac mae yn rhaid ei ddarllen dair gwaith, sef unwaith yn mhob Cyfarfod Dosbarth, cyn y rhodder ef i bleidlais."

(h) Dyma reol arall a basiwyd yn Nghyfarfod Scranton, 1866: "Os byddai dau swyddog neu chwaneg yn cael eu hanfon gan y Dosbarth at unrhyw eglwys, ac un o'r ddau

yn methu myned, nad oes gan y llall hawl i alw neb i'w gynorthwyo yn absenoldeb y llall, nac i wneyd dim a'r peth y cawsent eu hanfon o'i blaid, hyd nes byddai iddynt fod gyda'u gilydd."

I.—Rheolau Gyda Golwg ar Flaenoriaid:

(a) Gyda golwg ar y drefn o ddewis blaenoriaid, yn 1861, yn Scranton, galwyd sylw at y mater fod afreoleidd-dra yn cymeryd lle gyda golwg ar ddewisiad blaenoriaid, sef gwneyd mwy nag un cynyg ar y tro wrth neillduo rhai i'r swydd ddiaconaidd; a phenderfynwyd "Fod yn rhaid cael dwy ran o dair o bleidleisiau yr eglwys cyn y gellir codi neb i'r swydd ddiaconaidd."

Yn Bellevue, y flwyddyn ganlynol, eglurwyd y penderfyniad uchod, mai dwy ran o dair o'r rhai oedd yn bresenol i bleidleisio a olygid, ac nid dwy ran o dair o'r eglwys pan nad oeddynt oll yn bresenol.

(b) Nad oes i'r neb a fyno roddi ei swydd i fyny fel diacon yn yr eglwys i fod yn aelod o'r Cyfarfod Dosbarth.

(c) Fod hawl gan bob eglwys i anfon y neb a fyn i gynrychioli yr eglwys yn y Cyfarfod Dosbarth, un heb fod yn swyddog fel swyddog, a bod hawl gan bawb i bleidleisio ar faterion y Dosbarth; h. y., pob swyddog a chynrychiolydd heb fod yn swyddog.—Cyfarfod Belleveue, 1862.

(d) Yn Wilkesbarre, 1867, bu ymdriniaeth ar y dull presenol o ddewis blaenoriaid, ond gadawyd y mater ar y bwrdd hyd 1869, pan anfonwyd cais at yr eglwysi i gymeryd pleidlais, "Pa un ai am dymor, neu ynte yn ol y dull presenol, y byddai goreu dewis blaenoriaid." Ond mae yn debyg nad oedd y ddiaconiaeth gyfnodol mewn bri, ac ni ddaeth dim o'r cynyg i newid yr hen drefn.

Yn Nghyfarfod Hyde Park, 1874, cafwyd ymdriniaeth drachefn ar y cynllun o ddewis blaenoriaid, a "dangoswyd yr anfantais o'r cyfyngder presenol, sef nad oes hawl gan y cenadau i wneyd ond un cynygiad, hyd nes gwneyd eu hadroddiad yn y Cyfarfod Dosbarth." Ac wedi ymdriniaeth ar y mater, penderfynwyd "Ein bod yn rhoddi awdurdod

i'r cenadau a anfonir gan y Cyfarfod Dosbarth er cynorthwyo eglwys i ddewis blaenoriaid, i wneyd dau neu dri o etholiadau os methir ar y tro cyntaf, ac arfer eu doethineb yn y mater, rhag fod yr eglwys yn gorfod goddef yn achos methiant, ond fod hyn i gael ei wneyd ar y noswaith neu y diwrnod a benodir ganddynt."

(e) Yn Nghyfarfod Wilkesbarre, 1877, bu sylw ar y dull oedd mewn arferiad o ddewis blaenoriaid, a phenderfynwyd ei fod i gael ei gyflwyno i sylw y Gymanfa, "Sef fod dwy ran o dair yn angenrheidiol i wneyd dewisiad. Ai nid gwell fyddai cael y mwyafrif?" Ond nid ydym yn cael fod y Gymanfa wedi gwneyd un sylw o'r mater, ond yn unig gydnabod ei bod wedi ei dderbyn.

(f) Yn Olyphant, mae pwyllgor penodedig, sef y Parchn. R. H. Evans, Joseph E. Davies a Mr. W. D. Davies yn gwneyd adroddiad ar gynllun "i'r eglwysi i gael cyfleusdra, ar adegau, i ddatgan eu barn am deilyngdod eu swyddogion." Dyma yr adroddiad:

1. "Fod ymweliad cyffredinol yn cael ei wneyd trwy y Dosbarth (a dylai fod trwy gylch y Gymanfa) bob dwy neu dair blynedd.

2. Fod yr eglwysi oll ar yr adeg hono i gael y cyfleusdra i ail ddewis neu wrthod eu diaconiaid trwy gel-bleidlais docynaidd." Nid oes genym un fantais i wybod pa fodd y gweithiodd y cynllun hwn, neu pa un a ddygwyd ef i ymarferiad a'i peidio o fewn cylch y Dosbarth.

Mae iddo ei fanteision a'i anfanteision. Mae sylw a phrofiad wedi ein harwain i'r casgliad fod yn ein heglwysi lawer o ddynion yn sychedu yn angerddol am y swydd ag sydd yn dra amddifad o'r cymwysderau angenrheidiol i'w llenwi. Nid y gwaith, ond yr enw maent yn ymofyn am dano. Mae eraill yn cael eu dewis trwy ddylanwad amgylchiadau, swydd weithfaol, cyfeillgarwch pobl o'r un ardal o'r Hen Wlad, dylanwad cyfoeth, &c., heb olwg yn y byd ar gymwysderau ysbrydol, nac yn wir eu gwerth moesol fel dynion, ac wedi ei chael, maent yn ymchwyddo gan falchder, yn drahaus, un-ochrog, a thra-arglwyddaidd; a

gwaredigaeth fawr i lawer eglwys fyddai cael cyfleusdra i ddangos ei barn am y cyfryw. Ar yr un pryd, mae pob ymgais a welsom i gario allan y cynllun hwn wedi troi allan yn fwy profedigaethus i'r eglwysi.

(g) Yn Nghymru Newydd, 1879, galwyd sylw y Cyfarfod at y brodyr sydd wedi bod yn gwasanaethu fel diaconiaid mewn eglwysi, ond heb fod yn bresenol; a phenderfynwyd, "Nad ydym yn ystyried y cyfryw yn aelodau o'r Cyfarfod Dosbarth, gan fod y Cyffes Ffydd yn dweyd yn bendant mai y cyfryw bersonau sydd yn dal swyddi eglwysig sydd i fod yn aelodau o'r Cyfarfod Dosbarth."

(h) Yn Warrior Run, 1891, daeth y mater ger bron y Cyfarfod mewn ffordd o ymofyniad, "Pa un ai yr eglwys, ynte ei swyddogion, ynte pob un o'r ddau, sydd i weinyddu cerydd eglwysig, neu ddiarddeliad am drosedd?" Atebwyd mai yr eglwys, yn ei swyddogion ac aelodau, sydd i weinyddu pob graddau o gerydd; a phenderfynwyd fod yr ateb yn gywir yn ol y Beibl, Cyffes Ffydd, ac arferion (usages) y Corff yn gyffredinol.

(i) Yn nghylch cymeryd pleidlais ar lythyrau aelodaeth eglwysig.—"Yn gymaint a bod llythyr rheolaidd yn rhoddi hawl i aelodaeth lle bynag y cyflwynir ef. fod hyny yn gwneyd ymaith a'r angenrheidrwydd am bleidlais yr eglwys" er derbyn y person.

(j) Yn Nghyfarfod Danville, 1875, bu sylw mewn cysylltiad a pha fodd i weithredu pan fydd eglwys yn dewis un i fod yn flaenor ag sydd wedi bod yn y swydd gydag enwad arall, a phenderfynwyd "Fod y cyfryw i gael ymddwyn tuag ato yn yr un modd ag yr ymddygir at bob un a ddewisir o newydd, sef eu harholi yn fanwl yn y Cyfarfod, cyn eu derbyn yn aelodau o hono."

(k) Yn Plymouth, 1877, bu sylw ar y priodoldeb o ddileu y rheol "Sydd yn gwrthod hawl i'r eglwysi i alw rhai oedd yn flaenoriaid mewn eglwysi yn flaenorol, heb genadau o'r Cyfarfod Dosbarth i wneyd hyny." Cyflwynwyd y mater i sylw y Gymanfa, ond gadawyd y mater ar y bwrdd heb un sylw arno gan y Gymanfa; ac nid ydym yn cael iddo fod o dan sylw y Dosbarth ar ol hyn.

(1) Gyda golwg ar ddewis blaenoriaid eto.—Yn Warrior Run, 1894, penderfynwyd, "Pan fethir ethol blaenoriaid ar y bleidlais gyntaf, fod caniatad yn cael ei roddi i'r cenadon gyda chydsyniad yr eglwys, i ail bleidleisio ar y tri a gawsant y nifer uwchaf o bleidleisiau ar y bleidlais gyntaf, os byddai y cenadau a'r eglwys yn gweled hyny yn ddoeth ar y pryd."

2.—Rheolau Gyda Golwg ar Bregethwyr:

Tebygol mai y drefn gyntaf o dderbyn brodyr i undeb a'r Dosbarth, oedd trwy arholiad cyffredinol ar y pryd, yn ol trefn y Cyffes Ffydd. Ond yn raddol deuwyd i deimlo yr angen am reolau neillduol a phendant, nid yn unig i godi, ond i reoleiddio ymddygiadau pregethwyr o fewn cylch y Dosbarth hwn. Yr ymgais cyntaf i'r perwyl hwn sydd wedi ei gofnodi ydyw y penderfyniad canlynol:

1. Yn Scranton, 1861, pan fu y drefn o ddewis blaenoriaid dan sylw, penderfynwyd fod yr un rheol yn gymwysiadol at bregethwyr hefyd, a bod yn rhaid iddynt gael dwy ran o dair o aelodau yr eglwys a fyddai yn bresenol i bleidleisio drostynt. Felly hefyd gyda golwg ar eu symud yn mlaen i'r Dosbarth a'r Gymanfa.

Ymddengys fod y rheol hon yn seiliedig ar benderfyniad y Gymanfa yn 1854, yr hwn sydd fel y canlyn: "Fod yn rhaid i bob pregethwr gael cymeradwyaeth yr eglwys y bydd yn aelod o honi; yna dyger ei achos i Gyfarfod y Dosbarth, ac os derbyn gymeradwyaeth y Cyfarfod hwn, yna cyflwyner ei achos i'r Gymanfa, ac os cymeradwyir ef yno, caiff ei ordeinio yn y Gymanfa drachefn." Ymddengys fod mwy o fanylwch a difrifoldeb yn cael ei arfer ar ol hyn nag a arferid yn flaenorol. Anfonid cenadon o'r Dosbarth i'w arholi, ac i dderbyn llais yr eglwys gartref am dano. Wedi clywed hyny byddai y cyfarfod yn nodi maes ei lafur, o fewn yr hwn yr oedd yn cael caniatad i arfer ei ddawn i ddechreu. Pan ddygid ef i sylw y Cyfarfod, yr oedd yn rhaid iddo sefyll arholiad yn y Cyfarfod, ac os deuai trwy hwnw yn llwyddianus, yr oedd yn cael y Dosbarth yn faes

llafur am dri neu chwe' mis, yn ol barn a theimlad y Cyfarfod, fel prawf arno cyn ei dderbyn yn aelod o'r Dosbarth.

2. Mewn cyfarfod a gynaliwyd yn Bellevue, 1862, darllenwyd cyfres o reolau at godi pregethwyr, oedd wedi eu parotoi gan y Parch. Thos. R. Jones. Gallem feddwl iddynt gael eu mabwysiadu oblegid eu bod yn cael eu cyflwyno i sylw y Gymanfa; ond yn Carbondale penderfynwyd drachefn syrthio yn ol ar yr hen drefn o godi pregethwyr, sef rheolau neillduol y Cyffes Ffydd.

3. Yn Plymouth, 1873, nodwyd y Parchn. William Roberts, D. D., J. E. Davies, D. D., M. A. Ellis, M. A., Mri. John T. Griffiths a Thos. J. Davies, i lunio Llaw-reolau cyffredinol i dderbyn, parotoi a chynyg pregethwyr i'w hordeinio. Yn Olyphant, 1874, mae y pwyllgor yn gwneyd adroddiad, ac yn gosod y cynllun a'r rheolau ger bron y Cyfarfod. Derbyniwyd yr adroddiad, a mabwysiadwyd y cynllun.

4. Yn Hyde Park, 1874, penderfynwyd ein bod am i bawb gadw at y rheol mewn cysylltiad â threfnu cyhoeddiadau dyeithriaid, sef nad ydym yn caniatau i neb anfon ei gyhoeddiad trwy y naill eglwys a'r llall, heb fod yr eglwys y bydd yn myned iddi yn ceisio ganddo, a heb gael caniatad y Cyfarfod Dosbarth, a'r Ysgrifenydd i drefnu y cyhoeddiad hwnw iddo."

5. Yn Wilkesbarre, 1877, pasiwyd y penderfyniad canlynol: "Fod y Cyfarfod yn gwrthdystio yn bendant yn erbyn i ddynion anuniawngred gael caniatad i bregethu yn ein haddoldai."

6. Yn Danville, 1880, penderfynwyd, "Fod yr Ysgrifenydd i ofalu am godi penderfyniad y Gymanfa i sylw parth ymweliad brodyr o Gymru, a'i fod i osod y penderfyniad yn llyfr y Dosbarth, a'i gyhoeddi, "Sef nad ydym yn derbyn un pregethwr, na gweinidog, os na bydd ganddo lythyr swyddogol o gymeradwyaeth oddiwrth Gyfarfod Misol neu Gymanfa."

7. Yn Providence, 1880, cyflwynwyd dau fater i sylw y Cyfarfod o eglwys Bellevue. 1. "Eu bod yn dymuno ar i'r

pregethwyr dalu mwy o sylw i bethau ysbrydol yr eglwys," ac anogwyd y pregethwyr i ddangos pob parodrwydd i gynorthwyo yr eglwysi pan y gelwir am eu gwasanaeth. 2. Ar yr un pryd mae eglwys Bellevue yn cyflwyno i sylw y gweinidogion a'r pregethwyr, "yr angenrheidrwydd i'r weinidogaeth fod yn fwy cyfeiriol at y byd."

8. Yn Nghyfarfod Bellevue, 1862, "Sylwyd na ddylai neb fod yn faith wrth bregethu yn y cyfarfodydd. Dim uwchlaw tri chwarter awr yr un, a'r neb a fyddo yn dechreu i ofalu am fod yn fyr. Eto ein bod yn ystyried y dylai dau fod yn pregethu yn mhob oedfa, yn unol a'r rheol wreiddiol."

(9) Yn Pittston, 1870, penderfynwyd "Ein bod ni fel Trefnyddion Calfinaidd yn cau ein pwlpudau oddiwrth ferched fel pregethwresau.."

Gyda golwg ar y mater hwn, mae llawer o gyfnewidiad wedi cymeryd lle yn marn cymdeithas er pan oedd y tadau yn pasio y penderfyniad uchod, a diameu yr edrychir arno gan lawer fel gweddillion culni a rhagfarn. Ond hyd y gwelsom, nid yw y dosbarth sydd yn dadleu felly, fel rheol, yn gofyn beth a ddywed y gwirionedd ar y mater. Yn y dyddiau hyn, pan mae masnach a llenyddiaeth, meddyginiaeth a'r gyfraith, yn agor eu dorau o flaen y wraig i fod yn gyfartal â gwr yn mhob modd ag mae buddiant a llenyddiaeth yn gyraeddadwy iddo, oni ddylai eglwys Dduw agor ei drws o'i blaen, i weinyddu yn ei swyddau cysegredig? Mae edmygedd a pharch yn ddyledus oddiwrth ddyn tuag at y rhyw, yn annibynol ar amgylchiadau, ac ni fynem fod yn ol i neb mewn parodrwydd i ddangos y parch priodol iddi. Ond mae y pethau canlynol yn sicr o fod yn deilwng o sylw yn eu cysylltiad â'r cwestiwn hwn:

(a) Ei fod yn cyfodi o drefn natur ac ordeiniad y Creawdwr, "mai y gwr yw pen y wraig." Nid cwestiwn o allu, uwchafiaeth natur, talent, na chyraeddiadau, ydyw hwn; ond mater o drefn. Cydnabyddwn yn rhwydd y gallai y wraig, nid yn unig fod yn gydradd yn mhob ystyr a'r gwr, ond rhagori arno; eto fel mater o drefn, "efe yw y pen."

Nid oedd dim a wnelem ni a sefydlu y drefn, ac nis gallwn ei newid ped ewyllysiem, na sefydlu dim a allai fod yn welliant. Os dyma drefn natur, a ydyw yn beth tebyg y buasai Duw yn ordeinio yn wahanol yn ei eglwys?

(b) Mai Crist ydyw pen yr eglwys; mae yr Arglwydd yn ei dy, ac fel y cyfryw mae ganddo hawl i alw y neb a fyno i lenwi swyddau ei eglwys. Nid oes dim i gael ei arfer fel addoliad, na neb i weinyddu y swyddau ond sydd yn ol ei ewyllys a'i apwyntiad ef fel Brenin. A'r cwestiwn yn bresenol yw, a ydyw efe wedi cau y wraig o'r swydd weinidogaethol ai peidio. Ymddengys i ni fod geiriau yr Apostol, 1 Tim. 2: 12-15, yn derfynol ar y mater, a'i fod yn rhoddi rheswm digonol dros hyny. Nid nad allai y wraig fod yr un mor dalentog a hyawdl, a medrus, neu yn fwy felly, ond fel mater o drefn, "Nid wyf yn cenadu i wraig athrawiaethu." Mae yr ensyniadau a deflir yn erbyn Paul yn bersonol ar y mater yn annheilwng o sylw un meddyliwr ystyriol. Yr oedd yr Apostol yn llefaru dan ddwyfol ysbrydoliaeth, neu mewn geiriau eraill, Crist yn llefaru wrthym ni trwy yr Apostolion yw yr Epistolau, ac felly mae yr un awdurdod yn llefaru ynddynt ag a deimlir yn y bregeth ar y mynydd. Os ydyw geiriau yr Apostol o awdurdod ar unrhyw fater arall, maent yn ogyfuwch mewn awdurdod ar y mater hwn.

(c). Mae yn angenrheidiol er diogelwch a llwyddiant yr eglwys yn ei holl gangenau, fod ganddi reol a threfn sefydlog i weithredu wrthi. Gyda golwg ar ddynion, mae pob enwad Cristionogol wedi mabwysiadu cynllun a rheolau i'w derbyn fel ymgeiswyr am y weinidogaeth. Ymofynir yn nghylch eu cymwysderau naturiol a moesol, ac yn enwedig eu cyraeddiadau mewn dysgeidiaeth. Arholir yr ymgeisydd am ei wybodaeth, a'i farn, ac ar sail ei gyraeddiadau a'i gredo mae yn cael ei ordeinio. Os bydd yn myned i le dyeithr, ymofynir am ei gred-lythyrau, ar sail pa rai y rhoddir derbyniad iddo; ac mae hyn oll yn angenrheidiol er diogelu yr eglwysi rhag cymeriadau ameus. Eto mae yr un bobl yn derbyn merch, ac yn agor eu pwlpudau iddi heb

arholiad, ordeiniad na chred-lythyr (credentials) chwaith. Nid oes neb yn gyfrifol am dani, na hithau yn gyfrifol i neb am ddim a ddywed nac a wna. Mae yr ysfa wyllt hon yn ymddangos i ni nid yn unig yn ymadawiad, ond yn ddadymchweliad ar bob trefn sydd yn anhebgorol er amddiffyniad i'r eglwysi rhag twyllwyr.

10 Yn Nghyfarfod Carbondale, Medi, 1895, gyda golwg ar ymweliadau pregethwyr dyeithr â'n Dosbarth, "Penderfynwyd fod yn rhaid i bob gweinidog a phregethwr dyeithr gario llythyr Cyfarfod Misol, neu lythyr Cyfarfod Dosbarth, gydag ef, a'u bod 'i ddangos y cyfryw lythyr i flaenoriaid yr eglwys yr ymwel a hwynt." Yn y Cyfarfod dylynol, yn Plymouth, cywirwyd y penderfyniad uchod i ddarllen fel y canlyn: "Fod yn rhaid i bob gweinidog, a phob pregethwr dyeithr, o'r wlad hon neu o Gymru, ddangos llythyr Cyfarfod Dosbarth neu lythyr Cyfarfod Misol i swyddogion y Cyfarfod Dosbarth, cyn y caniateir iddo bregethu yn nghylch y Dosbarth hwn, a chyflwyno neu ddangos ei lythyr i'r Cyfarfod Dosbarth cyntaf ar ol ei ddyfodiad i gylch y Dosbarth."

### III.—Y Weinidogaeth.

O dan y penawd hwn mae amryw bethau yn dyfod dan sylw y Cyfarfod yn naturiol: cyflenwi yr eglwysi â gweinidogaeth, arolygiaeth, er gweled fod yr eglwysi yn gwneyd eu rhan er cynal y weinidogaeth; codi rhai i bregethu; ordeinio; bugeiliaeth, &c.

1. Cyflenwi yr eglwysi â gweinidogaeth.

Fel y gwelsom, yr oedd nifer lled luosog o eglwysi wedi eu corffori o fewn cylch y Dosbarth yn yr un cyfnod, ond yr oeddynt gan mwyaf yn weiniaid, ac nid allent gael na chynal gweinidogaeth gyson eu hunain; ac o'r tu arall, nid oedd digon o bregethwyr o fewn y cylch i gyflenwi angen yr eglwysi, na modd i'w cynal gyda'r gwaith, heb ymdrafferthu gyda negeseuau y bywyd hwn, pe buasent i'w cael.

(a) Mewn atebiad i ymofyniad blaenorol, mae llais yr eglwysi yn dyfod i Gyfarfod Scranton, 1858, fod angen am

ragor o weinidogion. Ond mae Cyfarfod Bellevue, 1859, yn penderfynu "Fod gormod o anaddfedrwydd yn ngwyneb mwyafrif yr eglwysi a mwyafrif yr aelodau i wneyd un symudiad ar y pryd."

(b) Codi yr eglwysi i fwy o weithgarwch a haelfrydedd yn eu cyfraniadau. O Gyfarfod Pittston, Gorphenaf, 1859, anfonwyd anogaeth i'r holl eglwysi i fod yn ffyddlon yn eu cyfraniadau at y weinidogaeth. Yn Nghyfarfod Bellevue, Hydref, 1859, penderfynwyd anfon ymwelwyr trwy yr eglwysi er gwneyd prawf ar eu cydweithrediad. Gwneid yr ymweliadau hyn yn flynyddol hyd y gellid, er cael gweled ansawdd yr achos yn gyffredinol; ond yn Nghyfarfod Scranton, 1868, penodwyd y Parch. M. A. Ellis a Mr. E. Evans, Cymru Newydd, i fyned trwy yr eglwysi er cael gweled pa beth oedd yn cael ei wneyd at gynal yr achos mewn ystyr arianol, fel y gellid mabwysiadu rhyw gynllun i gyflenwi y diffyg. Nis gallodd Mr. Evans fyned gyda'i gydymaith, yn ol y trefniant; ond dygodd Mr. Ellis ei adroddiad i Gyfarfod Pittston, a swm yr adroddiad oedd, "Mai ychydig o wahaniaeth sydd rhwng yr eglwysi o ran eu cyfraniadau, oddieithr Scranton, a'u bod ar gyfartaledd yn cyfranu $10 yr un." Penderfynodd y Cyfarfod fod yr eglwysi yn gwneyd yn ardderchog, gan eu hanog i barhau yn eu ffyddlondeb yn y dyfodol.

(c) Trefnu pwyllgorau i ddarparu ar gyfer yr eglwysi gweiniaid. Y cyntaf a nodwyd yn Nghyfarfod Pittston, 1869, oedd y Parchn. M. A. Ellis, W. E. Morgan, a L. S. Jones. Rhyddhawyd y pwyllgor hwn yn Wilkesbarre, Mehefin, 1869, a nodwyd pwyllgor o flaenoriaid yn ei le—Mri. J. T. Griffiths, Wilkesbarre; Jonah Morgan, Bellevue; Daniel Moses, Hyde Park; David Evans, Plymouth; Thos. Davies, Pittston; ac Evan Evans, Cymru Newydd. Gweithiodd y pwyllgor hwn, yn nghyd ag eraill, trwy wneyd cais at yr eglwysi cryfaf i ollwng eu gweinidogion am Sabboth ar gylch i'r gwahanol fanau, trwy ddefnyddio yr arian cenadol a gesglid, mewn rhan i'r perwyl yma; trwy fabwysiadu y cynllun a gyflwynwyd i sylw Cymanfa Shenandoah,

yn 1877, i ddwyn yr holl leoedd dan ofal bugeiliol. Bu pwyllgorau neillduol yn trefnu ar gyfer Danville, Grand Tunnel, Pittston, Scranton, Olyphant, Blakely a Carbondale. Mae y crynodeb hwn yn dangos fod gwaith mawr wedi ei wneyd o fewn cylch y Dosbarth yn y cyfeiriad hwn. Ar ol y flwyddyn 1870, mae y Dosbarth wedi derbyn cyfran o gyllid y Gymdeithas Genadol yn gyson ar gyfer y lleoedd gweiniaid hyn yn bresenol.

2. Mesurau i godi brodyr i'r weinidogaeth.

Bellach mae y Cyfarfod Dosbarth yn ymgymeryd â gwaith o fewn ei gylch ei hun a ymddiriedid i'r Gymanfa yn flaenorol i hyn. Yn Nghyfarfod Rhagfyr, 1869, penodwyd pwyllgor o dri—y Parchn. W. Roberts, D. D., E. J. Hughes, a Mr. W. D. Davies, Hyde Park, i dynu cynllun gyda golwg ar ymgeiswyr am y weinidogaeth, fel y gallo yr eglwysi ffurfio barn bwyllus am eu cymwysderau, a'i gyflwyno i'r Gymanfa i dderbyn cymeradwyaeth. Yn Nghyfarfod Hyde Park, 1870, gosodwyd hwn o'r neilldu, am fod y Gymanfa Gyffredinol wedi nodi pwyllgor at y gwaith hwn. Felly safodd y mater hyd Gyfarfod Plymouth, 1873, pryd y penodwyd y Parchn. Dr. Roberts, M. A. Ellis, J. E. Davies, Mri. J. T. Griffiths, a Thos. J. Davies i dynu allan gynllun cyffredinol i'r amcan uchod, ac mae Cyfarfod Olyphant, Mawrth, 1874, yn derbyn ac yn cadarnhau y cynllun a gyflwynwyd i sylw gan y pwyllgor. Oblegid fod rhai yn gwrthdystio yn erbyn y rheolau, fel rhai anghyfansoddiadol, cyflwynwyd hwynt i sylw y Gymanfa a gynelid yn Bangor, Mai, 1875, ac mae y Gymanfa yn eu cadarnhau fel y canlyn: "Wedi eu darllen a'u hadolygu yn fanwl, a'u cysoni a'r cyfansoddiad, penderfynwyd eu bod yn hollol gydweddol a'r cyfansoddiad." Mae y rheolau hyn i'w gweled yn y "Cyfaill," 1874, tu dal. 236. Yn ol y drefn hon yr oedd cenadon i ymweled ac i holi yr ymgeisydd yn ei eglwys gartrefol. Os byddai yr eglwys yno yn ffafriol iddo fyned yn mlaen, yr oedd i sefyll arholiad yn y Cyfarfod Dosbarth gan bwyllgor penodedig ar faterion neillduol. Wedi bod yn y cylch hwn bum' mlynedd, os cymeradwyid ef i'w or-

deinio, yr oedd pwyllgor o bump—tri o weinidogion a dau flaenor—i'w arholi mewn gwahanol gangenau, &c.

O dan y rheolau hyn y codwyd nifer luosog o frodyr yn y Dosbarth hwn i'r weinidogaeth. Er fod anfoddlonrwydd iddynt mewn rhai pethau, gan rai, a galwad at ddychwelyd yn ol at yr hen drefn, fel y daeth y mater i sylw drachefn yn Hyde Park, 1878; eto gohiriwyd, gan ei adael ar y bwrdd. Yn Warrior Run, 1882, mae y gweinidogion a'r blaenoriaid yn eistedd ar y mater, ac yn penderfynu fod rhai pethau ynddynt ag angen eu diwygio a'u perffeithio. Yn Nghyfarfod Bellevue, nodwyd pwyllgor o bump—y Parchn. James Jarret, W. E. Morgans, R. S. Thomas, Mri. David Moses a John D. Phillips at y gwaith. Hwn yw y pwyllgor a luniodd y rheolau sydd mewn arferiad yn awr, ac a gymeradwywyd yn Nghymanfa Slatington, 1884.

3. Trefnu ffordd i ddwyn yr ymgeiswyr i sylw yr eglwysi.

Gwna y sylw a wnaed ar achos y brawd W. D. Jenkins yn Hyde Park, 1868, wasanaethu fel engraifft. Yr oedd Mr. Jenkins wedi ei gymell i fyned trwy yr eglwysi er mantais iddynt roddi barn arno fel pregethwr, ac anfon eu llais i'r Cyfarfod uchod. Ond nid oedd yr eglwysi wedi anfon eu pleidlais, ac felly penderfynwyd i'r Ysgrifenydd anfon at bob lle, ar iddynt brysuro i anfon eu llais i'r Ysgrifenydd, fel os byddai y mwyafrif yn ffafriol iddo gael ei dderbyn yn aelod o'r Dosbarth, y gellid hysbysu y brawd i barotoi ar gyfer ei arholiad.

Felly yn Providence, 1872, oblegid fod yr eglwysi yn anaddfed i roddi barn ar y brodyr oedd ger bron y Cyfarfod, oblegid eu dyeithrwch iddynt, o ran eu doniau gweinidogaethol, penderfynwyd "Rhoddi anogaeth iddynt alw y brodyr hyn atynt mor aml ag y byddai modd iddynt yn y tri mis dyfodol, ac anfon eu llais i'r Cyfarfod nesaf."

4. Eu cyflwyno i sylw y Bwrdd Addysg i dderbyn cymorth arianol, fel y gwnaed a Mr. D. D. Jenkins yn Wilkesbarre, 1875. Nodwyd pwyllgor neillduol ar y pryd, ac yr oedd eu hadroddiad yn ffafriol iddo. Gwnaed yn gyffelyb a Mr. Rich. T. Jones yn Nghyfarfod Plymouth, 1877, ac os

torid y cysylltiad a'r Presbyteriaid eu bod yn ymrwymo i ddwyn ei draul yn ol y swm arferol, ac a Mr. R. S. Thomas yn 1879.

Gellir dweyd yn ddibetrus fod y Cyfarfod Dosbarth wedi gwneyd ymdrech deg yn mhob modd gyda golwg ar barotoi y ffordd i'r brodyr yn y weinidogaeth.

Gosodwn ger bron dafien yn dangos pwy a phryd y dechreuasant bregethu o fewn cylch y Dosbarth hwn.

## IV.—Y Brodyr Ddechreuodd Bregethu o fewn Cylch y Dosbarth Hwn.

Tebygol mai y drefn gyntaf o dderbyn brodyr i undeb a'r Dosbarth oedd trwy arholiad cyffredinol ar y pryd, gan nad oedd un cynllun cyffredinol wedi ei fabwysiadu y pryd hwnw.

1. Y Parch. John Moses.—Derbyniwyd ef i undeb a'r Dosbarth yn y cyfarfod cyntaf a gynaliwyd yn Carbondale, yn 1856; felly mae ei enw ef ar ben y rhestr yn y Dosbarth. Yn 1859 bu sylw ar achos y brawd David Jones o eglwys Bellevue. Rhoddwyd aelodaeth eglwysig iddo i aros cael llythyr oddiwrth y Presbyteriaid, a nodwyd y Parch. J. R. Williams a Mr. Walter Phillips i wneyd ymchwiliad i'w gysylltiad a'r enwad hwnw. Yn Wilkesbarre, 1869, helaethwyd ei gylch fel pregethwr, a rhoddwyd y Dosbarth yn faes llafur iddo, ar sail llythyr, a thystiolaeth y Parch. Thos. Levi. Dyma yr hanes diweddaf gawn am y brawd hwn.

2. Parch. Daniel Jones.—Ar sail llythyr o Slateford yn gofyn am ryddid helaethach iddo fel pregethwr, derbyniwyd ef yn aelod o'r Dosbarth, yn Pittston, 1860. Ond ymadawodd ef yn fuan i Wisconsin, ac oddiyno yn ol i Gymru. Collodd ei goron o herwydd yfed.

3. Mr. Thomas Elias.—Yn Pittston, 1860, bu sylw ar ei achos, fel ymgeisydd am y weinidogaeth o eglwys Bellevue. Caniatawyd iddo arfer ei ddawn yn yr eglwys gartref, ac yn mhen tri mis ychwanegwyd Pittston at ei faes llafur. Yn 1861 mae Mr. Elias yn amlygu ei fwriad i fyned at y Saeson, a rhoddwyd anogaeth iddo fyned "ac aros gyda hwynt."

4. Parch. W. R. Matthews.—Yn Nghyfarfod Scranton, 1861, ymddyddanwyd â'r brawd, a rhoddwyd iddo ryddid i bregethu yn mhob man y caffai wahoddiad o fewn cylch y Dosbarth. Yn yr adeg hon ymddengys fod y Cyfarfod Dosbarth yn ymarfer mwy o fanylwch gyda golwg ar ymgeiswyr am y weinidogaeth. Anfonid cenadon i'w arholi, ac i dderbyn llais yr eglwys gartref gyda golwg ar yr ymgeisydd, yna byddai y cyfarfod yn trefnu maes llafur iddo am dymor. Os byddai yn llwyddianus, cyflwynid ef i sylw y Cyfarfod trwy arholiad, ac os deuai yn llwyddianus yn hwnw rhoddid y Dosbarth yn faes llafur iddo am dri neu chwe' mis ar brawf, yn ol barn a theimlad y Cyfarfod, cyn ei dderbyn i undeb a'r Cyfarfod fel aelod.

5. Parch. W. J. Lewis.—O Gyfarfod Pittston, 1862, anfonwyd y Parch. Thos. R. Jones a Mr. W. Davies, Hyde Park, i Bellevue i'w holi, ac i dderbyn llais yr eglwys ar ei fater. Yn y Cyfarfod dylynol rhoddwyd yr eglwys hono yn faes llafur iddo. Yn Nghyfarfod Scranton, 1862, rhoddwyd iddo gylch y Dosbarth i lafurio ynddo er mantais i'r eglwysi ei glywed a rhoi barn arno cyn ei dderbyn i undeb a'r Dosbarth.

6. Mr. Lewis S. Jones.—Yn Nghyfarfod Pittston, 1863, penodwyd y Parch. J. R. Williams a Mr. William Davies i fyned i Bellevue i'w arholi. Yn Carbondale, 1865, rhoddwyd rhyddid iddo fyned trwy y Dosbarth ar brawf, a derbyniwyd ef i undeb a'r Dosbarth yn Wilkesbarre, 1869.

7. Mr. Isaac Blackwell.—Yn Hyde Park, 1869, nodwyd y Parchn. J. E. Davies, E. J. Hughes a Mr. J Williams, Bellevue, i fyned i Pittston i'w holi fel ymgeisydd am y weinidogaeth. Yn y Cyfarfod dylynol, yr hwn a gynelid yn Wilkesbarre, rhoddwyd y Dosbarth yn faes llafur ar brawf iddo.

8. Mr. W. D. Jenkins.—Yn Nghyfarfod Wilkesbarre, 1867, nodwyd y Parchn. J. E. Davies ac E. J. Hughes i fyned i Pittston i ymddyddan ag ef. Gwnaeth yr ymwelwyr adroddiad ffafriol am dano, a rhoddwyd yr eglwys yn faes llafur iddo am dri mis. Yn y Cyfarfod dylynol rhoddwyd y

Dosbarth yn faes llafur iddo, a derbyniwyd ef i undeb a'r Dosbarth yn Plymouth, Medi, 1868. O hyn allan, hyd nes mabwysiadu y rheolau yn 1884, mae yr arholiad yn cael ei wneyd ar faterion penodedig, a'r arholwyr wedi eu nodi yn flaenorol. Arholwyr Mr. Jenkins oedd y Parchn. E. J. Hughes ac M. A. Ellis.

9. Mr. W. E. Morgans.—Yn Nghyfarfod Scranton, 1868, mae y Parch. E. J. Hughes a Mr. David Evans, Plymouth, yn rhoi adroddiad o'u hymweliad ag eglwys Bellevue, er eu cynorthwyo i arholi a barnu cymwysderau W. E. Morgans fel ymgeisydd am y weinidogaeth. Yr oedd yr adroddiad yn ffafriod. Symudwyd ef yn mlaen, yn ol y drefn arferol, a derbyniwyd ef i undeb a'r Dosbarth yn Pittston, Mawrth, 1869.

10. Mr. J. Irlwyn Hughes.—Yn Nghyfarfod Danville, 1869, mae y Parch. E. J. Hughes a Mr. J. M. Jones, Bellevue, yn cael eu hanfon i Hyde Park i'w arholi, ond ni chafodd y cenadon foddlonrwydd yn yr ymgeisydd. Yn 1872 mae Dr. Roberts a Mr. E. Evans, Cymru Newydd, yn ei arholi, ac yn rhoddi adroddiad ffafriol. Nodwyd eglwys Hyde Park ac ysgoldy Pine Shaft yn faes llafur iddo. Derbyniwyd Mr. Hughes i undeb a'r Dosbarth yn ol y drefn arferol, yn Hyde Park, 1872. Cyflwynwyd ef trwy lythyr i Gyfarfod Dosbarth Pittsburg, yn Olyphant, 1874.

11. Mr. D. Dyffrynog Jenkins.—Yn Olyphant, Rhagfyr, 1871, penodwyd y Parch. M. A. Ellis i fyned i Wilkesbarre i'w arholi. Gwnaeth y cenadau adroddiad ffafriol yn y Cyfarfod dylynol. Nodwyd yr eglwys gartrefol yn faes llafur iddo, a derbyniwyd ef i undeb a'r Dosbarth yn Hyde Park, 1872.

12. Mr. John Evans.—O herwydd pellder ffordd, ac anghyfleusderau, arholwyd a derbyniwyd y brawd hwn i undeb a'r Dosbarth yn Nghyfarfod Rhagfyr, yr hwn oedd yn Danville, 1869.

13. Mr. Samuel Williams.—Yn Hyde Park, Medi, 1872, derbyniwyd Mr. Williams trwy lythyr oddiwrth yr Annibynwyr. Rhoddwyd ei eglwys gartrefol (Hyde Park) yn

faes llafur iddo, ac yn Bellevue, 1872, derbyniwyd ef yn aelod o'r Dosbarth.

14. Mr. Richard T. Jones.—Yn 1874, anfonwyd y Parch. E. Hughes a Mr. Thos. W. Morgan i fyned i Warrior Run i'w arholi. Cafwyd ynddo foddlonrwydd digonol i'w gymell i ddechreu ar y gwaith gartref. Yn 1875 methodd sefyll yr arholiad Dosbarthiadol, a phenodwyd y pwyllgor i barhau am chwe' mis. Derbyniwyd ef i undeb a'r Dosbarth, Mawrth, 1877. Cyflwynwyd ef trwy lythyr at y Presbyteriaid, Mawrth, 1882.

15. Mr. Rowland S. Thomas.—Yn Carbondale, Mehefin, 1878, mae y cenadon yn gwneyd adroddiad iddynt fod yn Plymouth yn arholi Mr. Thomas, a'u bod wedi cael boddlonrwydd ynddo. Penodwyd y Parchn. J. E. Davies, W. R. Matthews a Mr. J. D. Phillips i wneyd yr arholiad Dosbarthiadol, a derbyniwyd ef yn aelod o'r Dosbarth yn Taylor, Medi, 1878.

16. Mr. W. D. Williams.—Medi, 1878, anfonwyd y Parch. Thos. J. Phillips i Danville i'w arholi, mewn undeb a Mr. David Thomas, diacon o'r lle. Wedi cael adroddiad y pwyllgor yn Moosic, 1879, penderfynwyd anog y brawd i lafurio yn y cylch yr oedd ynddo am y presenol. Mae eglwys Danville yn anfon cais i'r Cyfarfod dylynol i gael ei symud yn mlaen, a phenderfynwyd yn hwnw fod y Parch. W. H. Williams a chynrychiolwyr Wilkesbarre a Plymouth yn ei arholi, ond aeth y symudiad yn fethiant.

17. Mr. John J. Hughes.—Y Parch. J. E. Davies a Mr. Thos. J. Davies anfonwyd i Wilkesbarre i arholi Mr. Hughes a derbyn pleidlais yr eglwys. Gwnaeth y pwyllgor eu hadroddiad yn Nghyfarfod Cymru Newydd, a thorwyd maes llafur o'i flaen fel arfer. Nodwyd y Parchn. J. E. Davies, W. J. Lewis a Mr. W. D. Davies i wneyd yr arholiad. a chymeradwywyd ef i'r Dosbarth i wneyd ag ef yn ol y rheolau, yn Olyphant, Medi, 1879, a derbyniwyd ef yn aelod yn Hyde Park, Medi, 1880.

Hyde Park, 1882, anfonwyd y Parch. W. H. Williams a Mr. John Evans, Hyde Park, i Bellevue, i ymddyddan a

brawd oedd yn ymgeisydd am y weinidogaeth; ond mae y pwyllgor yn gwneyd adroddiad nad oedd ei feddwl yn glir ar rai pethau, na phleidlais yr eglwys ond prin, a phenderfynwyd iddo aros lle mae am chwe' mis. Dyma hefyd y gair diweddaf am dano yntau, ac ymadawodd at yr Annibynwyr. Ei enw oedd Thos. Cynfelyn Benjamin.

18. Mr. Morgan J. Morgans.—I Gyfarfod Wilkesbarre, 1886, anfonwyd cais o Sugar Notch am bwyllgor i'w arholi fel ymgeisydd am y weinidogaeth. Nodwyd y Parch. W. H. Williams a Mr. Robert Lloyd i fyned yno. Gwnaeth y pwyllgor adroddiad ffafriol am dano yn y Cyfarfod dylynol, a'i fod yn bwriadu myned i Princeton i efrydu. Yn Plymouth galwyd am bleidleisiau yr eglwysi, ac yr oeddynt yn ffafriol iddo. Nodwyd y Parchn. R. S. Thomas a Hugh Davies a Mr. James Davies i'w arholi. Gwnaeth y pwyllgor adroddiad anffafriol, a phenodwyd iddynt wneyd arholiad arall. Derbyniwyd ef i undeb y Dosbarth yn Olyphant, 1887.

19. Mr. Owen L. Evans.—Ymgeisydd am y weinidogaeth yn eglwys Wilkesbarre oedd Mr. Evans. Y Parch. R. S. Thomas a Mr. Lewis Williams a anfonwyd i'w arholi, ac i dderbyn pleidlais yr eglwys ar ei achos. Nododd y Cyfarfod Wilkesbarre, Rolling Mill Hill, Ashley, Plymouth, yn faes llafur iddo am chwe' mis. Ni bu symudiad ychwanegol arno i gylch helaethach.

20. Mr. John Roberts.—Yr oedd y brawd hwn yn ymgeisydd yn Ashley, ond ni ddaeth pleidleisiau yr eglwysi yn ffafriol iddo gael ei symud i gylch helaethach.

21. Hugh Owens.—Yn Nghyfarfod Blakely, 1891, derbyniwyd adroddiad ffafriol o eglwys Wilkesbarre ar achos y brawd hwn fel ymgeisydd am y weinidogaeth, a nodwyd y Parch. R. S. Thomas a Mr. Evans L. Evans, Moosic, i fyned yno i'w arholi. Ond ataliwyd y gweithrediadau hyn, trwy i'r brawd gyfarfod a damwain yn y gwaith, yr hyn a derfynodd yn angeuol iddo. Ac mae y Cyfarfod dylynol, yn Warrior Run, yn datgan teimlad galarus gyda golwg ar ei farwolaeth, ac yn anfon llythyr o gydymdeimlad at ei fam yn Nghymru.

22. Samuel Griffiths.—Yn yr un Cyfarfod derbyniwyd cais o eglwys Bellevue gyda golwg arno yntau. Nodwyd ar y Parch. W. E. Morgans a Mr. R. C. Powell i fyned yno i'w arholi. Yn Ashley mae y pwyllgor yn gwneyd adroddiad ffafriol, yr hwn a gymeradwywyd gan y Cyfarfod, a phenderfynwyd symud yn mlaen yn ol Rheol 5, a'r Ysgrifenydd i drefnu cyhoeddiad iddo trwy eglwysi y Dosbarth am flwyddyn, ac anogwyd yr eglwysi i wneyd casgliad sylweddol er ei gynorthwyo i gael addysg. Derbyniwyd ef i undeb a'r Dosbarth yn Nanticoke, Rhagfyr, 1892.

23. Mr. John R. Williams.—Yn 1892, yn Carbondale, daeth cais o eglwys Bellevue am adferiad Mr. Williams i'r weinidogaeth. Penodwyd y Parch. W. E. Morgans a Mr. D. H. Evans, Hyde Park, i fyned yno i'w arholi. Dygodd yr arholwyr eu hadroddiad i Gyfarfod Providence yn mis Mai, a phenderfynwyd ymddwyn tuag at yr achos yn ol rheolau Cymanfaoedd Cymru mewn achos o'r fath. Yn Plymouth, 1893, penderfynwyd ei fod yn cael ei dderbyn yn aelod o'r Dosbarth fel pregethwr, gyda rhyddid i bregethu gair y bywyd yn mhob eglwys a'i cymella i hyny o fewn cylch y Dosbarth.

24. John Elias Jones.—Yn 1895, yn Plymouth, derbyniwyd ef ar sail llythyr ar yr un tir ag yr oedd arno yn Nghyfarfod Misol Morganwg. Yn ngwyneb cais am ei ordeiniad o Nanticoke, mae Cyfarfod Sugar Notch yn penderfynu iddo aros ar yr un tir am ddwy flynedd eto.

### V.—Y Brodyr Gyflwynwyd i'r Gymanfa.

Yn Nghyfarfod Bellevue, 1858, penderfynwyd cyflwyno y brodyr John Moses a Thos. J. Phillips i sylw, er eu derbyn i undeb y Gymanfa nesaf. Yn 1865, cyflwynwyd y brawd William J. Lewis, Wilkesbarre, i'w dderbyn yn aelod o'r Gymanfa. Yn 1868, mae y brawd Lewis S. Jones yn cael ei gyflwyno i'w dderbyn yn aelod o'r Gymanfa. Yn 1873, mae Cyfarfod Carbondale yn penderfynu fod y brodyr William H. Williams, Wilkesbarre; W. D. Jenkins, Pittston; a W. E. Morgans, Gibsonburg, i gael eu cyflwyno i sylw er eu

derbyn yn aelodau o'r Gymanfa. Dyma y rhai olaf y darllenwn am danynt i gael eu cyflwyno i'r Gymanfa yn ol yr hen ddull. Yn Cymru Newydd, 1879, penderfynwyd "Cyflwyno y mater o dderbyn pregethwyr heb eu hordeinio i sylw y Gymanfa nesaf." Ond mae Cymanfa Taylor, 1880, yn penderfynu, "Na dderbynid neb o hyny allan yn aelod o'r Gymanfa ond trwy ei ordeinio."

### VI.—Y Brodyr Gyflwynwyd i'w Hordeinio.

Un o reolau sefydlog y Cyfarfod Dosbarth ydyw, ei fod yn eistedd ar y mater hwn yn y Cyfarfod a gynelir yn mis Mehefin bob blwyddyn. Wedi mabwysiadu "Rheolau Ordeinio," yn 1874, mae yr arholiad ordeiniadol a wneid gan y Gymanfa gynt, yn cael ei wneyd yn y Dosbarth ar ol hyn, hyd nes mabwysiadu y rheolau sydd mewn grym yn awr. Yr oedd yr ymgeisydd i gael ei arholi mewn Gramadeg, Hanesiaeth Eglwysig, Duwinyddiaeth, Hanes Methodistiaeth, &c. Tra yr oedd y Rheolau hyn yn cael eu llunio a'u mabwysiadu, gohiriwyd gwneyd sylw ar achos brodyr o fewn cylch y Dosbarth oedd heb eu hordeinio. Y brawd cyntaf a gyflwynwyd i sylw y Gymanfa dan yr oruchwyliaeth hon, tebygol, ydyw—

1. Y Parch. Lewis S. Jones.—Yn Nghyfarfod Mehefin, 1873, yr hwn a gynaliwyd yn Carbondale, wedi sylwi ar y pwnc o ordeinio, penderfynwyd "Fod mater ordeiniad Lewis S. Jones yn cael ei ohirio am dymor." Yr hyn oedd yn cael ei roddi fel rheswm ydoedd anaddfedrwydd yr eglwysi i gymeryd pleidlais ddeallus ar ei achos ef ac eraill, oblegid anwybodaeth am danynt. Felly yn Nghyfarfod Wilkesbarre, 1873, penderfynwyd "Fod achos y brawd L. S. Jones i'w anfon i'r gwahanol eglwysi er cael pleidlais i'w ordeinio erbyn y Cyfarfod nesaf." Ond yn Nghyfarfod mis Rhagfyr, "Gohiriwyd ordeinio Mr. Jones a'r brawd W. E. Morgans am amser anmhenodol, am fod pwyllgor wedi ei neillduo i dynu cynllun cyffredinol o ordeinio." Yn Nghyfarfod Providence, 1874, gwnaed yn hysbys "Fod pleidlais

yr eglwysi wedi dyfod allan yn ffafriol i ordeiniad y brawd Lewis S. Jones, a phenderfynwyd ei gyflwyno i sylw swyddogion y Dosbarth i'w arholi yn ol rheolau y Cyfarfod Dosbarth. Pwy oedd yr arholwyr ni wneir un hysbysiad yn y cofnodion.

2. Y Parch. W. D. Jenkins.—Mae Cyfarfod Carbondale, Mehefin, 1878, yn pasio gydag unfrydedd fod y brawd yn cael ei gyflwyno i bleidlais yr eglwysi er ei ordeinio. Yn Taylorville, mis Medi, daeth pleidlais yr eglwysi yn ffafriol iddo, a nodwyd y Parchn. J. E. Davies, Thos. J. Phillips, Thomas B. Thomas, a Mri. Thomas Davies a James Thomas i'w arholi. Cyflwynwyd ef i gael ei ordeinio i'r Gymanfa ddylynol.

3. Y Parch. W. H. Williams.—Yn Warrior Run, Medi, 1876, yr oedd pleidlais y Cyfarfod yn unfrydol dros ei gyflwyno i sylw yr eglwysi er ei ordeinio. Y Parchn. Dr. Roberts, E. J. Hughes, a Mr. Thos. W. Morgans oedd y pwyllgor i'w arholi, a gwnaeth y pwyllgor eu hadroddiad yn Nanticoke, yn mis Rhagfyr, a chymeradwywyd ei gyflwyno i'r Gymanfa ddylynol i'w ordeinio.

4. Y Parch. W. E. Morgans.—Yn Olyphant, 1877, mae y Cyfarfod yn pleidleisio yn ffafriol i'w gyflwyno i gael llais yr eglwysi ar ei achos. Yr oedd y bleidlais yn ffafriol. Y pwyllgor arholiadol oedd y Parchn. J. E. Davies, R. H. Evans, W. Matthews, W. H. Williams a Mr. J. T. Griffiths. Yn Plymouth, 1877, gwnaeth y pwyllgor eu hadroddiad, a chyflwynwyd ef i'r Gymanfa nesaf i'w ordeinio.

5. Y Parch. D. D. Jenkins.—Yn Wilkesbarre, 1880, mae swyddogion y Dosbarth yn pleidleisio yn unfrydol dros gyflwyno Mr. Jenkins i sylw yr eglwysi gyda golwg ar ei ordeinio. Erbyn Cyfarfod Medi, yn Hyde Park, yr oedd pleidlais yr eglwysi yn unfrydol dros ei ordeinio. Y pwyllgor arholiadol oedd y Parchn. Thos. J. Phillips, W. H. Williams, a Mri. Thos. Davies a W. D. Davies. Yn yr un Cyfarfod, cyflwynwyd y brawd J. R. Jones, Taylor, i sylw yr eglwysi, ac yn Nghyfarfod Rhagfyr, yr hwn oedd yn Providence, galwyd am bleidlais yr eglwysi, ond chwech oedd

wedi anfon eu llais. Archwyd i'r gweddill anfon eu llais i'r Ysgrifenydd, fel os byddai y bleidlais yn ffafriol, y gellid arholi y ddau frawd erbyn Cyfarfod Mawrth. Cyfarfu y pwyllgor, gyda'r Parch. Thomas B. Thomas yn Llywydd, oblegid gwaeledd Dr. Davies. Nid ymddangosodd Mr. Jenkins, oblegid rhyw resymau, a methodd Mr. Jones a dyfod trwy yr arholiad. Penderfynwyd i'r pwyllgor barhau, ac i arholi Mr. Jenkins, a rhoddwyd iddynt awdurdod y Cyfarfod i'w gyflwyno i Gymanfa Mehefin, os barnant hyny yn briodol. Wedi arholiad ychwanegol, cymeradwyodd y pwyllgor y brawd J. R. Jones yn Hyde Park, 1882, a chymeradwyodd y Cyfarfod ef i sylw y Gymanfa i'w ordeinio.

6. Y Parchn. R. S. Thomas. 7. Ellis W. Jones.—Yn Bellevue, 1882, daeth cais o Taylor am ordeinio Mr. Thomas, ac o Bangor am ordeinio Mr. Jones. Penderfynwyd gwneyd eithriad yn y ddau amgylchiad er cyfarfod â dymuniadau y brodyr yn y ddau le, a chyflwynwyd hwynt i sylw y Gymanfa. Y pwyllgor i arholi Mr. Thomas oedd y Parchn. James Jarret, Thos. J. Phillips, W. D. Jenkins a Mr. W. D. Davies. Cyflwynwyd Mr. Jones ar sail certificate o Gymru.

8. Y Parch. Hugh Hughes.—Yn Nghyfarfod Moosic, 1886, daeth cais o Ashley a Warrior Run am ordeinio Mr. Hughes. Teimlid anhawsder i symud yn mlaen, am fod y brawd yn ddyeithr yn y Dosbarth, ond penderfynwyd iddo fyned trwy yr eglwysi mor fuan ag y gallai; a daeth y pleidleisiau i fewn yn ffafriol i Gyfarfod Warrior Run, a chyflwynwyd ef i sylw y Gymanfa i'w ordeinio.

9. Parchn. R. E. Williams. 10. John Isaac Hughes.—Yn Bellevue, 1887, bu sylw ar ordeiniad Mr. Williams o Bangor, a Mr. Hughes o Olyphant, ac fod yr eglwysi yn galw am eu hordeiniad, a phenderfynwyd i'r Ysgrifenydd drefnu iddynt fyned trwy yr eglwysi o fewn y tri mis canlynol. Yn y Cyfarfod dylynol cafwyd fod pleidleisiau yr eglwysi yn ffafriol i'r ddau frawd, a chyflwynwyd hwynt i sylw y Gymanfa yn mis Hydref. Ordeiniwyd hwynt yn Bellevue, 1889.

11. Y Parch. John J. Hughes.—Yn Warrior Run, 1888, gan

fod cais wedi dyfod o Miners Mills am ordeiniad Mr. Hughes, penderfynwyd fod yr eglwysi i gymeryd pleidlais ar ei fater, a dwyn eu llais i'r Cyfarfod nesaf. Yn Nghyfarfod Cymru Newydd, derbyniwyd pleidlais ffafriol iddo oddiwrth yr eglwysi, a phenderfynwyd ei gyflwyno i sylw y Gymanfa i'w ordeinio. Cymerodd hyny le yn Ashley, 1889.

12. Parch. Morgan J. Morgans.—Yn ngwyneb cais o Carbondale i Gyfarfod Rolling Mill Hill, 1889, penderfynwyd anfon cais at yr eglwysi am ei ordeiniad. Yn Carbondale, mis Medi, hysbyswyd fod pleidlais yr eglwysi yn ffafriol, os daw ef trwy ei arholiad yn llwyddianus, a phenderfynwyd ei gyflwyno i sylw y Gymanfa i'w ordeinio. Cymerodd hyny le yn Plymouth, 1890.

13. Parch. W. Jones Edwards.—Yn 1893, yn ngwyneb cais o eglwys Providence, penderfynwyd yn Plymouth, mis Mehefin, fod Mr. Edwards i'w ordeinio i gyflawn waith y weinidogaeth. Penodwyd y Parch. W. H. Williams a Mr. Lewis S. Jones i edrych dros ei certificate, a hysbyswyd i'r Cyfarfod ei bod yn rheolaidd. Yna trefnwyd iddo fyned o flaen yr eglwysi i gymeryd pleidlais ar ei achos. Yn Blakely daeth pleidlais 16 o eglwysi yn ffafriol iddo, a chyflwynwyd ef i sylw y Gymanfa.

14. Parch. Samuel Williams.—Gwnaeth y Cyfarfod yn Plymouth yr un trefniadau ar gyfer Mr. Williams a Mr. Edwards, ac yr oedd pleidlais yr eglwysi yr un mor ffafriol iddo yntau, a chyflwynwyd ef i sylw y Gymanfa yn Wind Gap.

15. Parch. John J. Williams.—Yn Rolling Mill Hill, 1895, derbyniwyd cais am ordeiniad Mr. Williams, o eglwys Olyphant, a phenderfynwyd symud yn mlaen gyda'i fater, a'i gyflwyno i sylw yr eglwysi i gymeryd pleidlais erbyn y Cyfarfod dylynol. Yn Nghyfarfod Mehefin, yn Wilkesbarre, cafwyd nad oedd ond pedair o'r eglwysi wedi cymeryd pleidlais ar y mater. Yn ngwyneb hyny penderfynwyd i'r Ysgrifenydd drefnu cyhoeddiad iddo yn yr eglwysi na bu ynddynt, a chymeryd llais ar ei achos yn ddioed. Erbyn

Cyfarfod Medi cafwyd fod pleidlais yr eglwysi yn ffafriol, a chyflwynwyd ef i sylw y Gymanfa ganlynol. Ordeiniwyd ef yn Nghymanfa Slatington, 1896.

VII.—Y BRODYR A DDERBYNIWYD YR FLAENORIAID.

Bellevue, Mai, 1858, y brawd Thos. Jenkins, Olyphant.

Scranton, 1885, y brodyr W. Cartridge a W. Davies, Scranton.

Bellevue, 1858, derbyniwyd y brawd John T. Griffiths.

Scranton, 1861, y brodyr W. Davies a Jeremiah Williams o'r lle.

Olyphant, 1861, y brawd Watkin Powell, Bellevue.

Pittston, 1862, y brawd Jonah Morgan, Rushdale.

Bellevue, 1863, y brawd Walter Phillips, Bellevue. Ail dderbyniad oedd hwn. 1866, Mr. David Evans, Portsmouth, O., ar sail llythyr o Gyfarfod Dosbarth Pittsburg.

Wilkesbarre, 1869, y brodyr Stephen Jones. Richard Roderick o'r lle uchod, a W. E. Morgans o Bellevue.

Bellevue, 1869, y brodyr Jonah Morgans, Bellevue; Daniel Moses a James R. James, Hyde Park.

Plymouth, 1868, David Evans heb arholiad, a Mr. Jonah Lewis, trwy arholiad, fel blaenoriaid yn eglwys Plymouth.

Wilkesbarre, 1869, Mr. John D. Phillips, Bellevue.

Danville, 1869, y brodyr W. Davies, Bellevue; David H Davies a David J. Thomas, Danville.

Carbondale, 1870, Mr. David Nicholas, Cymru Newydd; Mri. Rees Williams a Thos. L. Jones, Carbondale.

Wilkesbarre, 1871, Mri. David Williams a Thos. Davies, Plymouth; Mri. John Matthews a Richard Roberts, Providence.

Plymouth, 1871, Mr. John S. Davies, Bellevue.

Cymru Newydd, 1871, Thomas Lloyd, Providence.

Olyphant, 1871, Mri. Llywelyn Jones, Olyphant; W. Davies, Hyde Park; a John D. Walters, Wilkesbarre.

Providence, 1872, Mr. David Moses, Wilkesbarre.

Danville, 1872, Mr. David D. Williams, Danville.

Hyde Park, 1872, Mr. James Griffiths, Gibsonburg, a Mr. John R. Matthews, Grand Tunnel.

Bellevue, 1872, Mr. Jeremiah Williams, Gibsonburgh.

Wilkesbarre, 1873, Mri. Henry Harris a J. P. Green, Pittston.

Wilkesbarre, Medi, 1873, Mri. Evan Roberts, Bangor; a Jenkin Lewis, Grand Tunnel.

Plymouth, 1873, Mri. Isaac Morgans, Bellevue; Robert Lloyd ac Edward Edwards, Warrior Run.

Olyphant, 1874, Mri. James Thomas, William Lewis, R. S. Thomas, Bellevue; W. A. Price, Providence; a Moses B. Moses, Bangor.

Cymru Newydd, 1874, Mri. Thos. W. Morgan, W. H. Thomas, Wilkesbarre; John R. Matthews a Richard Mason, Moosic.

Hyde Park, 1874, hysbyswyd fod Mr. D. Nicholas a William J. Davies wedi eu dewis o newydd yn Gibsonburg.

Wilkesbarre, 1875, derbyniwyd Mr. Isaac Rees, Nanticoke.

Moosic, 1876, Mri. Thos. L. Jones a Morgan Rees, Carbondale; David J. Edwards, James Howard a William P. James, Taylorville; James Morgans a Hugh Griffiths, Plymouth.

Nanticoke, 1876, derbyniwyd Mri. Rees Morgan, Hyde Park; Morgan Lewis ac Isaac Rees, Nanticoke.

Wilkesbarre, 1877, Mr. James R. James, Hyde Park, eto.

Olyphant, 1877, Mri. Thos. Lloyd, Providence; W. Marsden, Olyphant; a Morgan Rees, Carbondale.

Taylorville, 1878, Mri. David Williams, Carbondale; a William Davies, Jermyn.

Moosic, 1878, Mri. Jeremiah Williams a J. R. Mathews o'r lle.

Olyphant, 1879, derbyniwyd pump yn aelodau o'r Cyfarfod Dosbarth, ond ni ddywedir pwy ydynt.

Plymouth, 1879, Mri. D. T. Roderick, Wilkesbarre; Lewis D. Williams, Plymouth.

Danville, 1880, Mr. Lewis Thomas o'r lle.

Providence, 1880, Mri. Evan L. Evans, Moosic; Rees C. Powell, John Evans a David Thomas, Hyde Park.

Wilkesbarre, 1882, Mr. Henry Lewis, Moosic.

Bellevue, 1882, Mri. Edward Foulkes, Bangor; Thomas Morgan, Providence; a Mr. John R. Matthews, Carbondale.

Bangor, 1883, Mr. Moses Williams o'r lle hwnw.

Ashley, 1883, derbyniwyd tri o flaenoriaid Ashley, ac un o Nanticoke, yn aelodau o'r Dosbarth.

Nanticoke, 1883, Mri. Richard Roderick, Plymouth; Ebenezer Evans a D. H. Davies, Nanticoke; a John Griffiths, Danville.

Plymouth, 1884, Mr. William Thomas, Taylorville.

Wilkesbarre, 1884, Mr. David Roberts, Ashley.

Bellevue, 1884, Mr. Ellis Williams, Ashley.

Warrior Run, 1885 Mr. John Peel, Nanticoke; a Mr. James H. Williams. Plymouth.

Miners Mills, 1885, Mri. Daniel Moses a Daniel Gregory, Hyde Park; D. D. Williams, Danville; D. James, Miners Mills; Jonathan Evans, Sugar Notch.

Plymouth, 1886, D. Lloyd, Miners Mills; Evan Williams, Ashley.

Wilkesbarre, 1886, Mri. David Griffiths, Jenkin Lewis a Lewis Jones, Rolling Mill Hill; James B. Davies a Morgan R. Morgans, Plymouth.

Sugar Notch, 1887, Mr. Ellis Williams, Ashley.

Olyphant, 1887, Mri. Thos. J. James, D. J. Harris a David Lloyd, Taylor (Feltsville).

Jermyn, 1887, Mri. William R. Jones, Wilkesbarre; Thos. Hopkins, Jermyn; a Rees Morgan, Plymouth.

Providence, 1888, Mri. Lewis S. Jones a Morgan D. Williams, Wilkesbarre; Leyshon Davies, Miners Mills; a Walter Rees, Providence.

Nanticoke, 1889, derbyniwyd Mri. D. W. Evans, Nanticoke; D. J. Evans ac Isaac Jones, Edwardsdale.

Carbondale, 1889, Mr. John R. Thomas o'r lle hwn.

Olyphant, 1890, Mri. W. R. Williams, D. Herbert Evans, Henry S. Davies a D. J. Williams, oll o Hyde Park. Hefyd, adferwyd y brodyr Mr. Daniel Moses a William Davies o'r un lle i'w swyddau ar sail tystiolaeth y brodyr fu yno.

Hyde Park, 1890, Mri. Evan R. Williams ac Edward Davies, Avoca; E. Williams a Henry G. Williams, Plymouth.

Sugar Notch, 1891, Mri. Robert J. Prichard, Ashley; a J. E. Williams, Avoca.

Blakely, 1891, Mri. William Prosser, Blakely; a Thos. H. Howells, Moosic.

Miners Mills, 1892, Mri. Evan C. Jones, Warrior Run; Owen C. Evans a Hugh R. Jones, Ashley.

Carbondale, 1892, Mri. John G. Evans a William D. Watkins, Carbondale.

Nanticoke, 1892, Mri. Daniel Thomas, Providence; Robert C. Lloyd ac Ed. Davies, Ashley; a Robert Prichard, Nanticoke.

Hyde Park, 1893, Mr. Thos. L. Jones, Olyphant.

Blakely, 1893, Mr. William Prosser, Blakely.

Olyphant, 1893, Mr. Robert Jones, Avoca.

Edwardsdale, 1894, Mri. Robert Jones, Isaac Jones, Edwardsdale; William T. Roberts a David C. Powell, Hyde Park; Evan Price, Edwardsdale; a W. Owen, Avoca.

Warrior Run, 1894, Mri. Thomas Morgan Providence; Daniel D. Williams a William T. Evans, Rolling Mill Hill; John H. Jones, Edward Harris a George Hampton, Nanticoke; Thomas M. Lewis, Sugar Notch; a Hugh Rowlands, Olyphant.

Ashley, 1894, Mri. Thos. D. Llewelyn, Sugar Notch; Robert Richards, Edwardsdale; David W. Davies, Olyphant; Rees W. Morgan, Wilkesbarre; Robert Prichard, Ashley.

Rolling Mill Hill, 1895, Mri. John Pugh a John O. Jones. Edwardsdale.

Plymouth, 1895, Mr. Thos. M. Evans, Miners Mills.

Sugar Notch, 1896, Mri. William S. Davies a W. H. Jones, Edwardsdale; William S. Morgans, Miners Mills; a John O. Jones, Carbondale.

Bellevue, 1896, Mr. Hugh R. Jones, Ashley.

### VIII.—Rhyddhawyd o'r Swydd Ddiaconaidd.

Scranton, 1861, Mr. Richard Rees o eglwys Scranton.

Hyde Park, 1866, rhoddwyd llythyr i Robert Wright, am fod eglwys Wilkesbarre yn gomedd un iddo.

Hyde Park, 1870, anfonwyd anogaeth garedig at un o aelodau y Cyfarfod iddo roddi ei swydd i fyny, am ei fod yn gorfod gweithio ar y Sabboth.

Wilkesbarre, 1873, derbyniwyd ymddiswyddiad Mr. Richard Roberts o eglwys Providence.

Danville, 1875, derbyniwyd ymddiswyddiad D. Evans, Plymouth.

Bellevue, 1876, diswyddwyd a diarddelwyd Mr. Thos. L. Jones, Carbondale, am feddwdod.

Taylorville, 1878, mae dau o flaenoriaid y lle yn dymuno rhoddi eu swydd i fyny. Caniatawyd eu cais.

Bellevue, 1885, rhyddhawyd D. Williams o fod yn swyddog yn Danville, a Mr. Thos. Morgan, Providence, yr un modd.

Carbondale, 1886, caniatawyd cais Thos. R. Evans i ymryddhau o'i swydd yn Plymouth.

Rolling Mill Hill, derbyniwyd ymddiswyddiad Mr. John R. Thomas, Carbondale, gan ei fod wedi ymuno a'r Presbyteriaid.

### IX.—Derbyniwyd trwy Lythyrau ac ar Wahoddiad.

1860—Parch. Thos. R. Jones, o Ohio.

1867—Parch. E. J. Hughes, o'r Dosbarth Deheuol.

1868—Parch. M. A. Ellis, o'r Dosbarth Deheuol.

1869—Parch. W. Roberts, D. D., o Ddosbarth New York

1870—Parch. W J. Lewis, o'r Dosbarth Deheuol.

1872—Parch. D. Hargest, aelod ar y tro.

1874—Parch. R. H. Evans, o Gyfarfod Dosbarth Ohio.
1874—Yn Providence, darllenwyd llythyr D. Phillips o Gymru.
1874—Parch. E. J. Hughes, o Gyfarfod Dosbarth New York.
1874—Parch. D. C. Phillips, aelod ar y tro.
1874—Parch. Thos. B. Thomas, o Ddosbarth Pittsburg.
1878—Parch. W. J. Lewis, o Kansas.
1880—Parch. Joseph Rees, o Gyfarfod Dosbarth Ohio.
1880—Parch. J. R. Jones, o'r Dosbarth Deheuol.
1880—Parch. John Moses, aelod ar y tro.
1880—Parch. J. W. Morgans, aelod ar y tro.
1881—Parch. G. H. Humphrey, aelod ar y tro.
1881—Parch. James Jarret, o Gyfarfod Dosbarth Oneida.
1881—Parch. M. A. Ellis, i gydeisteddiad.
1881—Parch. W. J. Lewis, i gydeisteddiad.
1884—Parch. R. F. Jones, o Gyfarfod Dosbarth Minnesota.
1884—Parch. Hugh Davies, o Gyfarfod Dosbarth New York a Vermont.
1884—Parch. J. T. Morris, o Gyfarfod Dosbarth Waukesha, Wis.
1886—Parch. Hugh Hughes, o Henaduriaeth New York.
1886—Parch. Hugh Davies, o Gyfarfod Dosbarth Ohio.
1886—Parch. R. E. Williams, o Gyfarfod Misol Lleyn, Cymru.
1886—Parch. Thos. Roberts, o Gyfarfod Dosbarth Jackson, Ohio.
1887—Parch. John Isaac Hughes, o Gyfarfod Dosbarth Oneida.
1887—Parch. Abraham Edmunds, o Gyfarfod Dosbarth Pittsburg, i eisteddiad.
1888—Parch. John W. Morgans, o Dakota.
1888—Parch. William J. Lewis, o Kansas.
1890—Parch. D. C. Phillips, o Ddosbarth Pittsburg.
1890—Parch. Abraham Edmunds, o Ddosbarth Pittsburg.
1892—Parch. Hugh Davies, o Gyfarfod Dosbarth New York.
1892—Parch. William Jones Edwards, o Gyfarfod Dosbarth Oneida.

1893—Parch. John O. Jones, o Gyfarfod Dosbarth Waukesha.
1893—Parch. R. E. Williams, o'r Dosbarth Deheuol.
1894—Parch. R. R. Jones, o'r Dosbarth Deheuol.
1894—Parch. Ellis Roberts, o Sir Oneida.
1895—Parch. John J. Williams, o'r Dosbarth Deheuol.

### X.—Ymadawodd trwy Lythyrau.

1858—Parch. W. Rowlands, D. D., i Oneida.
1867—Parchn. Isaac Blackwell a David Jones, er dangos eu safle gyda ni.
1868—Parch. W. J. Lewis, i'r Dosbarth Deheuol.
1873—Parch. E. J. Hughes, i Oneida.
1874—Parch. J. Irlwyn Hughes, i Ddosbarth Pittsburg.
1877—I eglwys Bangor, i Gymru i gasglu at y capel.
1878—Parch. R. H. Evans i Wisconsin.
1878—Parch. E. J. Hughes, i'r Dosbarth Deheuol.
1878—Parch. R. T. Jones, i ymweled a'r Gorllewin.
1876—Parch. W. J. Lewis, i Kansas.
1877—Parch. Thos. B. Thomas, i Gymru.
1877—Parch. E. J. Hughes, i Gymru.
1883—Parch. J. R. Jones, i Ddosbarth Pittsburg.
1884—Parch. Ellis W. Jones, i'r Dosbarth Deheuol.
1887—Yn Jermyn, i eglwys Bangor i ymuno a'r Dosbarth Deheuol.
1888—Parch. John Isaac Hughes, i'r Gorllewin.
1889—Parch. Thos. Roberts, i Ohio.
1889—Parch. Thos. J. Phillips, i Gymru.
1890—Parch. Hugh Davies, i New York.
1890—Parch. R. S. Thomas, i ymweled a Chymru.
1891—Parch. R. F. Jones, i Wisconsin.
1892—Parch. R. S. Thomas, i Gymru i aros.
1892—Parchn. W. H. Williams a Hugh Hughes, i ymweled a Chymru.
1892—Parch. Abram Edmunds, i Gymru.
1895—Parch. Ellis Roberts, i Vermont.

Ol-ysgrif—Yn Nghyfarfod Wilkesbarre, 1882. rhoddwyd

llythyrau ymadawiad i'r Parchn. Thomas B. Thomas a Richard T. Jones i fyned at y Presbyteriaid, y cyntaf i Dalaeth New York, a'r ail i ddinas Philadelphia.

XI.—Addysg.

Mae y Cyfarfod Dosbarth wedi rhoddi sylw arbenig i'r mater hwn, o bryd i bryd, yn gystal a'r Gymanfa. Yn Olyphant, 1871, gwnaed sylwadau fel y canlyn: "Fod yr eglwysi yn annyben yn casglu at yr achos, a bod ein pobl ieuainc yn derbyn ar yr adeg bresenol o'r Bwrdd $200 yn fwy nag a gesglir yn yr holl wlad; ac oddieithr i ryw gyfnewidiad gymeryd lle, y bydd y drws yn cael ei gau arnom eto, a'n pobl ieuainc yn marw o eisieu gwybodaeth." Penderfynwyd fod pregeth yn cael ei thraddodi yn mhob capel y Sabboth cyntaf yn Mawrth, a bod ymdrech yn cael ei wneyd i sicrhau casgliad da.

Yn Hyde Park, 1872, penodwyd fod y Parch. M. A. Ellis i fyned trwy yr holl eglwysi gyda golwg ar y casgliad, a'u bod i gyfranu yn ol deg cent yr aelod. Yn Nghymru Newydd, 1874, mae Mr. Ellis yn dymuno am ryw gynllun i godi arian at addysg, ac unwaith eto mae yn cael ei anfon trwy holl eglwysi y Dosbarth i osod yr achos ger bron.

Yn Danville, 1875, cwynid nad oedd dim yn cael ei wneyd, a phenderfynwyd fod swyddogion yr eglwysi i ymdrechu cael casgliad da at yr achos hwn.

Yn Nanticoke, 1876, mae y Cyfarfod yn cydnabod yn ddiolchgar a gwresog yr eglwysi a gyfranasant at yr achos hwn, a'u bod yn taer erfyn ar y gweddill i gwblhau. Yn yr un Cyfarfod, mae Mr. J. T. Griffiths, ar ran y pwyllgor addysg, yn hysbysu eu bod hwy wedi ymohebu â'r brawd ieuanc D. D. Jenkins mewn perthynas i'w fwriad i lynu wrth y Cyfundeb ar ol gorphen ei addysg, a chafwyd boddlonrwydd yn ei atebion. Penderfynwyd hefyd, "Oddiar deimlad o werth ein pregethwyr ieuainc, a gofal am anrhydedd a llwyddiant ein Cyfundeb, ein bod yn barnu na ddylem gymeradwyo yr un o honynt i Fwrdd Addysg y Presbyteriaid am gymorth arianol mewn cysylltiad ag efrydiaeth

mewn unrhyw athrofa, heb gael sicrwydd boddhaol o'i fwriad i aros yn y Cyfundeb wedi gorphen ei addysg athrofaol."

Yn Wilkesbarre, 1877, hysbysodd Mr. Griffiths dros y pwyllgor, fod Mr. Jenkins wedi arwyddo ei fwriad mewn ysgrifen, i ymlynu wrth y Cyfundeb ar ol gorphen ei addysg, ac yn Olyphant rhoddwyd cymeradwyaeth brydlon iddo i ofal y "Bwrdd" yn mhellach.

Yn Warrior Run, 1876, mae y pwyllgor yn datgan nad oeddynt yn teimlo cymeradwyo y person oedd yn derbyn addysg o'r Dosbarth hwn yn Princeton, os na fuasai yr eglwysi yn symud y ddyled maent wedi myned iddo yn barod mewn perthynas iddo. Felly penderfynwyd fod yr Ysgrifenydd i anfon i'r holl eglwysi ddymuniad caredig a thaer ar iddynt anfon yn ol deg cent yr aelod, i'r Cyfarfod Dosbarth nesaf, er cyfarfod ein dyled i'r "Bwrdd" yn Philadelphia dros yr efrydydd a arganmolwyd genym flwyddyn yn ol. Dymunir na byddo i un eglwys esgeuluso hyn.

### XII.—Yr Achos Cenadol.

Y wedd gyntaf ydym yn ei weled ar y mater hwn o fewn cylch y Dosbarth dyw, mewn cysylltiad a'r "Gymdeithas Genadol Americanaidd." Yn Carbondale, 1859, barnwyd nad oedd budd na mantais i ni o ymuno a hi, a phenodwyd y Parch. John Moses a Mr. Walter Phillips yn bwyllgor i wneyd ymchwiliad i gyfansoddiad "Cymdeithas Genadol y Presbyteriaid."

Yn Bellevue, 1859, penderfynwyd fod pob eglwys at eu rhyddid i ymuno â'r Gymdeithas Americanaidd, os barnant fod rhyw fudd yn hyny iddynt hwy.

Yn Carbondale, 1864, penodwyd pwyllgor o dri, y Parch. J. R. Williams, Scranton; John G. Davies, Hyde Park; a Walter Phillips, Bellevue, i dynu allan reolau Cymdeithas Genadol Gartrefol.

Yn Bellevue, 1870, penderfynwyd fod arian y casgliad cenadol i gael ei ddefnyddio mewn rhan i gynorthwyo lleoedd gweiniaid, a nodwyd Mri. Daniel Moses, J. M. Jones a

J. T. Griffiths yn fwrdd cenadol. O Carbondale, 1870, anfonwyd anogaeth daer at yr eglwysi ar iddynt wneyd casgliad cenadol er cynorthwyo yr eglwysi gweiniaid a'r Genadaeth Dramor.

Erbyn hyn mae Cymdeithas Genadol yr enwad yn casglu nerth a gallu i gynorthwyo yr eglwysi gweiniaid. Ond yr oedd yn gwestiwn pa fodd i godi casgliad, fel na byddai y Dosbarth yn tynu mwy oddiar y Gymdeithas nag mae yn gyfranu iddi.

Yn Olyphant, 1871, penderfynwyd fod pregeth a chasgliad at yr achos yn cael ei wneyd bob Sabboth cyntaf yn y flwyddyn.

Yn Wilkesbarre, 1875, rhoddodd Dr. Roberts adroddiad am y Genadaeth a'i gwaith, ac yn ngwyneb ei sylwadau, penderfynwyd, "Ein bod yn rhoddi derbyniad i'r Parch. Thos. C. Davies, Pittsburg, i ddyfod i ymweled a'n heglwysi yn Mai a Mehefin, a'n bod mewn modd neillduol yn taer anog ein heglwysi i wneyd casgliad at yr achos hwn.

Yn Taylor, 1878, lluniwyd y penderfyniadau canlynol: (a) Fod casgliad cyhoeddus i gael ei wneyd at y Genadaeth y Sabboth cyntaf o bob mis. (b) Fod y Trysorydd eglwysig i anfon cyfanswm y cyfryw gasgliad i Drysorydd awdurdodedig y Dosbarth, ar ol gwneyd casgliad yn mis Rhagfyr. (c) Fod Trysorydd y Dosbarth i roi adroddiad cyflawn a manwl am y derbyniadau oddiwrth bob eglwys ar ei phen ei hun yn Nghyfarfod Dosbarth Rhagfyr. (d) Fod iddo anfon yr arian a dderbynia i'r Trysorydd Cyffredinol mor fuan ag y gallo, fel y caffont ymddangos yn yr Adroddiad Blynyddol y flwyddyn ganlynol. (e) Fod Ysgrifenydd y Dosbarth i adgofio y rheolau hyn yn flynyddol yn y "Cyfaill" am Hydref neu Tachwedd. Wrth y rheolau hyn y gweithreda yr eglwysi o hyny hyd yn awr.

Mae gan y Gymanfa Gyffredinol ei goruchwyliwr dros y Dalaeth, ac mae gan y Dosbarth ei bwyllgor, cystal a'r Gymanfa, at yr hwn mae pob lle mewn angen cymorth i wneyd apel. Mae y Dosbarth hwn wedi derbyn er's blynyddoedd o $150 i $200 yn flynyddol. Rhoddir anogaethau,

traddodir pregethau, a threfnir mesurau i gasglu at yr achos yn barhaus. Er cymaint mae pob cymdeithas yn gwyno o herwydd dyled y blynyddoedd hyn, mae y Gymdeithas hon yn gallu gwneyd ei gwaith yn ddibrofedigaeth hyd yma. Ond Ohio a Wisconsin sydd yn cyfranu i'w thrysorfa gan mwyaf.

## XIII.—Dirwest.

Mae gweithrediadau y Cyfarfod Dosbarth gyda golwg ar y mater pwysig hwn i lwyddiant yr eglwysi, yn deilwng o sylw. Mae llais y Cyfarfod wedi bod yn glir a diamwys yn yr achos. Yn Nghyfarfod Hyde Park, 1870, ymdriniwyd a'r mater, a dangoswyd y pwys a'r priodoldeb i holl aelodau yr eglwys i fod yn ddirwestwyr, ac yn arbenigol y swyddogion, a phenderfynwyd, "Fod y Parch. J. E. Davies a Mr. Rich. Roderick i fyned trwy yr holl eglwysi er gweled sefyllfa yr achos." O Gyfarfod Bellevue, anfonwyd llythyr at eglwys Wilkesbarre i ofyn iddi ollwng ei gweinidog i orphen yr ymweliad dirwestol yn lle y Parch. J. E. Davies. Gwnaeth Mr. Hughes a'i gydymaith adroddiad fod y swyddogion oll yn ddirwestwyr. Yn Wilkesbarre, 1876, cafwyd cyfeillach ddirwestol yn y Cyfarfod hwn. Anogwyd hefyd fod yr eglwysi i gynal cyfarfod gweddi am lwyddiant yr achos dirwestol.

Yn Wilkesbarre, 1873, penodwyd pwyllgor—Parchn. L. S. Jones, M. A. Ellis a W. E. Morgan i dderbyn pleidleisiau yr eglwysi ar ddirwest fel amod eglwysig. Dros y mesur yr oedd Gibsonburg, Wilkesbarre a Danville; Olyphant yn gyfartal, a'r gweddill heb anfon eu pleidleisiau. Yr un pryd rhyddhawyd y pwyllgor a benodwyd i dynu ffurf o ymrwymiad dirwestol i aelodau y Cyfarfod Dosbarth; ond penderfynwyd eilwaith cael adystyriaeth ar y mater, a gohiriwyd cyn dwyn dim i derfyniad.

Yn Carbondale, 1873, nodwyd y Parchn. W. E. Morgan a B. D. Davies yn bwyllgor i dynu allan ymrwymiad dirwestol i aelodau y Cyfarfod Dosbarth, a'u bod yn caniatau rhyddid i ddangos fod y diodydd meddwol i gael eu def-

nyddio ar archiad meddyg profiadol. Dyma yr ardystiad:

"Yr ydym ni sydd a'n henwau isod yn ymrwymo yn ddifrifol ger bron Duw a phawb sydd yn bresenol, i beidio yfed dim diodydd meddwol, oddieithr yn sacramentaidd neu fel meddyginiaeth, ar archiad meddyg profiadol; ac i beidio eu gwneuthur na'u rhoddi, na'u cynyg i neb o'n cyd-ddynion, a hefyd yn mhob modd gweddaidd i wrthsefyll pob rhyw achosion ac achlysuron o anghymedroldeb."

Yn y Cyfarfod dylynol yn Plymouth penderfynwyd "Fod yr ardystiad yn cael ei lawnodi yn y Cyfarfod nesaf." Felly yn Providence, 1874, ardystiodd yr holl aelodau oedd yn bresenol yr ardystiad dirwestol trwy osod eu henwau ar y llyfr.

Yn Providence, 1880, hysbyswyd fod y Gymanfa yn cymell y Cyfarfod Dosbarth i nodi ymwelwyr dirwestol, i edrych i fewn i ansawdd dirwest yn yr eglwysi. Yn Plymouth penodwyd fod y Llywydd a'r Ysgrifenydd i nodi y pwyllgor i ymweled a'r eglwysi, a derbyniwyd eu hadroddiad yn Bellevue, 1881: "Fod yr eglwysi wedi bod yn ddifater, ond bernid fod yr ymweliad wedi bod yn fuddiol, gan fod ymdrech arbenig yn cael ei wneyd mewn rhai eglwysi i gael yr holl aelodau yn ddirwestwyr. Nid oes ond un eglwys ag mae dirwest yn amod eglwysig, ond mae amryw yn amcanu at hyn. Eraill, yn lled bell yn ol, ac yn synied fod yn rhaid cael rhyw gymaint o'r pethau meddwol."

Anogwyd yr eglwysi i sefydlu Bands of Hope, ac i arfer gwin anfeddwol yn y cymundeb.

Yn Carbondale, 1881, galwyd sylw eto at y mater, ac nad oedd y gwaith wedi ei orphen, gan anog y cenadon diweddaf i orphen yr ymweliad yn ddilai erbyn y Cyfarfod nesaf.

Pan ddaeth y Gwelliant Cyfansoddiadol ger bron y Dalaeth, penderfynwyd yn Nghyfarfod Nanticoke, 1889, (a) "Ein bod fel Cyfarfod yn hollol gymeradwyo y gwelliant, fel mae yn cael ei osod allan gan ein Seneddwyr, ac yn ymrwymo i wneyd yr oll a allwn ar dir teg er dwyn y farn i fuddugoliaeth. (b) Ein bod trwy ein cenadon yn anog yr

holl eglwysi i ymgymeryd yn ddifrifol a'r gwaith, trwy gael ein cynulleidfaoedd i gydweithredu er cynal cyfarfodydd a gwneyd y symudiad yn effeithiol o fewn ein terfynau. (c) Ein bod yn anog ein pobl i dderbyn a darllen y papyrau hyny sydd yn egluro y fasnach yn ei holl echryslonrwydd, ac hefyd yn dadleu o blaid y gwelliant."

Yn Hyde Park, 1893, galwyd sylw at ardystiad dirwestol y Cyfarfod gan yr Ysgrifenydd, er mwyn gwybod beth i wneyd ag enwau y rhai a dorant yr ardystiad. Dyfarniad y gadair oedd, "Yn gymaint a bod yr ardystiad yn amod aelodaeth o'r Cyfarfod Dosbarth, mae yn canlyn fod unrhyw aelod yn gwrthod ac yn peidio ei gadw, ar yr un pryd yn gwrthod ac yn peidio bod yn aelod o'r Cyfarfod." Cadarnhaodd y Cyfarfod gywirdeb y dyfarniad hwn.

Yn Plymouth, 1893, penderfynwyd nad oes gan un eglwys hawl i redeg neb yn flaenor heb fod y cyfryw yn llwyr ymwrthodwr oddiwrth bob math o ddiodydd meddwol. Yn y Cyfarfod gan yr Ysgrifenydd, er mwyn gwybod beth i dalu sylw i'r rheol na dderbynir neb yn aelod o'r Cyfarfod Dosbarth os na fydd yn ddirwestwr, ac yn barod i roi ei enw wrth yr ardystiad dirwestol ar lyfr y Dosbarth. Mae yn dda genym allu rhoddi y dyfarniadau uchod ger bron y darllenydd, fel y gallo weled fod y Cyfarfod Dosbarth wedi bod yn ffyddlawn i'r ymrwymiad dirwestol. Y penderfyniad cyntaf wnaed ar y mater oedd yn Carbondale, 1860, yr hwn sydd fel y canlyn:

"Penderfynwyd nad ydym ni, fel Methodistiaid yn y Dosbarth hwn, yn derbyn neb yn gyflawn aelodau heb iddynt fod yn ddirwestwyr; hefyd, na symudir un pregethwr i gyflawn waith y weinidogaeth, ac na chyfodir un aelod i fod yn flaenor ychwaith, heb ei fod yn ddirwestwr." Pa faint bynag mae yr eglwysi yn y blynyddoedd diweddaf wedi ymlygru yn y drwg hwn, mae y Cyfarfod Dosbarth wedi amcanu bod yn bur.

## XIV.—Yr Ysgol Sabbothol.

Mae y Cyfarfod Dosbarth wedi talu llawer o sylw i'r rhan

hon o waith yr Arglwydd fel pob rhan arall. Yn Bellevue, 1859, "Galwyd sylw at yr angen am lyfr neu lyfrau mwy cyfaddas i'r plant, nag sydd genym." Yn Hyde Park, 1868, galwyd sylw at "Hyfforddwr" Mr. Charles fel llyfr pwrpasol i ddysgu yr ieuenctyd yn egwyddorion crefydd. Penderfynwyd fod dymuniad taer yn cael ei anfon at bob eglwys ac ysgol i ymaflyd yn y gwaith. Yn Bellevue, 1870, penodwyd ymwelwyr i fyned trwy yr eglwysi i wneyd ymchwiliad i sefyllfa yr achos yn gyffredinol, a'r Ysgol Sabbothol yn arbenig—y Parch. M. A. Ellis a Mr. D. Evans, Plymouth, i fyned i Bellevue, Wilkesbarre, Pittston, Plymouth a Danville; y Parch. Dr. Roberts a Mr. J. M. Jones i'r eglwysi eraill. Hefyd, penodwyd y Parchn. Dr. Roberts, M. A. Ellis a B. D. Davies yn bwyllgor i ddethol Llaw-reolau i'r Ysgol Sabbothol. Yn Pittston, dewiswyd Mr. L. S. Jones yn lle Dr. Roberts. Yn Wilkesbarre, 1871, mae y pwyllgor yn gwneyd adroddiad fod y Rheolau yn barod. Cymeradwywyd hwynt. Penderfynwyd argraffu 1,500 o honynt, a bod copi o'r Rheolau a llythyr yn cael ei anfon at bob Ysgol trwy y wlad.

Yn Hyde Park, 1878, rhoddwyd anogaeth i'r eglwysi i wneyd ymdrech adnewyddol o'i phlaid, a bod pregeth yn cael ei thraddodi yn mhob lle yn y tri mis dyfodol, gyda golwg ar gymell yr Ysgol i sylw y bobl. Yn Hyde Park, 1880, penderfynwyd "Fod y cyfarfod dau o'r gloch yn mhob Cyfarfod Dosbarth o hyn allan i gael ei dreulio er budd a llesad yr Ysgol Sabbothol, a'r Parch. W. H. Williams i ofalu am drefn y Cyfarfod nesaf; a'r trefniant oedd, i'r Parch. Thos. B. Thomas bregethu ar yr achos, a brodyr eraill ei ddylyn mewn sylwadau cyffredinol. Dylynwyd gan y Parch. J. R. Jones yn y Cyfarfodydd olynol hyd Gyfarfod Warrior Run, 1882, pryd y diddymwyd y rheol hon. Mae yn debyg nad oedd yn ateb y dyben, nac yn rhoi boddlonrwydd. Yn Moosic, 1885, gwnaed trefniadau i ddathlu Canmlwyddiant yr Ysgol Sabbothol, a detholwyd y 4ydd o Hydref fel y dydd i ymgynull. Y rhan uchaf o'r Dosbarth i gyfarfod yn Hyde Park, a'r Parch. J. T. Morris a Mri. W.

D. Davies a W. Watkin i barotoi ar gyfer dau gyfarfod; a'r rhan isaf yn Wilkesbarre, y Parch. Samuel Williams a Mr. James B. Davies i wneuthur trefniadau ar gyfer dau gyfarfod yno.

### XV.—Chwareuyddiaethau.

Un o nodweddion arbenig "yr oes" yn ei gwrthwynebrwydd i'r efengyl, ydyw y duedd i chwareu sydd yn amlygu ei hun yn mhob cyfeiriad, ac nid oes dim wedi bod mor effeithiol i ddiraddio cysegredigrwydd ty yr Arglwydd yn ngolwg dynion a'r chwareuon sydd wedi eu goddef yn ein capelau o bryd i bryd. Mae llais y Cyfarfod Dosbarth wedi bod yn glir a difloesgni ar y cwestiwn yn ei wahanol agweddau. Y wedd gyntaf mae yn dyfod i'n sylw yn hanes y Cyfarfod ydyw, y chwareuon crefyddol fu yn boblogaidd mewn blynyddoedd aethant heibio. Yr oedd crefyddolder y darnau yn cael ei ddefnyddio fel esgus dros gyfreithlondeb y chwareu.

Yn Nghyfarfod Pittston, 1858, mae sylw yn cael ei roddi i'r "Chwareuon ysgrythyrol," "sef y chwareuon crefyddol a gynaliwyd mewn amryw gapelydd Nadolig diweddaf yn y Dalaeth hon, ac yr oeddym yn ystyried fod y chwareuon hyn yn taro yn uniongyrchol yn erbyn rheolau dysgyblaethol Corff y Methodistiaid Calfinaidd, ac o ganlyn ad yn waharddedig i fyned iddynt, ac na ddylem oddef neb a fyddo yn myned iddynt yn aelodau yn ein plith."

Ar ol hyn mae yr un ysbryd yn amlygu ei hun mewn cystadleuaeth Eisteddfodol, yr hwn sydd yn parhau yn ei fri mewn rhai ardaloedd hyd heddyw. Felly yn Nghyfarfod Wilkesbarre, 1873, penderfynwyd, "Ein bod yn annog yr eglwysi yn mhob man trwy y Dosbarth i gau eu capelau ar y Sabboth yn erbyn parotoi ar gyfer Eisteddfodau a chyngerddau, ac i beidio goddef i'w haelodau i ymgymeryd a hyny mewn unrhyw le arall." Mewn Cyfarfodydd dylynol mae llais y Cyfarfod yn fwy pendant ac awdurdodol ar y mater hwn.

Yn Nghyfarfod Olyphant, 1874, penderfynwyd, "Ein bod

yn cadarnhau y penderfyniad a basiwyd amser yn ol, ein bod yn gwahardd yr ymarferiadau cerddorol ar ddydd yr Arglwydd ar gyfer cystadleuaeth mewn Eisteddfodau, a'n bod yn anog y swyddogion i ddwyn y mater o flaen yr eglwysi, gan edrych ar fod ufudd-dod yn cael ei roddi i'r gwaharddiad."

Yn Nghyfarfod Gibsonburg, 1875, mae cymeradwyaeth yn cael ei roddi i waith eglwys Cymru Newydd yn gwahardd i'w haelodau chwareu dramas crefyddol. Yn Taylorville, 1876, penderfynwyd drachefn, "Ein bod yn cadarnhau yr hyn a waharddwyd yn flaenorol gan y Gymanfa, sef na chaniateir cynal Eisteddfodau yn ein capelau, na pharotoi ar eu cyfer." Nid yn unig pasiwyd y penderfyniadau uchod, ond yn Carbondale, 1868, cynaliwyd cyfeillach i ymdrin â'r niwed a gynyrcha chwareuon cyhoeddus i achos crefydd; a phenderfynwyd anfon cais at y Gymanfa ddylynol i adael y gyfeillach gyffredinol yn agored i bawb—crefyddol ac anghrefyddol—i ymdrin ar y mater. Yn Scranton, yr un flwyddyn, bu ymdriniaeth gyhoeddus ar y mater, "A ydyw yn gydweddol â sancteiddrwydd y Sabboth i dreulio rhan o hono ar gyfer cystadleuaeth Eisteddfodol," &c.

Un o nodweddion annuwioldeb yn ei holl ffurfiau ydyw hyfdra a beiddgarwch; ac mae yr ysbryd hwn yn myned yn fwy hyf yn ein mysg yn barhaus. Yn Nghyfarfod Warrior Run, 1876, daeth yr ymofyniad canlynol i sylw: "A ydyw yn unol a chrefydd ein Harglwydd Iesu Grist i'r rhai a broffesant ei enw i ymarfer a chwareu cardiau, dominoes, checkers, &c.; ac mewn atebiad i'r ymofyniad, mabwysiadwyd y penderfyniad canlynol: "Ein bod yn anog yr eglwysi i ddwyn y rhai a ddelir yn chwareu cardiau dan gerydd, a'i fod yn hollol groes i'r Cyffes Ffydd, ac i rybuddio yr aelodau i beidio ymarfer a chwareuyddiaethau gwag a disylwedd er mwyn difyrwch." Dymunid hefyd i'r swyddogion ddarllen y Rheolau Dysgyblaethol yn aml, er mantais i'r holl aelodau i wybod pa bethau a waherddir yn ein rheolau. I Gyfarfod Sugar Notch, 1891, mae eglwys Hyde

Parg yn cyflwyno mater i sylw y Cyfarfod, sef "Arholiad llygredig ein heglwysi o gydymffurfio a phechodau yr oes, megys dawnsio," &c. Mewn canlyniad i'r ymdriniaeth, mabwysiadwyd y ddau benderfyniad canlynol: (a) "Fod y Cyfarfod Dosbarth hwn, yn y modd mwyaf penderfynol, yn anghymeradwyo y fath arferiad. (b) Ein bod yn cyflwyno y mater i sylw Cymanfa Hyde Park." Bellach, nid oes lle i neb ameu beth ydyw llais y Cyfarfod Dosbarth wedi bod gyda golwg ar yr arferion llygredig ac annuwiol sydd yn ffynu i fesur anghyffredin yn y dyddiau hyn.

## XVI.—Materion o Ymrafael a Dysgyblaeth.

Cyfarfod Bellevue, 1859, anghydwelediad rhwng y Parch. Dr. Rowlands a Mr. Walter Phillips.

Cyfarfod Bellevue, 1861, anghydwelediad rhwng y Parch. Thos. R. Jones ac eglwys Scranton. Yr un pryd, cwyn o Gymanfa Minersville yn erbyn y brawd John R. Williams.

Pittston, 1862, cwyn o Bellevue yn erbyn John R. Williams.

Scranton, 1862, achos Watkin Powell ac eglwys Bellevue.

Carbondale, 1864, penodi pwyllgor i fyned i Scranton mewn achos o ddysgyblaeth.

Pittston, 1865, achos Robert Wright ac eglwys Wilkesbarre.

Hyde Park, 1866, achos y Parch. D. C. Evans a'i fasnach.

Wilkesbarre, 1869, achos y Parch. J. E. Davies ac eglwys Bellevue.

Plymouth, 1869, achos Mr. David James ac eglwys Pittston.

Hyde Park, 1870, achos y brawd J. R. Williams am yfed.

Providence, 1872, achos y brawd Samuel Williams.

Hyde Park, 1872, hysbysiad am ddiarddeliad yn Nghymru Newydd.

Wilkesbarre, 1873, cyhuddiad o Bellevue yn erbyn eglwys Hyde Park.

Carbondale, 1873, anghydfod yn Hyde Park rhwng Mr. Daniel T. Jones a Mrs. Ann Harris.

Hyde Park, 1874, rhwng y Parch. M. A. Ellis a D. L. Richards.

Yn Danville, 1875, achos Thos. L. Jones, Carbondale, am feddwi.

Yn Moosic, 1875, achos y brawd L. S. Jones ac eglwys Wilkesbarre.

Yn Taylor, 1876, achos o Bellevue yn erbyn swyddog, W. R. Lewis.

Yn Warrior Run, 1876, achos Isaac Rees, Nanticoke.

Plymouth, 1877, ymchwiliad i achos o Wilkesbarre.

Carbondale, 1878, adroddiad pwyllgor ar achos yn Taylorville.

Danville, 1880, achos y Parch. Joseph Rees ac eglwys Danville.

Wilkesbarre, 1880, cyflwynwyd cwyn Mr. W. D. Williams, Danville, i sylw y pwyllgor.

Bellevue, 1881, cymeradwywyd adroddiad y pwyllgor yn Hyde Park.

Nanticoke, 1883, cwyn o Moosic yn erbyn un o aelodau y Dosbarth.

Moosic, 1883, cwyn yn erbyn Mr. W. D. Williams, Danville.

Plymouth, 1883, diarddelwyd James Griffiths, Jermyn.

Hyde Park, 1884, Parch. R. F. Jones a Mr. J. T. Griffiths yn cael eu hanfon i Taylor. Yr un pryd, achos o ymrafael yn Providence.

Wilkesbarre, 1884, swyddogion yn anmharchu eu hardystiad.

Bellevue, 1885, anufudd-dod blaenoriaid Carbondale.

Plymouth, 1886, achos Moosic.

Jermyn, 1887, cymeradwyo gweithrediadau y pwyllgor yn Hyde Park. Terfynwyd yr achos hwn Medi, 1888.

Olyphant, 1890, cais o Danville am ddiarddel W. D. Williams.

Providence, 1892, achos y Parch. Abram Edmunds a Mr. David Parry o eglwys Olyphant.

Plymouth, 1893, eglwys Nanticoke yn gofyn am lythyr ymadawol.

Olyphant, 1893, cymeradwyo gwaith eglwys Hyde Park yn dysgyblu un o'r blaenoriaid.

Providence, 1895, anfon y Parch. W. E. Morgans a Mr. David H. Evans i Providence, i chwilio i mewn i achos yno.

Pwy bynag ewyllysio fanylion yr achosion hyn, maent i'w cael ar y cofnodion. Ni wneir yma ond crybwylliad pa bryd y bu sylw arnynt, er dangos fod y Dosbarth wedi amcanu amddiffyn yr achos yn ei enw da yn mhob amgylchiad fu dan sylw. Yn 1876 penodwyd pwyllgor ar achosion eglwysig, ac o hyny allan mae y materion hyn yn cael eu cyflwyno i'r pwyllgor hwn.

# PENOD VI.

## Y PARCH. JOHN DAVIES, BLAKELY.

TEIMLIR yn gyffredin yn mysg y rhai sydd yn ei gofio, fod teyrnged o barch yn ddyledus i Mr. Davies yn yr hanes hwn, yn fwy na neb arall fu o fewn cylch y Dosbarth a'r Gymanfa, nid yn unig ar gyfrif ei dduwioldeb a'i ffyddlondeb, ond am mai efe ydyw tad Methodistiaeth yn y Dalaeth. Efe sefydlodd yr eglwysi cyntaf, sef Carbondale a Pottsville, yn 1832; Blakely, 1848; a Chymru Newydd yn 1839. Gosodwn ger bron y darllenydd grynodeb o hanes ei fywyd, a ysgrifenwyd ganddo ef ei hun.

Ganwyd ef Ionawr 1, 1783, yn mhlwyf Llansamlet, Sir Forganwg. Enw yr ardal oedd Pentre'r Gang, yn ymyl Capel y Cwm, eiddo y Methodistiaid Calfinaidd. Yr oedd ei fam o deulu ac ysbryd pur grefyddol, a pharhaodd felly hyd ei bedd. Gadawyd hi yn weddw pan oedd ef yn blentyn ieuanc, ac oblegid hyny ni chafodd fawr o fanteision addysg, a gorfu iddo fyned i weithio mor fuan ag y gallai, er mwyn helpu ei fam i fagu y plant. Pan oedd ef tuag wyth oed torodd diwygiad allan yn Nghapel y Cwm, yr hwn a elwid gan yr hen bobl, "Y Diwygiad Mawr." Dyna y pryd, mae yn debyg, y teimlodd argraffiadau crefyddol gyntaf. Er nas gallai roddi deffiniad o honynt, eto yr oedd yn cofio yn gynes am "y diwygiad mawr' ar hyd ei oes. Pan oddeutu 12 i 15 oed aeth i ymweled a pherthynasau iddo, ac mae yn eglur, yn ol yr hanes, mai modryb iddo fu yn offeryn i roddi symbyliad i'w feddwl i gychwyn bywyd newydd.

Yn fuan wedi yr adeg hon daeth y Parchn. John Roberts, Llangwm, a James Hughes, Lleyn, i Gapel y Cwm i bregethu, ac wedi gwrando y rhai hyny, meddai, "Y penderfynais, gyda chymorth gras, i ymuno ag achos crefydd."

Yn mhen chwe' blynedd ar ol dechreu ei fywyd crefyddol, daeth ar ei feddwl ddechreu pregethu. Er nad oedd wedi cael fawr o fanteision addysg, yr oedd yn medru darllen Cymraeg a Saesneg yn weddol dda, a bu hyny o wasanaeth mawr iddo. Wedi arfer ei ddawn i gyngori yn y cyfeillachau am ryw dymor, cafodd ei ryddid i bregethu, a bu y brodyr yn dirion iawn o hono yn adeg ei wendid. Isel oedd ei amgylchiadau, a chafodd (fel y dywedai) ei gadw rhag myned yn bregethwr mawr, na myned i brofedigaeth, wrth feddwl ei fod, oblegid ei amgylchiadau. Yn fuan wedi hyn daeth y brofedigaeth o newid ei sefyllfa ar ei feddwl, ond meddai, "Nid aethym i faes y byd i ymofyn cydmares, ond i blith merched fy mhobl." Bu, wedi hyny, ar gais cyfeillion, yn byw yn "Ty'r Capel" nes symud i America yn 1831. Yr oedd y fordaith yn ystormus, ac ofnai lawer gwaith mai gwaelod y mor fuasai ei feddrod. Wedi glanio cymerwyd ei wraig yn glaf yn New York, ac wedi bod yno wythnos, cychwynwyd am Carbondale, a bu Mrs. Davies farw yn mhen wythnos wedi cyraedd yno. Felly, pa ddrygau bynag y meddyliodd ffoi rhagddynt, aeth i gyfarfod a rhai mwy.

Bu yn byw ac yn gweithio am rai blynyddoedd yn Carbondale, ac wedi hyny symudodd i fyw ar dyddyn bychan yn ardal Blakely, saith milldir i'r deau o Carbondale, ac yn y fangre hon bu yn aros am 33 o flynyddoedd. Yr oedd yn dylyn ei alwedigaeth yn Carbondale, er ei fod wedi symud oddiyno i fyw, a hyny am lawer o amser. Bellach dyma faes ei lafur, ac yn y cylch hwn y cyflawnodd ei weinidogaeth.

Casglodd yr ychydig Fethodistiaid oedd yn Carbondale, a sefydlodd hwynt yn eglwys yn 1832. Yn yr un flwyddyn aeth i Pottsville a sefydlodd yr ychydig Fethodistiaid oedd yno yn eglwys. Aeth yno drachefn yn yr un flwyddyn,

"am fod rhyw un ar enw pregethwr wedi chwalu yr eglwys fechan a sefydlodd ef, a'i throi yn Annibynol, a gwasgarodd yr enwadau eraill, ac anfonodd y Methodistiaid am dano yr ail waith i'w sefydlu yn eglwys. Am rai blynyddoedd dyma yr unig ddwy eglwys Fethodistaidd oedd yn y Dalaeth.

Yn y flwyddyn hono anfonodd y brodyr o Sir Oneida y Parch. Benjamin Davies, Penycaerau, i ymweled a'r cyfeillion yn Carbondale, a bu yno am rai wythnosau yn pregethu ac yn gweini yr ordinhadau iddynt. Pan oedd Mr. Davies ar ddychwelyd adref, mae brodyr Carbondale yn unfrydol yn anfon John Davies gydag ef i gael ei ordeinio yn weinidog, fel y gallent gael gweinyddiad yr ordinhadau sacramentaidd. Cydsyniodd y cyfeillion yn Sir Oneida yn siriol ac unfrydol a'r cais, ac ordeiniwyd ef i gyflawn waith y weinidogaeth yn y flwyddyn 1832. Wedi aros ychydig wythnosau gyda'r cyfeillion yno, dychwelodd i Carbondale, ac yn fuan wedi hyny derbyniodd lythyr o Pottsville yn ei gymell i fyned yno i sefydlu eglwys Fethodistaidd yn y lle. Bellach mae yn dechreu ar waith ei fywyd o ddifrif, fel pregethwr, gan gyfyngu ei lafur mewn gostyngeiddrwydd a hunan-ymwadiad i gylch y Dalaeth hon.

Unwaith fe gymerodd daith i'r Gorllewin can belled a Racine a Prairieville, Wis., gan gymeryd Ebensburg, Pittsburg, sefydliadau Ohio, a Cincinnati, ar ei ffordd, a dychwelodd trwy ddinas New York. Yr oedd hyny yn y flwyddyn 1844, ac wedi treulio yn agos i bedwar mis ar y daith, dychwelodd yn ol yn mis Hydref yn iach, a dymunai hysbysu iddo gael sirioldeb yn mhob man y bu, a'i fod yn llawen wrth weled cymaint o arwyddion gras Duw. Bu hefyd unwaith mewn Cymanfa Gorfforedig yn ninas New York, ac oddieithr hyn, ei gartref oedd ei ran ef o'r winllan i'w llafurio, ac yma, yn ddidrwst a diymhongar, bu yn gweithio yn ddiwyd, ffyddlawn ac ymroddiadol hyd nes pallodd ei nerth. Ar ei alwedigaeth y dibynai am gynaliaeth iddo ei hun a'i deulu; eto esgeulusodd hono er mwyn y fraint o gyhoeddi efengyl Duw yn rhad i'w gydwladwyr, ac yn enwedig ei enwad dewisedig.

Yr oedd meithder a gerwinder y daith o Carbondale, trwy Wilkesbarre, Hazleton a Tamaqua, i Pottsville, nid yn unig yn flin a thrafferthus, ond yn beryglus y pryd hwnw. Yr oedd cyfleusderau teithio yn brin, a'r ffyrdd yn anhygyrch, y tywydd yn oer ac ystormus yn y gauaf, y cyfeillion yn ychydig ac yn analluog i ddwyn ei draul; am hyny ar ei draed y byddai yn myned braidd yn wastad, a theithio trwy yr anialwch yn y nos, oblegid anfynych yr oedd llety i'w gael ar y ffordd, ac yntau yn brin o arian.

Felly y treuliodd ddeng mlynedd ar hugain yn llawn gwaith, gan deithio o Carbondale i Pottsville a lleoedd eraill ag yr oedd Cymry wedi sefydlu ynddynt, gan ofalu bod yn bresenol yn yr holl Gymanfaoedd a'r Cyfarfodydd Dosbarth, wedi i'r Cyfarfod hwnw gael ei sefydlu. Rhyngddo ef a Joseph E. Davies, D. D., y sefydlwyd y rhan fwyaf o eglwysi o fewn cylch y Gymanfa. Cymerodd ran hefyd mewn amryw ordeiniadau yn y Dalaeth. Cafodd ei wobrwyo yn ei feddwl, i fesur, wrth weled yr achos yr ymdrechodd gymaint drosto yn llwyddo, wrth y peth ydoedd ar y dechreu. Oblegid yr ymdrech a'r aberth a wnaeth er ei lwyddiant, mae yn teilyngu fod ei enw yn barchus, a'i goffadwriaeth yn fendigedig yn hanes Methodistiaeth, fel un o wroniaid yr eglwys Gristionogol.

Ni chawsom y fraint o'i weled ericed, ond oddiwrth yr hyn a glywsom am dano, yr oedd o ran ffurf a maint ei gorff yn dal ac esgyrnog. Dyn cydnerth, cymwys i wneyd llawer o waith, a dyoddef caledi. O ran nodwedd ei feddwl a'i weiniodgaeth, yr oedd yn dyner ac efengylaidd ei ysbryd. Dyn ag yr oedd pawb a glywsom yn siarad am dano yn ei barchu fel dyn duwiol ac anwyl iawn. Syml o ran ei arferion, cyson o ran ei rodiad, a ffyddlon o ran ei ymroddiad. "Cadwodd ireidd-dra ei ysbryd a'i rym corfforol hyd y diwedd." "Yr oedd ei brofiad yn ei flynyddoedd diweddaf yn uchel, clir a sicr."

Bu farw ar y ffordd, tua dwy filldir o'i anedd, wrth ddychwelyd o efail y gof, Ebrill 18, 1866. Claddwyd ef ar yr 20fed, yn ngwydd tyrfa fawr o wahanol genedloedd ac

ieithoedd, a gwasanaethodd y brodyr parchus Lewis Williams (A.), John R. Williams a Joseph Davies, D. D., ar yr achlysur. Traddodwyd pregethau angladdol iddo yn Blakely, Sabboth y 29ain, gan Dr. Davies a G. Williams; ac mae Dr. Davies yn traddodi pregeth angladdol iddo yn y Gymanfa ddylynol yn Hyde Park. Yr oedd wedi bod yn pregethu am yn agos i 60 mlynedd, a 34 yn gyflawn weinidog.

Gwnaed y sylwadau canlynol ar ei farwolaeth yn y Gymanfa gyntaf yn West Bangor, Mai, 1866: "Bu sylw arbenig ar farwolaeth ddisymwth yr hen dad parchus, John Davies, Blakely, yr hwn a fu farw yn hen ac yn gyflawn o ddyddiau, ac wedi bod yn cyhoeddi yr ymadrodd am y groes yn agos i 60 mlynedd; ac er hyn oll, nid oedd ei ireidd-dra wedi cilio. 'Tirf ac iraidd ydoedd yn ei henaint.' Hysbysodd lawer gwaith, mewn cyfeillach Gymanfaol, ei fod yn ein caru yn ei galon, fel to ieuengach nag ef o bregethwyr; a'i fod yn hom ein cymdeithas, ac yn dymuno ein llwyddiant. Dywedai yn fynych na byddai ef yn hir, ac wedi ei fyned y gallem fod yn dra sicr, os casglid ef at ei bobl, mai i 'Gymanfa a chynulleidfa y rhai cyntafanedig, y rhai a ysgrifenwyd yn y nefoedd,' y byddai wedi myned. Yr oedd y Gymanfa yn teimlo ei fod wedi ein gadael, ac wedi marw mor ddisymwth, ac yn neillduol yn y cyfryw amgylchiadau. Ystyrid ef fel tad Methodistiaeth, yn enwedig o fewn cylch y Gymanfa hon, ond er y cwbl, marw wnaeth efe." Ie, a marw yn dlawd o ran pethau y byd, ac mae y Gymanfa yn gwneyd casgliad i gynorthwyo ei weddw i ddwyn traul ei gladdedigaeth, a rhyw ychydig fel moddion cynaliaeth iddi hithau. Ni allwn lai na theimlo fod hyn yn adlewyrchu yn anffafriol ar Fethodistiaeth, fod gwas mor ffyddlon wedi marw mewn tlodi, a'i weddw mewn angen elusen.

Diameu fod y brodyr yn teimlo er's blynyddoedd y dylasid gwneyd rhywbeth i anrhydeddu enw gwas mor ffyddlon i Iesu Grist a'r Parch. John Davies. Ond yr ymgais cyntaf y darllenwn am dano i'r cyfeiriad hwn, oedd cael darlun da o hono wedi ei dynu ar ddur, fel y gallai yr oes a

ddel gael rhyw syniad cywir am ei ddyn oddiallan. Diameu fod yr amcan yn gostfawr y pryd hwnw wrth yr hyn ydyw yn awr.

Yn Nghyfarfod Bellevue, 1859, penodwyd y Parchn. Thos. Phillips a J. R. Williams yn bwyllgor i ofalu am ddygiad allan y darlun, ac yn y Cyfarfod dylynol, yn Pittston, galwyd sylw yr eglwysi at yr angenrheidrwydd i godi casgliad tuag at ddwyn y draul, a hyderid y byddai i'r brodyr yn y Dosbarth Deheuol gydweithredu. Ond er i'r mater fod dan sylw mewn amryw Gymanfaoedd a Chyfarfodydd Dosbarth, syrthiodd yr amcan hwn yn fethiant. Yn y Cyfarfod Dosbarth cyntaf ar ol ei farwolaeth, yr hwn a gynaliwyd yn Bellevue, mis Mehefin, gwnaed sylwadau coffadwriaethol am dano, a phenderfynwyd "Y dylasid cael cofiant teilwng o hono mewn llyfr ar ei ben ei hun." Ond mae yn sicr na chwblhawyd yr amcan hwn chwaith.

Yr ymgais nesaf oedd rhoddi colofn ar ei fedd. O ba le y cychwynodd y syniad, nis gwyddom. Ond yn gymaint ag fod Dr. Davies mewn trafodaeth a'i ferch a'i fab yn nghyfraith, Mr. Joseph Searles, yn nghylch cael deed ar gapel Blakely, y tebygrwydd ydyw, mai o'r cysylltiad hwn y cododd; oblegid mae yn hysbysu y Cyfarfod a gynaliwyd yn Danville, Mawrth, 1872, nad ellid meddianu y capel i'r Methodistiaid heb i'r enwad roi careg ar fedd y Parch. John Davies. Felly unwyd y ddau syniad y pryd hwn o anrhydeddu coffadwriaeth Mr. Davies, a sicrhau y capel i'r enwad, a phenderfynwyd fod i bob eglwys wneyd tanysgrifiad i'r amcan hwn.

Mae Cyfarfod mis Rhagfyr, 1873, yn penderfynu cyflwyno y mater i sylw y Gymanfa, ac wedi derbyn y mater i sylw yno, penderfynwyd "Ein bod yn codi cofgolofn i'r diweddar Henadur John Davies, a nodwyd ar y Parchn. Thos. J. Phillips a B. D. Davies, Mri. John T. Griffiths a John Lucas yn bwyllgor i ddwyn y gwaith yn mlaen. Ond gohiriwyd y mater o'r naill Gymanfa i'r llall, am nad oedd y pwyllgor yn gweithredu. Yn 1880 mae y Cyfarfod Dosbarth hwn yn cymeryd gafael yn y mater unwaith eto, ac yn nodi y

Parch. W. D. Jenkins yn Ysgrifenydd, a John T. Griffiths yn Drysorydd; ac wedi llawer o drafferth a llafur, am fod yr eglwysi yn hwyrfrydig, mae y pwyllgor, yn Nghyfarfod Ashley, 1883, yn hysbysu fod y gofgolofn wedi ei gosod ar fedd y Parch. John Davies, ac argae o haiarn o'i chwmpas. Felly penderfynwyd cyflwyno diolchgarwch y Cyfarfod i'r pwyllgor hwn am ei ymdrech diflino yn yr achos hwn, a bod i'r Llywydd a'r Ysgrifenydd anfon llythyr at Edward Jones, Ysw., Olyphant, i ddatgan diolchgarwch y Cyfarfod am ei haelfrydedd tuag at y gofgolofn. Hefyd, penodwyd Mri. John Martin, Edward Jones a W. R. Matthews, mewn undeb a phwyllgor y gofgolofn, i sicrhau deed ar gapel Blakely erbyn y Cyfarfod Dosbarth nesaf. Cwblhawyd yr amcan yn llawn, ac mae y capel hwn yn feddiant i'r Cyfundeb.

# PENOD VII.

## HANES EGLWYSI Y DOSBARTH GOGLEDDOL.

MAE y benod hon yn cynwys crynodeb o'r hyn a ysgrifenwyd gan frodyr a benodwyd gan y Cyfarfod Dosbarth i ysgrifenu hanes y gwahanol leoedd. Gyda golwg ar rai lleoedd, gwnaed hyny yn gyflawn, manwl a helaeth. Ceir rhai o'r ysgrifau hyny yn gyflawn yn y gwaith hwn. Cymerodd y casglydd ei ryddid i gyflenwi ac ychwanegu at yr ysgrifau hyn, yn ol fel yr oedd y cofnodion yn rhoddi mantais iddo, er gwneyd yr hanes yn fwy cywir a manwl. Mewn amgylchiadau eraill, yr oedd yn rhaid iddo ddibynu ar y cofnodion ac amgylchiadau adnabyddus iddo, bron yn hollol. Dechreuir gyda'r rhai hynaf, a dylynir gyda'r oll mewn trefn amseryddol, hyd y gellir, yn ol amser eu corfforiad.

### I.—CARBONDALE.

Mae y ddinas hon wedi ei hadeiladu wrth droed y Moosic Mountains. O ben y mynydd hwn, neu yr hwn a elwir Farview, fe geir golygfa eang ac ardderchog, y fwyaf felly yn y parth hwn o'r wlad. Ar ddiwrnod clir gellir gweled mewn rhan dair o Siroedd, ac yn mhell i Dalaeth New York. Mae y Delaware & Hudson Canal Co. wedi neilltuo parc ar ben Farview Mountain, gyda chyfleusderau i excursionists; ac mae llawer iawn o ymwelwyr yn dyfod yno yn yr haf i fwynhau yr awyr bur ac eangder yr olygfa. Agoriad gwaith glo gan y cwmni uchod oedd dechreuad bywyd masnachol y lle. Y cwmni hwn oedd un o'r rhai cyntaf i agor gwaith glo yr ochr yma i'r Blue Mountains, ac i gysylltu Carbondale ag afon y Delaware y gwnaed y rheilffordd gyntaf yn y wlad hon, os nad yn y byd. O Hones-

dale agorwyd camlas i gludo y glo i ddyfroedd nofadwy yr Hudson, ac oddiwrth y cysylltiadau hyn y cymerodd y cwmni ei enw. Yma hefyd, fel y tybir, y gwnaed y locomotive cyntaf yn y wlad hon, ac yr oedd hyny cyn i Stephenson agor y reilffordd rhwng Liverpool a Manchester.

O Carbondale i ben y mynydd mae saith neu wyth o inclines, a stationary engines yn tynu y coal trains, a'r teithwyr hefyd, i'r lan; ac o ben y mynydd i lawr i Honesdale mae y cerbydau yn myned wrth eu pwysau eu hunain. Felly mae yn cael ei galw gravity road. I lawer mae yr olygfa hon yn rhyfeddod—y fwyaf yn y parth hwn o'r wlad.

Dyfodiad Cymry i'r Lle.—Yn y flwyddyn 1830 daeth 20 o deuluoedd Cymreig i Carbondale, a hyd y cawsom hanes, hon oedd y fintai gyntaf ddaeth i'r lle; a daethant yma gyda'r amcan o weithio yn y glofeydd. Yr oeddynt wedi dyfod yn agos o'r un gymydogaeth; eto, fel mae yn dygwydd yn fynych dan amgylchiadau cyffelyb, yr oeddynt yn gymysg o wahanol enwadau. Dylynwyd hwynt gan finteioedd eraill o'r un parthau o Gymru, fel yn mhen blynyddoedd y daeth Carbondale yn lle pwysig yn hanes y genedl Gymreig. Yma yr oedd beirdd, llenorion a chantorion y genedl yn cartrefu, ac nid oedd braidd son am unlle ara'l ddeugain a haner can' mlynedd yn ol.

Dechreuad yr Achos Crefyddol.—Fel yr oedd yn nyddiau Malachi—"y rhai oedd yn ofni yr Arglwydd a lefarasant bob un wrth ei gymydog," felly yn Carbondale, mae y rhai crefyddol, er eu bod o wahanol enwadau, yn ymgynull at eu gilydd i addoli yr Arglwydd o dy i dy, canys eto nid oedd un eglwys wedi ei chorffori, na chapel wedi ei adeiladu. Buont felly am ddwy flynedd, ond wedi hyny mae ysbryd enwadaeth yn amlygu eu hun; a thrwy fod y Cymry yn lluosogi, maent yn ffurfio eglwysi ar eu penau eu hunain, Annibynwyr, Bedyddwyr a Methodistiaid, ac adeiladwyd yno gapelau i'r amrywiol enwadau.

Dechreuad yr Achos Methodistaidd.—Daeth y Parch.

John Davies i Carbondale yn y flwyddyn 1831, ac fel yr oedd y Cymry yn ymwahanu yn wahanol gangenau, casglodd yntau yr ychydig Fethodistiaid at eu gilydd, gan eu corffori yn eglwys yn 1832. Enwau yr aelodau oedd yno ar y pryd ydynt y rhai canlynol: Daniel Moses, Daniel Scurry, David Williams, Henry Howell, Mrs. Mary Williams, Mrs. Margaret Owens, Mrs. Jane Matthews, Lewis Jones, Mrs. Elizabeth Jones, Evan Price a John Evans—un-ar-ddeg mewn rhif. Hon yw yr eglwys hynaf a berthyn i'r enwad yn y Dalaeth o fewn cylch y Gymanfa hon; ac mae wedi byw trwy helyntion a phrofedigaethau lawer hyd y dydd hwn. Bu yr eglwys hon am ddwy flynedd yn cynal moddion yn nhai y brodyr, fel yr oeddynt wedi gwneyd am ddwy flynedd cyn hyny fel gwahanol enwadau. cyn cael un lle arosol i addoli ynddo.

Adeiladu y Capel.—Yn y flwyddyn 1834 cawsant ganiatad gan y D. & H. Co. i adeiladu capel ar waelod y lot lle saif y capel presenol. Nid oes dim ar gael i ddangos eu bod wedi gwneyd unrhyw gytundeb am y tir, heblaw mentro ar ewyllys da y cwmni. Nid oes genym wybodaeth am faint y capel, ond tebygol mai bychan ydoedd. Yn 1847 prynwyd y lot gan y cwmni uchod, ac ar yr un adeg gwerthwyd y capel bychan i Daniel Scurry i'w droi yn dy byw; ac adeiladwyd y capel sydd yno yn bresenol o ran ffurf a maint, ond ei fod wedi ei adgyweirio wedi hyny. Enwau yr ymddiriedolwyr sydd ar y deed gafwyd am y lot ydynt: Mri. Daniel Moses, Edward Jones, Daniel Scurry, Owen Evans a Roger Griffiths—pump mewn nifer.

Ystyrid y capel hwnw yn un helaeth a da ar y pryd. ac yr oedd y Cymry yn lluosogi yn y lle, ac yr oedd yr achos yn ymddangos yn flodeuog ac addawol. Yn adroddiad Cymanfa Carbondale, 1847, ceir y sylw canlynol gan y brawd Daniel Scurry: "Yr oedd sirioldeb brodyr o wahanol enwadau yn fawr. Rhoisant eu moddion i fyny trwy y dydd, er cael cydaddoli fel tyrfa yn cadw gwyl, ac yr oedd ein capel newydd yn llawn am unwaith, er ei fod yn gapel hel-

aeth, 45 x 30, a bron wedi talu am dano. Mae ymdrech canmoladwy wedi cael ei wneyd gyda'r capel hwn, mae y cyfeillion wedi gwneyd hyd eithaf eu gallu, ac uwchlaw eu gallu."

Yr oedd Cymanfa Danville, 1846, wedi caniatau rhyddid i'r brodyr yn Carbondale i adeiladu, yr hyn sydd yn rheswm dros fod yr adroddiad uchod yn cael ei wneyd i'r Gymanfa ddylynol. Am rai blynyddoedd wedi hyn bu yr eglwys yn flodeuog a llewyrchus, a chynulleidfa dda yn ymgynull yno i wrandaw. Wedi y cyfnod hwn bu cyfnewidiad yn amgylchiadau y gweithfeydd, a symudodd y Cymry o'r lle, a lleihaodd nifer yr aelodau, fel yr oedd yr achos wedi myned yn wan. Yr oedd y capel hefyd wedi dirywio, ac mewn angen adgyweiriad, ac wedi ei adael heb neb yn swyddogol i ofalu am dano. Yr oedd yr ychydig frodyr a chwiorydd oedd yn aros ar ol yn teimlo yn ddwys o herwydd sefyllfa yr achos, fel yn niwedd y flwyddyn 1869, penderfynasant fyned allan i gasglu arian i adgyweirio yr addoldy, a chasglwyd rhwng Olyphant, Wilkesbarre, Kingston, Bellevue, Hyde Park a Scranton, $155, yr hyn, yn nghyd a'u cyfraniadau cartrefol, oedd yn agos i ddigon i dalu am y gwaith. Adgyweiriwyd y capel yn hardd a destlus, a chafwyd cyfarfod pregethu, fel ail agoriad arno, Mawrth 26, 27, 1870. Gweinyddwyd ar yr achlysur gan y Parchn. M. A. Ellis a B. D. Davies o Hyde Park. Er fod y tywydd yn erwin, cafwyd cynulliadau da, gwrandawiad astud, a gwenau y nefoedd ar y weinidogaeth. Teimlai y brodyr a'r chwiorydd yn ddiolchgar iawn i bawb am eu parodrwydd i'w cynorthwyo yn yr adeg hon o gyfyngder yn hanes achos Carbondale.

Adgyweiriwyd y capel drachefn yn 1895. Symudwyd y pwlpud o fod wrth y drws i ben arall y capel, a dodwyd eisteddleoedd newyddion cysurus ynddo, yn ol arddull ddiweddar.

Gwerthwyd rhan o'r tir a berthynai i'r capel i dalu traul yr adgyweiriad hwn, fel yr oedd y capel yn gwbl ddiddyled wedi cwblhau y cyfnewidiadau. Mae yn gapel helaeth, a

gallai ddal cynulleidfa dda, a gresyn na byddai yn llawn o wrandawyr.

Y Gweinidogion fu yn Gwasanaethu Yno.—Yn y blynyddoedd cyntaf, o 1832 hyd 1850, bu amryw weinidogion yn cartrefu yn Carbondale; eithr gweinidogaeth deithiol oedd y syniad Methodistaidd y pryd hwnw; ac felly nid oedd perthynas rhwng y brodyr a'r eglwys fel gweinidogion, eithr dylynent eu galwedigaethau, fel dynion eraill, ar hyd yr wythnos, a phregethu ar y Sabboth fel y gallent.

Daeth y Parch. John Davies yno yn 1831, ac arosodd yno hyd nes symud ar ei ffarm yn Blakely yn 1833, ac wedi hyny yr oedd yn gweithio yn Carbondale fel cynt, ac yn pregethu a gweini yr ordinhadau, ac yn gofalu am yr achos gymaint ag oedd yn bosibl iddo dan yr amgylchiadau.

Yr oedd y Parch. Thos. R. Jones yno yn 1845-6, a'r Parch. Joseph Davies yn 1846-7. Yn ysbaid y blynyddoedd hyn bu y Parch. David Davies yno, ac yn ddiweddarach y Parch. John Griffiths, yr hwn a ddybenodd ei yrfa ddaearol yno yn y flwyddyn 1851.

Yn y flwyddyn uchod daeth y Parch. Robert Seanar o Sir Gaernarfon yno, ac yr oedd ef yn dal perthynas a'r eglwys fel gweinidog hyd nes iddo symud i Philadelphia yn 1853. Yno hefyd y dechreuodd y Parch. John Moses bregethu, yn 1855, ond symudodd ef yn y flwyddyn ganlynol i Olyphant i fyw. Wedi hyn bu yr eglwys am flynyddoedd lawer heb neb i'w bugeilio, yr hyn brofodd yn anfantais fawr i'r achos i lwyddo, tra yr oedd Cymry yn lluosog yn y lle. Yn y cyfwng hwn bu cyfyngderau masnachol yn gwasgu ar y gweithfeydd, a gwasgarodd y Cymry o'r lle, a dirywiodd yr achos mewn canlyniad.

Wedi dibynu ar weinidogaeth deithiol, fel y gellid ei chael ar hyd y blynyddoedd, estynwyd galwad, yn 1887, i frawd ieuanc oedd yn dechreu pregethu, Mr. Morgan J. Morgans, a bu yntau yno o dair i bedair blynedd, a dylynwyd ef gan y Parch. W. J. Lewis yn 1892, yr hwn sydd yn llafurio yno hyd yn bresenol.

Sylw y Cyfarfod Dosbarth o'r Achos.—Dodwn yn y lle hwn ychydig grybwyllion sydd yn amlygu gofal ac arolygiaeth y Cyfarfod Dosbarth am yr achos yn Carbondale, pan oedd yr eglwys yn wanaidd iawn. Yn Nghyfarfod Bellevue, 1862, bu ymdriniaeth ar sefylifa yr achos yno, a gallem feddwl fod yn eu bryd roi y cwbl i fyny, ond mae y Cyfarfod hwn yn eu hanog i ddal yn mlaen fel yr oeddynt am dymor o leiaf. O Gyfarfod Pittston, 1865, anfonwyd dau frawd, sef y Parch. John Davies a Mr. Joshua Williams, Hyde Park, yn genadon i ymweled a hwynt. Yn 1866 mae y Parch. J. R. Williams, Scranton, a Mr. John Williams, Bellevue, yn cael eu hanfon yno. Yn 1868 yr oedd Cyfarfod Dosbarth yn cael ei gynal yno, ac wedi ymddyddan brawdol a charedig am ansawdd yr achos, penderfynwyd "Gosod ei ofal ar ddau frawd oedd yn byw yn y lle, a hefyd fod casgliad yn cael ei wneyd trwy eglwysi y Dosbarth tuag at dalu treuliau gweinidogion a phregethwyr a ymwelent a hwynt, a dewiswyd Mri. W. E. Morgans, James R. James, Richard Roderick a Rees Williams yn bwyllgor i drefnu casglu arian, a thalu treuliau y rhai a ymwelent a hwynt."

Penderfynwyd hefyd eu bod i gynal addoliad cyson yn eu capel eu hunain, ac i wneyd pob brys i'w adgyweirio, a chodi arian ar log, a'r Cyfarfod Dosbarth i lunio rhyw fesurau i dalu yr arian. Gwelir oddiwrth hyn fod y Dosbarth wedi bod yn nodded i'r achos hwn yn ei wendid mewn blynyddoedd a aethant heibio.

Profedigaethau yr Eglwys.—Ni bu eglwys Carbondale mor luosog ag y gallesid dysgwyl yn ol nifer y Cymry a fu yn byw yn y lle pan oedd y genedl yn flodeuog a llwyddianus yno. O 60 i 70 fu ei rhif uwchaf, mor bell ag y gellir casglu yn awr, ac mae hyny i'w briodoli mewn rhan i ddiffyg gofal bugeiliol, pan y gallesid dysgwyl i hyny fod yn foddion tyfiant iddi, ond bellach, wedi i'r Cymry wasgaru o'r ddinas, mae yn hollol ddiobaith am gynydd yn yr eglwys.

Gellir priodoli ei haflwyddiant hefyd i ymlyniad gormodol wrth Gymraeg, pan nad oedd ieuenctyd yr eglwys a'r gynulleidfa yn ei deall, ac felly yn cael eu gorfodi i adael yr eglwys y buasai yn fwyaf naturiol iddynt aros ynddi, a bod o ryw wasanaeth ynddi.

Tarddodd llawer o brofedigaethau Carbondale o'r pechod o feddwdod. Mae yn debyg fod y pechod hwn yn dinystrio mwy ar ein heglwysi nag un arall, ac mae yn gwaethygu yn lle gwella y blynyddoedd hyn yn gyffredinol. Bu un o flaenoriaid y lle hwn am rai blynyddoedd yn dueddol iawn i feddwl, ond wedi hir oddef, diarddelwyd ef fel swyddog ac fel aelod, a bu farw o farwolaeth y meddwyn yn y diwedd. Bu yr amgylchiad hwn yn brofedigaeth chwerw i'r eglwys, oblegid y gwarth a dynwyd arni, a dinystrio ei dylanwad da yn y gymydogaeth. Yn ychwanegol at hyn, gellir nodi cynenau ac ymrysonau, ac mae hyn wedi anrheithio llawer ar eglwysi y Dosbarth hwn. Cymeriadau anrasol yn ymwthio i'r eglwysi, a rhyw "Demetrius yn chwenych y blaen yn eu mysg hwy," a materion bychain yn cael eu gwneyd yn destynau ymrafaelion, a hyny yn arwain i ddinystrio llawer achos gobeithiol, a chafodd yr eglwys hon ei rhan o'r profedigaethau hyn.

Yn 1895 yr oedd yn rhifo 35 o aelodau, ac yn ol y nifer yr oedd gwedd lewyrchus ar yr achos; ond wedi hyny mae cwmwl du wedi myned drosti, a'i nifer wedi lleihau yn fawr.

Mae y Cymry bellach wedi ymadael o'r lle, neu wedi ymuno ag achosion Seisnig, fel nad oes fawr o obaith am adfywiad ar yr eglwys hon nac eglwysi Cymreig eraill y ddinas, oddieithr eu troi yn achosion Seisnig, a gresyn fyddai gweled y capel da a hardd yn myned yn wag.

Ol Nodiad.—Yn y flwyddyn 1854 bu pregethwr ieuanc o'r enw Edward Morris Llanarmon, Glyn Ceiriog, yn aros am dymor yn Carbondale. Yma hefyd y cychwynodd y Parchn. John Moses a Thos. J. Phillips eu gyrfa fel pregethwyr; ond ni chawsom ddim manylion am danynt. Yr oedd hyny, tebygol, yn y blynyddoedd 1855-7.

## II.—Blakely.

Ardal wledig yw y lle hwn, ar ochr orllewinol dyffryn y Lackawanna, tua chwe' milldir i'r gogledd o Scranton, a phedair i'r de o Carbondale. Ardal amaethyddol ydoedd ar y cyntaf, ac fel amaethwyr y sefydlodd y Cymry yno i ddechreu. Tua'r flwyddyn 1830 y daeth yr ymfudwyr Cymreig cyntaf i'r lle, o Dde a Gogledd Cymru, ond yr oedd mwy wedi dyfod o Sir Frycheiniog nag un Sir arall yn y Dywysogaeth. O ran eu crefydd yr oeddynt yn gymysg o wahanol enwadau, Bedyddwyr, Annibynwyr a Methodistiaid Calfinaidd. Fel pobl grefyddol, wedi cydgyfarfod dan amgylchiadau anfanteisiol, mewn gwlad ddyeithr, buont yn ymgynull i addoli Duw eu tadau yn nhai eu gilydd, ac wedi hyny mewn ysgoldy perthynol i'r ardal am flynyddoedd cyn corffori eglwys reolaidd, nac adeiladu capel yn y lle.

Bu y Parch. Lewis Williams (A.) yn byw yma am rai blynyddoedd, tua dechreu y sefydliad, ac oddiyma y symudodd i Carbondale. Bu y Parch. William Richmond (B.) yno yr un modd, a symudodd yntau i gartrefu yn Carbondale. Yn 1833 mae y Parch. John Davies yn symud yno o Carbondale, i fyw ar ei fferm, ac yno y preswyliodd ef hyd ddydd ei farwolaeth, yr hyn a gymerodd le yn 1866. Er fod sefydlwyr Blakely yn gymysg o wahanol enwadau, yr oeddynt yn byw mewn tangnefedd a heddwch a'u gilydd, fel y dylai pobl grefyddol fyw. Yr oedd y brodyr parchedig Lewis Williams a William Richmond yn cydweithio i adeiladu achos crefydd yn mysg ein cenedl, yn annibynol ar eu neillduolion enwadol, ac yn fynych yn cymeryd rhan yn nghyfarfodydd cyhoeddus y Methodistiaid, a'u gwasanaeth yn dderbyniol a chymeradwy gan yr hen bobl. Er na welsom ac nad adwaenem un o honynt, mae y brawdgarwch a'r tangnefedd a ffynai rhyngddynt yn gwneyd coffadwriaeth y pioneers yn fendigedig.

Corfforiad yr Eglwys.—Cymerodd hyny le, yn ol cyfrif Dr. Davies, yn y flwyddyn 1848. Pwy fu yno yn ei sefydlu

nid oes genym sicrwydd, er ein bod yn tybied oddiwrth amgylchiadau a nodir genym eto, mai y Parch. John Davies a gyflawnodd y gorchwyl hwn. Eglwys undebol ydoedd yn yr adeg hono; ar yr un pryd gallem dybied fod y Methodistiaid yn y mwyafrif.

Bu gwedd lewyrchus ar yr achos yno am rai blynyddoedd wedi hyn, a'r addoldy yn cael ei lenwi ag addolwyr, hyd nes daeth y gwahanol gwmniau glofaol i gynyg prynu y tiroedd er mwyn y glo oedd danynt, ac erbyn yr amser y bu y farw y Parch. John Davies, yr oedd yr oll o honynt bron wedi eu gwerthu, a symudodd y rhan fwyaf o'r ffermwyr eraill. Hefyd, bu farw amryw o'r sefydlwyr cyntaf, fel rhwng pob peth, bu yr achos yn yr adeg uchod bron a diffodd. Yn y cyfwng hwn cymerodd y Cyfarfod Dosbarth sylw neillduol o'r lle, a gwnaed ymgais i gorffori eglwys Fethodistaidd yn y lle. Yn y Cyfarfod a gynaliwyd yn Bellevue, 1872, penodwyd y Parch. Joseph E. Davies a Mr. Thos. Jenkins, Olyphant, i fyned yno i gorffori eglwys, ond yn y Cyfarfod dylynol yn Wilkesbarre mae y pwyllgor hwn yn cael ei ryddhau, a'r Parch. B. D. Davies a Mr. Thos. L. Jones yn cael eu nodi yn ei le, eto ni wnaeth y pwyllgor hwn y gwaith, ac mae yn debyg mai gwendid yr achos yn y lle oedd y rheswm. Wedi hyny penodwyl y Parch. W. R. Matthews a Mr. W. Marsden, Olyphant, i fyned yno, ac yn Nghyfarfod Bellevue, 1877, mae y pwyllgor hwn yn gwneyd adroddiad eu bod wedi corffori eglwys Fethodistaidd yn y lle, a derbyniwyd hi i undeb a'r Dosbarth, ac o hyny hyd yn awr mae wedi bod dan nawdd ac arolygiaeth y Cyfarfod Dosbarth.

Bu yno amryw o flaenoriaid da a ffyddlawn, yn nechreuad yr achos yn gofalu am yr eglwys yn absenoldeb gweinidogaeth sefydlog, megys Mri. Thomas B. Jones, Daniel Price, Evan Price, Edward Owen, ac eraill. Wedi i'r achos fyned yn wan, bu Mr. Edward Owen a Mr. John Martin ac ychydig chwiorydd yn cynal moddion gyda chysondeb am rai blynyddoedd. Wedi hyny daeth un Mr. Griffith Griffiths a'i deulu i fyw i'r ardal, a bu y teulu hwn yn garedig iawn

i'r achos yn ei wedd allanol. Tuag amser ymadawiad Mr. Edward Owen, daeth Mr. E. L. Evans, diweddar o Moosic, a Mr. George Morgan yno, a buont hwy a'r chwiorydd yn dra ffyddlawn yn cynal moddion am flynyddoedd. Wedi marwolaeth Mr. Morgan, ac ymadawiad Mr. Evans, nid oedd yno neb ond ychydig chwiorydd, a Mr. John Martin, yr hwn sydd eto yn fyw, ac yn 94 mlwydd oed yn 1896, y rhai a gadwasant y drws yn agored, a'r ganwyll yn oleu, mewn dysgwyliad am amser gwell.

Adeiladu y Capel.—Gwnaed hyny yn y flwyddyn 1848. Wedi corffori yr eglwys, maent yn dyfod i feddwl am le cyfleus i addoli. Mae y Parch. John Davies yn rhoddi darn o dir o'i ffarm, yn lle i godi capel, a mynwent wrth ei ochr, a rhoddwyd ychwaneg o dir at y fynwent gan ei ferch, Mrs. Sayers, wedi ei gladdu ef. Yn nghofnodion Cymanfa Danville, 1848, cawn y sylw canlynol: "Caniatawyd i'r cyfeillion yn Blakely i adeiladu capel, a nodwyd Mri. Daniel Scurry ac Ed. Jones, Carbondale, i ofalu am ei fod yn cael ei gyflwyno yn ddidwyll i'r Methodistiaid."

Gorphenwyd adeiladu, ac agorwyd y capel ar yr 28ain a'r 29ain o Fedi, 1848, a gwasanaethwyd ar yr amgylchiad yn y drefn ganlynol: Nos Sadwrn, dechreuodd y Parch. Lewis Williams, a phregethodd y Parchn. Benjamin Bowen, Carbondale, a Samuel Williams, Dundaff. Am 10, y Sabboth, pregethodd y Parchn. Lewis Williams a Samuel Williams. Am 2, y Parchn. Thomas Davies, a Mr. Barts yn Saesneg. Am 6, y Parchn. William Richmond a John Davies, gweinidog y lle. Yr oedd Bowen, Davies a Richmond yn weinidogion i'r Bedyddwyr; y ddau Williams gyda'r Annibynwys, y Sais yn Bresbyteriad, a Mr. Davies gyda'r T. C. Fel rheswm am hyny dywedid, "Yr oedd yn anghyfleus i ni gael brodyr o'r un enwad a ni."

Yn nglyn ag agoriad y capel, mae Mr. Davies yn ysgrifenu fel y canlyn: "Yr oedd y genedl oedd yn byw yn y lle hwn, fel mewn llawer o fanau, yn perthyn i wahanol enwadau, eto yn byw yn gysurus a heddychlon. Cynaliwyd

cyfarfod genym fel cymydogaeth i edrych a ellid cael capel. Wedi dwyn y mater i sylw, (a) Cytunwyd yn unllais fod eisieu capel yn y lle. (b) Y lle yr adeiledid ef heb neb yn tynu yn groes. (c) Ei faintioli. (d) Ar ba enw yr adeiledid ef. Cydwelwyd a chydunwyd yn unllais fod iddo gael ei adeiladu gan ac i'r enwad y Methodistiaid Calfinaidd. Penderfynwyd hefyd myned yn mlaen fel o'r blaen, gydag ychydig ddiwygiad mewn nesau at ein gilydd fel crefyddwyr o wahanol enwadau. Mae genym ychydig fantais i fyw yn heddychlon, am ein bod yn cydweled a'r athrawiaeth, ac i raddau pell a'r ddysgyblaeth hefyd.

Casglwyd at dalu am dano yn Harrison Iron Works, a Charbondale, a chafwyd caredigrwydd gan ein cydwladwyr yn gyffredinol. Yr ydym yn gobeithio, erbyn y delo yr hyn sydd wedi ei addaw at dalu y draul i mewn, na bydd dim llawer ar ol i'n blino." (Gwel "Cyfaill" 1848, tudal. 366).

Sefyllfa Bresenol yr Achos.—Wedi i Jones, Simpson & Co. agor gwaith glo gerllaw y capel, yr oedd hyny yn atdyniad i amryw Gymry ymfudo i'r ardal unwaith eto. Yn eu plith Mr. William Prosser, brodor o'r Hafod, ger Pontypridd. Brawd da a ffyddlawn, ac ymdrechgar gyda'r achos, ac efe sydd yn blaenori yno yn bresenol. Yn 1877 mae Cyfarfod Dosbarth Wilkesbarre yn pasio y penderfyniad canlynol gyda golwg ar achos Blakely: "Fod yr achos yn Blakely i fod dan arolygiaeth y pwyllgor cenadol. Tra y byddo y pwyllgor yn cael amser i dynu allan gynllun, dymunir i eglwys Olyphant i ofalu am yr achos yno hyd hyny, ac anfon pregethwr yno i bregethu yn awr ac eilwaith."

I Gyfarfod Plymouth, 1881, mae eglwys Olyphant yn anfon cwyn fod yr eglwysi gweiniaid yn cael eu hesgeuluso, ac yn dymuno ar i'r Cyfarfod drefnu rhyw lwybr er eu cyflenwi â gweinidogaeth, a chyflwynwyd y mater i'r Bwrdd Cenadol. O'r Cyfarfod dylynol cyflwynwyd y mater i'r Gymanfa, ac yn y Cyfarfod a gynaliwyd yn Moosic, hys-

bysodd y Parch. Thos. B. Thomas ei fod wedi derbyn oddiwrth Drysorydd y Genadaeth $150, a rhanwyd y swm yn gyfartal rhwng Olyphant, Blakely a Providence. O hyny hyd yn awr mae yr eglwys hon wedi derbyn cyfran o drysorfa y Genadaeth at gael gweinidogaeth. Mae yr achos wedi adfywio llawer yno y blynyddoedd diweddaf, yr eglwys yn rhifo 45 o aelodau, a'r capel yn llawn o wrandawyr. Pregethir yno yn lled gyson—Cymraeg yn y boreu, ysgol yn y prydnawn, a Saesneg yn yr hwyr. Mae yr eglwys fechan hon wedi bod yn dawel a thangnefeddus ar hyd y blynyddoedd o'r dechreuad.

Y mae cwmwl du yn crogi uwch ei phen eto, ac mae caredigion yr achos yn ofni y bydd iddo arllwys ei gynwys cyn hir, gan fod Hungariaid, Italiaid a Pholandiaid yn dylifo i'r lle, a'r Cymry yn ffoi rhagddynt, am nad ydynt yn hoffi byw yn eu plith; ac felly y bydd i'r achos ddarfod yn llwyr. Hyderwn ar yr un pryd y gwasgara y cymylau, ac yr estyn y nefoedd ei haden dros y ddeadell fechan hon am dymor eto.

### III.—Cymru Newydd.

Mae yr ardal hon ar ben ucheldir tua 18 neu 20 milldir i'r de-ddwyrain o Scranton, a 40 o Carbondale. Mae y lle hwn fel manau eraill wedi newid ei enw amryw weithiau. Adwaenid y lle unwaith wrth yr enwau Drinker's Creek, Covington, Beach Woods, ond fel ardal Gymreig adnabyddir hi wrth yr enw Cymru Newydd. Yn wladwriaethol mae yr ardal yn cynwys rhan o ddwy drefgordd Spring Brook a Covington, ac mae y ffordd i Moscow ar y D. L. & W. R. R. yn myned rhwng y ddwy.

Yr oedd y lle wrth natur wedi ei orchuddio â choed pinwydd a ffawydd gan mwyaf. Dechreuodd Cymry ymsefydlu yn y lle yn 1833, ac yn ol eu harfer dechreuwyd cynal moddion crefyddol mewn tai anedd yn 1834, ac yr oedd y cyfeillion yn ffyddlawn i ddyfod i'r moddion wrth ystyried fod y lle bron yn anialwch disathr, a'r bwystfilod yn aml a pheryglus, a dim ond ambell i ddarn yma a thraw

wedi ei glirio, a'r sefydlwyr yn mhell oddiwrth eu gilydd.

Yn 1839 mae rhywun yn ysgrifenu am y lle fod yno 14 o deuluoedd, ac o ran crefydd yn gymysg o Annibynwyr, Bedyddwyr a Methodistiaid, fod y tir yn rhad, a digon o hono i'w gael am $3 yr erw, a'i fod yn dir da iawn, ac y gellid codi cnydau toreithiog o bob peth at wasanaeth dyn ac anifail. Yn y flwyddyn uchod adeiladwyd capel yno yn enw y Methodistiaid, 20 troedfedd o hyd wrth 18 o led, ac erw o dir o'i amgylch. Costiodd yr adeilad $202.26, ac yr oeddynt wedi casglu erbyn amser yr agoriad $174.87. Cysegrwyd yr addoldy i wasanaeth yr Arglwydd Hydref 15, 16, 1839. Yr unig weinidog yn bresenol y dydd cyntaf oedd y Parch. W. Richmond, Carbondale (B.), a phregethodd y boreu a'r prydnawn, Salm 89: 2; Luc 14: 18. Erbyn tranoeth yr oedd Dr. Rowlands, New York, a lluaws o gyfeillion Carbondale, wedi dyfod yno gydag ef, a dechreuwyd gwasanaeth y dydd trwy i blant yr ysgol adrodd rhanau o'r Ysgrythyrau, a gweddiodd Dr. Rowlands. Pregethodd y Parchn. W. Richmond a Dr. Rowlands, Salm 93: 5; Zech. 3: 10. Am 3 yn y prydnawn gweddiodd Mr. Emerson (Sais), a phregethodd Richmond, Salm 110: 1, a Rowlands ar ei ol, 2 Cor. 5: 19. Cafwyd hwyl anarferol yn y cyfarfodydd, yn enwedig gyda phregeth Dr. Rowlands, "Pwy a ddiystyrodd ddydd y pethau bychain?" Dewiswyd i ofalu am yr achos y brawd James Jones, yr hyn a wnaeth yn ffyddlawn. Yn Nghymanfa Harrison (Scranton), 1849, mae yn cyflwyno gweithredoedd capel Cymru Newydd i fod yn eiddo y Corff.

Ni bu yr eglwys hon o dan ofal gweinidogaethol, er fod y Parch. John O. Davies wedi bod yn byw yno am dymor, a'r Parch. William Matthews, Olyphant, wedi bod yno am ddeng mlynedd, eto ni bu cysylltiad gweinidogaethol rhyngddynt hwy a'r eglwys mwy na rhywrai eraill. Am fod yr ardal yn anghysbell, a'r cyfeillion yn ychydig, mae yr eglwys wedi bod yn dibynu ar wasanaeth brodyr yn y Dosbarth i'w cyflenwi â gweinidogaeth, y rhai a fuont ffyddlawn i fyned yno, fel manau eraill. Er y diffyg hwn cyn-

ysgaeddwyd yr eglwys hon a diaconiaid o radd dda, y rhai a fuont o wasanaeth gwerthfawr i'r achos yno. Ar ol James Jones disgynodd gofal yr achos ar y brawd John Edwards o 1857 hyd 1864. Wedi hyny daeth i ran Evan Evans i ofalu am dano. Yr oedd ef yn gymeriad hynod, yn ddiacon o'r iawn ryw, yn ofalus am yr achos yn ei holl ranau, yn ffyddlawn i fyned i'r Cyfarfodydd Dosbarth, a chydnabyddid ef gan ei frodyr diaconaidd fel archddiacon y Dosbarth. Wedi ei farwolaeth ef disgynodd y fantell ar Jenkin Lewis, a bu yntau yn ffyddlawn yn ei swydd nes iddo symud i Scranton, lle mae yn byw yn awr. Mae ef yn un o hiliogaeth "Siencyn Penhydd," a nodweddir ef gan rai o neillduolion yr hen batriarch hwnw, ac mae yn gryn dduwinydd hefyd. Wedi hyny symudodd y brawd J. R. Matthews o Carbondale yno i fyw, ac efe sydd yn gofalu am fuddianau yr adran Fethodistaidd yn y lle yn bresenol.

Nid oedd ond un eglwys Gymreig yn yr ardal hyd 1870. Y pryd hwnw ymneillduodd yr Annibynwyr oddiwrth y Methodistiaid, gan adeiladu capel iddynt eu hunain, ac felly y buont hyd 1892, pan ymunodd y ddwy eglwys i gyd-addoli ar yn ail Sabboth yn y ddau gapel. Mae yr Ysgol Sabbothol yn un yn ei phob peth, a'r achos yn heddychol a llewyrchus.

Ni bu yr eglwys hon uwchlaw 30 o aelodau un amser, ac oblegid ei gwendid, a'r lle yn anghysbell, mae cymorth cenadol yn cael ei estyn iddi. Er y flwyddyn 1891 mae marwolaethau ac ymfudiaeth wedi lleihau eu nifer yn fawr, fel nad ydynt yn rhifo yn bresenol ond 19 o aelodau cyflawn. Bu yn y lle lawer o Gymry ar un adeg, ond bellach mae y coed wedi eu tori i lawr, a'r melinau wedi eu symud ymaith, fel mae bywyd y lle wedi darfod.

Dichon na phrofodd y tir mor doreithiog ag y meddyliodd y sefydlwyr cyntaf ei fod. Erbyn hyn mae y rhai hyny wedi marw, a'r plant wedi tyfu i fyny yn Saeson, neu wedi ymfudo i leoedd eraill, fel mae yr achos crefyddol yn ei wedd Gymreig yn wanaidd, ac yn engraifft, cystal a manau eraill, i ddangos yr angenrheidrwydd am ddarparu ar

gyfer yr ieuenctyd yn yr iaith a ddeallant. Mae yr ardal hon yn fath o summer resort gan lawer o Gymry o ddyffrynoedd Lackawanna a Wyoming, ar gyfrif purdeb yr awyr a rhagoriaeth y dwfr, ac mae yn gyffeus i fyned yno, yn enwedig o Wilkesbarre a'r cylchoedd.

## IV.—Scranton

Ydyw prif ddinas Sir Lackawanna. Mae yn gorwedd mewn dyffryn prydferth, amrywiog a rhamantus, a mynyddoedd uchel yn ei chysgodi i'r gorllewin, a mynyddoedd i'r dwyrain hefyd. Trwy ganol y dyffryn y rhed afon fechan y Lackawanna i ymuno â'r Susquehanna gerllaw Pittston. Yn 1840 nid oedd yma ond pentref bychan a dinod o'r enw "Slocum Hollow," yn cynwys tafarn, store, a gefail gof, ac ychydig dai anedd bychain, yn nghanol coedwig pinwydd. Bu wedi hyny yn cael ei alw Harrison, a Hyde Park. Mae cynydd a chyfoeth Scranton o hyny hyd yn awr wedi bod yn hynod yn mhlith lleoedd cyffelyb yn America. Mae yn awr yn cynwys tua 80,000 o drigolion Tebygol fod yr anturiaethwyr cyntaf wedi meddwl fod yma ragolygon am fwn haiarn, ond fe brofodd amser eu bod wedi camgymeryd, ond yr oedd Dr. Throop, yr hwn a ddaeth yma yn 1845, wedi deall mai glo oedd prif adnoddau y lle, ac yn y rhagolwg y buasai rywbryd yn lle pwysig, prynodd lawer o dir glo, yr hyn a brofodd yn elw mawr iddo. Dechreuodd Cymry gyrchu yma tua'r flwyddyn 1845, i weithio yn y ffwrneisiau blast. Yn eu plith yr oedd John Davies, Job Jones, William Leyshon, Jenkin Rees, John Jones, a Thos. Jones ei frawd, tua 12 mewn nifer.

Yn 1846 mae George Whitfield Scranton, Selden ei frawd, a Joseph Scranton, cefnder iddynt, yn ymuno yn gwmni i adeiladu melin rolio. Hwn oedd y corporation cyntaf yn y lle, mae yn debyg. Yn niwedd y flwyddyn hon daeth Mr. John R. Williams (yr hwn oedd ar y pryd yn Wilkesbarre), atynt i weithio, a gosod y felin mewn trefn ac arolygu y gwaith, ac efe a roliodd y first rail yn Scranton. Mae yr hen felin yn sefyll eto ar lan y "Roaring Brook."

Yr oedd yr ychydig Gymry, cymysgedig o wahanol enwadau, y pryd hwnw yn cadw moddion mewn ysgoldy, a buont felly mewn undeb a'u gilydd am ryw dymor. Nid ydym yn gwybod pwy oedd yn dyfod atynt i bregethu y pryd hwnw. Y diweddar Barch. John R. Williams cedd yr unig un oedd yn gydnabyddus a'r amgylchiadau hyny, ond ni allasom gael fawr o drefn ganddo yntau; ac wedi iddo ef farw nid ydym yn gwybod am neb arall a allai gyflenwi y diffyg. Mae yn anhawdd gwneyd adroddiad manwl a threfnus am ddechreuad achos y Methodistiaid yn y lle, am na chadwyd cofnodion manwl am ddim o'r dygwyddiadau, neu ynte eu bod wedi myned ar goll. Dodwn ger bron y darllenydd yr hyn a gawsom gan Mr. Williams mor gryno a chywir ag y gallwn.

Tua'r flwyddyn 1848 mae John R. Williams, Simon Peregrine, John Morgan, John J. Davies, Isaac Coslett, y rhai oeddynt Fethodistiaid selog, yn dechreu cadw cyfeillach yn nhy John R. Williams. Dyma yr ymgais cyntaf at ddechreu achos Methodistaidd yma. Yn 1849 adeiladwyd capel bychan ar heol a elwid y pryd hwnw "Orchard Street." Yr oedd wedi ei adeiladu o briddfeini, ac yn werth tua $900, ac yr oedd hyny yn gryn arian i ychydig weithwyr y pryd hwnw. Gan fod Mr. Williams yn arolygwr y felin, yr oedd ganddo gryn fantais, ac yr ydym yn casglu mai trwy ei ymdrechion ef yn benaf yr adeiladwyd y capel hwn. Mae yn briodol sylwi mai hwn oedd yr addoldy cyntaf i gael ei adeiladu yn "Slocum Hollow." Yr oedd yma rai eglwysi cyn hyn, ond mewn ysgoldy yr oeddynt yn ymgynull i addoli. Yr unig addoldy yn y cyffiniau hyn yn flaenorol i hwn oedd yn Providence. Yr oedd yno gapel perthynol i'r Presbyteriaid wedi ei adeiladu yn 1845. Er fod y Methodistiaid wedi adeiladu y capel cyntaf yn y lle, eto nid oedd yr eglwys wedi ei chorffori yn ol trefn ac arfer y Methodistiaid. Gwnaed hyn amser agoriad y capel, gan y Parch. Dr. Rowlands, gyda Daniel Scurry a Daniel Evans o Carbondale, ac yr oedd nifer yr aelodau ar y pryd yn 13.

Nid ydym wedi cael dyddiad agoriad y capel; ond mor agos ag y gellir casglu, yr oedd yn agos i ddiwedd 1849, a'r gweinidogion oeddynt yn bresenol ar yr achlysur oeddynt y Parchn. John Davies, Blakely; Joseph E. Davies, Carbondale; Thos. R. Jones, Wilkesbarre; a W. Rowlands, New York. Am ddau yn y prydnawn yr oedd President Mitchell, "Wyoming Seminary," a Dr. Rowlands yn pregethu yn Saesneg. Yr oedd y Mri. Scranton, perchenogion y felin, yn bresenol; ac yr oedd y ddau frawd, George a Selden, yn honi eu bod yn ddisgynyddion y diwygiwr Methodistaidd, George Whitefield. Ar ddiwedd y cyfarfod hwn mae Dr. Rowlands yn rhoi adroddiad o sefyllfa arianol y capel, ac fod $825 wedi eu casglu, mewn adeg o brinder a chyfyngder mewn masnach, ond fod ychydig yn arcs etc—$75, ac yn mhlith pethau eraill, dywedodd mai dylynwyr y Whitefield Methodists oeddym, a tharawodd hyny ar deimlad y Scrantons fel y casglwyd y gweddill o'r arian yn y fan, ac y cafwyd digon i agor y capel yn rhydd o ddyled. Yr oedd amryw o'r brodyr oedd yn cychwyn yr achos gyda Mr. Williams, yn ddynion o allu meddyliol, cystal a'u bod yn ddynion crefyddol, ac yn Fethodistiaid egwyddorol a thrwyadl. Yr oedd John J. Davies yn ddyn nodedig o grefyddol a duwiol, a bu ef hefyd yn Ysgrifenydd y Gymanfa a gynaliwyd yma yn 1850. Yr oedd yn frawd-yn-nghyfraith i'r Parch. John Davies, Picatonica, Wis., i ba le y symudodd oddiyma, ac yno cawsom ninau y fraint o'i adnabod. Ond mae yn eglur, oblegid ei sel a'i ymdrech, yn nghyd a'i sefyllfa, fod arweiniad yr achos yn disgyn yn naturiol i ddwylaw Mr. Williams.

Yn y Gymanfa uchod "Bu ymddyddan â John R. Williams a David Jones, pa rai a ddewiswyd gan yr eglwys yn flaenoriaid, a derbyniwyd hwy yn aelodau o'r Gymanfa fel y cyfryw." Yn Hydref, 1851, yr oedd y Gymanfa drachefn yn y Dosbarth hwn, gan ddechreu yn Carbondale, a dybenu yn Danville; ac yn y rhan o honi a gynaliwyd yn Scranton, cawn fod "Ymdriniaeth â sefyllfa yr achos yn y lle, a derbyniwyd Mr. Williams fel pregethwr i'r Cyfun-

deb." Mae yn debyg ei fod yn cael ei gymell i hyn gan wendid yr achos, a phrinder pregethwyr. "Anogwyd yr eglwys i ddewis dau flaenor," a chynaliwyd "cyfeillach eglwysig i'r amcan hwn, a dewiswyd David Williams ac Isaac Costlett yn flaenoriaid." Wedi ei ryddhau o fod yn flaenor, a'i godi yn bregethwr, ymddengys fod Mr. Williams wedi pregethu i'r eglwys hon gyda mesur o gysondeb am rai blynyddoedd, yn nghyd a gweinidogaeth brodyr eraill o'r ardaloedd cylchynol ellid ei gael yn achlysurol. Yr oedd ef a Mr. Walter Phillips yn awyddus i gael Dr. Rowlands yma i fyw, felly anfonwyd galwad iddo i ddyfod yn weinidog yr eglwys hon yn 1856, a bu yma hyd Mai, 1858. Dylynwyd ef gan y Parch. Thos. R. Jones, a tua diwedd 1859 mae yn cyflwyno ei lythyr i'r Cyfarfod Dosbarth a gynaliwyd yma yn Ionawr, 1860, a bu yntau yma hyd rywbryd yn 1861.

Pa faint oedd rhif yr eglwys, a beth oedd ei gallu gweithiol yn y cyfnod uchod, nid oes genym un hysbysrwydd; ond mae yn eglur oddiwrth gofnodion y Cyfarfod Dosbarth ar ol hyn, fod eglwys Scranton yn gwanhau, ac fod y Cymry oedd yn gwneyd i fyny y gynulleidfa yn symud i ucheldérau Bellevue a Hyde Park. Yn 1859 cawn fod y Parch. John Moses, Mri. Evan Evans a Thos. Leyshon yn cael eu penodi fel pwyllgor "I ymweled ag eglwys Scranton yn eu trafferth gyda'u capel." Beth oedd natur y drafferth ni ddywedir. Yn y Cyfarfod gynaliwyd yn y lle yn 1860, "Sylwyd ar safle y capel, a'r lles a ddeilliai trwy ei symud i'r dref;" ond gohiriwyd hyd y Cyfarfod nesaf. Wedi hyn mae yr eglwys yn gwneyd ceisiadau mynych at y Cyfarfod Dosbarth am gymorth i ddewis blaenoriaid.

Yn 1869 mae y pwyllgor oedd wedi ei benodi ar y capel, yn cael ei ryddhau, a Dr. Roberts a Daniel Moses yn cael eu penodi yn bwyllgor ar yr achos. Mae y pwyllgor hwn yn gwneyd adroddiad fod gwedd mwy ffafriol ar yr achos, a bod yno gynulleidfa dda ar y Sabboth. Eto yn y Cyfarfod diweddaf gynaliwyd y flwyddyn hon, yr ydym yn cael fod eglwys Scranton heb swyddogion na threfniadau rheolaidd.

Yn Nghyfarfod Hyde Park, 1870, penodwyd fod eglwysi Hyde Park a Bellevue i ofalu am yr eglwys hon am y tri mis dyfodol, ac adnewyddwyd y cais drachefn yn mhen y tri mis, a hefyd fod eglwys Scranton i drefnu rhyw fesurau er cael yr addoldy mewn lle mwy cyfleus. Yn Providence, 1872, rhyddhawyd Dr. Roberts a'r Parch. M. A. Ellis o fod yn bwyllgor yr achos hwn, a nodwyd Mri. James R. James a John S. Davies yn lle Isaac Coslett. Yn Hyde Park, y Cyfarfod dylynol, barnwyd mai gwell oedd peidio ei werthu; ond yn Bellevue, yn mis Rhagfyr, penderfynwyd rhoddi hawl i'r pwyllgor i'w werthu i'r "German Baptists." Yn Wilkesbarre, 1873, gwnaeth y pwyllgor adroddiad o'u gwaith yn ei werthu, a dyma benderfyniad y Cyfarfod: "Fod yr arian a geir am gapel a lotiau y Methodistiaid yn Scranton i'w rhoddi mewn ariandy, neu mewn rhywle sicr arall, i ddwyn llog, a bod y llog a'r hawl i'w defnyddio i adeiladu capel arall yn y man y barno cyfeillion Scranton yn fwyaf manteisiol. Hefyd, fod yr Ysgrifenydd i anfon llythyr at Lywydd y Trustees i geisio ganddo alw y gynulleidfa yn nghyd er cael ei chydsyniad i'r gwerthiad, fel y gallai yr ymddiriedolwyr gydweithredu yn ei werthu â'r pwyllgor penodedig gan y Cyfarfod Dosbarth." Wedi hyny rhyddhawyd y pwyllgor hwn, a phenodwyd Mr. James R. Davies i dderbyn yr arian a gofalu am danynt.

Mae yn debyg fod yr arian hyn wedi achosi cryn lawer o drafodaeth yn y Cyfarfod Dosbarth ar ol hyn. Mae y Cyfarfod a gynaliwyd yn Hyde Park, Rhagfyr, 1874, yn mabwysiadu y penderfyniad canlynol: "Fod y Cyfarfod yn ystyried fod ganddo hawl i'w gosod ar log yn ol ei ewyllys, ond cael sicrwydd digonol a boddhaol, a'n bod mewn canlyniad yn awdurdodi y Llywydd a'r Ysgrifenydd i dynu archeb ar Mr. James R. Davies, yr ymddiriedolwr, am bum' cant bob un, i eglwysi Bellevue, Gibsonburg, ac Olyphant; a'i fod ef i dderbyn notes oddiwrth ymddiriedolwyr yr eglwysi hyny yn ddiogelwch am yr arian." Ond ni chafwyd yr arian i'r perwyl uchod, ac nid yw yn debyg fod Mr. James wedi eu derbyn eto, oblegid mae Cyfarfod Bellevue,

1875, yn penodi pwyllgor o dri, sef y Parchn. E. J. Hughes, R. H. Evans, yn nghyd a Mr. R. Roderick, mewn undeb â swyddogion Trustees eglwys Scranton, i wneyd pob ymdrech ar i'r eglwysi yn Bellevue, Gibsonburg ac Olyphant gael benthyg bawb ei $500 o drysorfa y Cyfarfod Dosbarth, yn ol penderfyniadau blaenorol y Cyfarfod."

Yn y Cyfarfod a gynaliwyd yn Warrior Run, Medi, 1876, gwnaeth y pwyllgor adroddiad, ac mai yr atebiad a gawsant oddiwrth y brawd Isaac Coslett oedd, nad oedd yr arian ddim i'w cael, a'i fod ef a'r ymddiriedolwyr wedi barnu yn oreu gadael pob peth yn llonydd. Penderfynwyd i'r pwyllgor barhau, ac ychwanegwyd Mri. William D. Davies a John S. Davies atynt, a dymunid ar iddynt ymdrechu cael mil o ddoleri yn fenthyg i eglwys Providence o honynt. Erbyn Cyfarfod Nanticoke, yn mis Rhagfyr, mae y pwyllgor yn hysbysu, "Fod y brodyr yn Providence wedi cael benthyg mil o ddoleri. Am hyny yr ydym yn foddhaol. Os dywedodd rhywun rywbeth fu yn ddolur i deimlad y brawd Isaac Coslett, mai yn anfwriadol y bu." Wedi hyn mae y mater yn gorphwys am dymor, heb unrhyw ymdrafodaeth bellach arno hyd 1882, pan wnaeth Cyfarfod Warrior Run benderfynu anfon at Mr. James R. James am adroddiad o'i weithrediadau fel ymddiriedolwr. Cafwyd yr adroddiad yn Nghyfarfod Hyde Park, mis Medi, a phenodwyd y Llywydd, yr Ysgrifenydd, a Mr. John S. Davies i edrych drosto. Bu adroddiad Mr. James ar y bwrdd o bryd i bryd hyd Gyfarfod mis Medi, 1886, pryd y penderfynwyd fod Mr. John S. Davies i fod yn ymddiriedolwr arian capel Scranton, cystal ag yn Drysorydd o hyn allan. Yn Nanticoke, 1886, gwnaeth y pwyllgor adroddiad drachefn, ac erbyn hyn mae pethau anghysurus yn dyfod i'r golwg, yn gymaint a bod un o aelodau y pwyllgor yn cael ei gyhuddo o ddrwg amcanion. Penderfynwyd i'r Ysgrifenydd anfon llythyr i amddiffyn cymeriad y brawd, a chyflwynwyd y mater i sylw y pwyllgor ar achosion eglwysig.

Yn Sugar Notch, Mawrth, 1887, penderfynwyd fod Trustees Hyde Park, Trustees Providence, a Trustees hen eg-

lwys Scranton i gyfarfod a'u gilydd, ac i Drustees y ddau le blaenaf i ymgyfamodi ar delerau boddhaol iddynt hwy; a pha gytundeb bynag a wneir, fod Trustees hen eglwys Scranton i gymeradwyo y cytundeb, ac arwyddnodi pob papyrau angenrheidiol yn ol gofynion y gyfraith. Penderfynodd y Cyfarfod hefyd amddiffyn y brawd oedd yn cael ei gyhuddo ar gam, gan mai dros y Cyfarfod yr oedd yn gweithredu.

## V.—Bellevue.

Mae uchelderau Bellevue yn un o'r llanerchau mwyaf dymunol yn amgylchoedd Scranton. Hyd yn ddiweddar yr oedd yn drefgordd ar ei ben ei hun, ond yn awr mae yn rhan o Scranton, ac yn ddarostyngedig i lywodraeth awdurdodau y ddinas. Deillia manteision i'r dinaswyr sydd yn byw yno, nad allesid eu cael un ffordd arall. Mae y gymydogaeth yn sefyll ar ochr y brif-ffordd, ar yr ochr orllewinol i'r afon, sydd yn arwain i lawr i Pittston. Mae mynyddoedd uchel yn ymgodi o'r tu cefn yn y gorllewin, a dyffryn dwfn y Lackawanna odditanodd, a mynyddoedd uchel, rhan o gydres y Winton Mountains i'r dwyrain.

Yn 1854 nid oedd ond ychydig deuluoedd Cymreig yn cartrefu ar yr ochr yma i'r afon, nac un capel Cymreig wedi ei adeiladu y pryd hwnw. Yr oedd yr Annibynwyr yn cynal moddion mewn ysgoldy yr ochr ddwyreiniol i'r afon, a'r Parch. D. W. Jones o Putnam yn weinidog iddynt. Felly hefyd y Bedyddwyr, a'r Parch. J. W. Jones oedd eu gweinidog. Methodistiaid ddechreuodd sefydlu ar Bellevue gan mwyaf, ac yr oeddynt yn aelodau o eglwys Scranton. Yr oedd gwaith glo wedi ei agor wrth odrau y bryn, a Mr. Walter Phillips yn oruchwyliwr dan y cwmni; felly yr oedd yn naturiol i'r Methodistiaid dynu i'r cyfeiriad hwnw. Buwyd yn meddwl unwaith am symud y capel oedd yn Scranton i le mwy cyfleus, fel y gallai pobl Bellevue a Scranton gydgyfarfod ynddo. Yr oedd Dr. Rowlands yn gryf dros symudiad o'r fath, ond mae yn debyg nad oedd gan Mr. Phillips un cydymdeimlad a'r syniad hwn, ac fel y profodd amser wedi hyny, dyma oedd y goreu yn ddiameu.

Bellach, mae y syniad o gael y ddwy ardal i gydgyfarfod yn un eglwys yn cael ei osod o'r neilldu yn hollol, a chan fod aelodau eglwys Scranton yn parhau i symud i Bellevue i fyw, ac eraill yn ymfudo o'r Hen Wlad, teimlwyd fod yn rhaid gwneyd rhyw ddarpariaeth ar eu cyfer, a chael lle cyfleus i addoli yn yr ardal. Rhoddwyd ffurf i'r teimlad hwn yn y flwyddyn 1856, ac yr oedd nifer y brodyr a ddechreuodd yr achos yn 13 mewn nifer. Ar yr un pryd, maent yn cadw eu haelodaeth yn Scranton, ac mae y Cyfarfod Dosbarth a gynaliwyd yn Pittston y flwyddyn hono yn eu cydnabod fel aelodau o eglwys Scranton. Mae Dr. Davies yn rhoddi amser corfforiad yr eglwys yn 1857, felly megys cangen o'r eglwys hono yr edrychid arni hyd nes ei derbyn i undeb a'r Dosbarth yn 1858, ac mae y Cyfarfod a gynaliwyd yn Carbondale y flwyddyn hono yn pasio penderfyniad eu bod i barhau mewn undeb a'u gilydd fel un eglwys, ac i gymuno ar gylch yn y ddau gapel.

Adeiladu Capel.—Un o'r pethau cyntaf wnaeth y gynulleidfa hono oedd adeiladu capel, a hyny cyn eu bod yn gymdeithas gorfforedig. Prynwyd tir (lot), 50 x 80, gan Samuel Sherwood am $143.17, a dechreuwyd adeiladu yn mis Rhagfyr, 1856. Maint yr adeilad oedd 30 x 35, a'r draul o'i adeiladu a'i ddodrefnu, yn nghyd a gwerth y tir, oedd $1,338.17. Mae Cyfarfod Dosbarth a gynaliwyd yn Pittston y flwyddyn hon yn penodi Mri. Walter Phillips, Thomas Jenkins, John Griffiths a John W. Thomas yn ymddiriedolwyr y capel hwn.

Derbyniwyd, at ddwyn traul adeiladu y capel, trwy law Mri. Walter Phillips, $623; Thomas J. Phillips, $184.61; John R. Williams, $39.70; darlith Mr. J. W. Jones, $60.57; Mrs. Ellen Phillips a Mrs. Margaret Williams, $40; Mr. John Moses, $40; ac oddiwrth eisteddleoedd $55.05.

Ionawr 22, 1861, gwnaed apel am charter i'r eglwys yn Wilkesbarre, a chofrestrwyd y cyfryw Rhagfyr 1, 1861; a'r ymddiriedolwyr cyntaf ddewiswyd o dan y charter oeddynt Mri. Walter Phillips, John T. Griffiths, Watkin Pow-

ell, Daniel Moses, David Hughes a David Morgans, tri am un flwyddyn, a thri am ddwy flynedd. Bellach mae yr eglwys hon wedi ei gosod ar safle dda, a'r achos mewn gwedd lewyrchus, ac yn myned ar gynydd parhaus, trwy ymfudiaeth, ac eraill yn symud o Scranton i Bellevue.

Adeiladu Capel Hyde Park.—Fel yr oedd Cymry a Methodistiaid yn cynyddu ar yr ochr orllewinol i'r afon, yn Hyde Park cystal a Bellevue, mae yr eglwys hon yn dangos meddylgarwch a gofal am lwyddiant y Cyfundeb, ac yn gwneyd darpariaeth ar gyfer ymfudwyr, yn gystal a'r rhai oedd yn symud i fyw o Scranton. Yn Mai, 1863, cynaliwyd cyfarfod brodyr i ystyried y mater, a phenderfynwyd cael eglwys i'r Trefnyddion Calfinaidd yn y lle hwn, a nodwyd Mr. Walter Phillips i chwilio am le i adeiladu capel arno. Mehefin 4 gwnaeth Mr. Phillips adroddiad i'r Cyfarfod fod tir i'w gael ar werth ar y main road, gan Mrs. Emilie Preston. Wedi cael yr adroddiad hwn, penodwyd Mri. Walter Phillips a Daniel Moses yn bwyllgor i fenthyca arian a sicrhau y tir a'r ty oedd arno, a thalwyd i'r perwyl hwn ac am chwilio y record $231.80. Wedi hyny gwnaed cytundeb ag un James Woolsey o Scranton i adeiladu capel am $6,500. Yr oedd defnyddiau yn rhad pan wnaed y cytundeb, ond yn bur fuan wedi hyny cododd prisiau pob peth oblegid y rhyfel oedd yn myned yn mlaen ar y pryd. Hefyd, penderfynodd y Trustees wneyd dau dy o'r adeilad oedd ar y tir, o'r tu ol i'r capel, yr hyn a ychwanegodd y ddyled yn agos i $8,000. Cafwyd pob hwylusdod i fyned yn mlaen gyda'r gwaith o adeiladu, fel yr oedd y gwaith wedi ei orphen, a'r capel yn barod i'w agor yn mis Gorphenaf, 1864. Erbyn diwedd y flwyddyn hono yr oedd $5,868.53 o'r ddyled wedi ei thalu. Casglodd y Parch. Dr. Roberts at y capel hwn yn New York, $805, a derbyniodd gan y D. L. & W. Railroad Co. $425, yn gwneyd $1,230, fel mai gweddill y ddyled oedd yn aros oedd $2,700. Yr ymddiriedolwyr a ddewiswyd ar y capel hwn, yn 1863, oeddynt Mri. Llywelyn Jenkins, Jonah Lewis, John E. Davies, W. J. Phillips, Daniel Moses, a Richard J. Jones.

Bu y brodyr canlynol yn ffyddlawn ac ymdrechgar gyda'r pwyllgor adeiladu, ac i gasglu at draul yr adeiladu: Mri. Walter Phillips, Ebenezer Griffiths, Lewis S. Jones, James R. James, Joshua Williams, Daniel Hughes, Thomas Harcourt, W. R. Pierce, John D. Phillips, John T. Griffiths, Thos. J. Phillips a Richard Jones, yn nghyd ag eraill nad yw eu henwau mor hysbys.

Yr amser hwnw yr oedd swyddogion eglwys Bellevue yn penodi brodyr i fyned i Hyde Park i ofalu a chynorthwyo gyda'r achos yn ei holl ranau, Mr. Evan Jones i arwain y canu, ac i ofalu am y Band of Hope. Bu y brodyr W. Pierce, W. Penry, J. S. Davies, J. R. Morris a J. L. Jones yn ffyddlawn yn y gwasanaeth hwn am flynyddoedd. John E. Davies oedd yn blaenori, a Daniel Hughes yn cynorthwyo. Parhaodd yr undeb hwn rhwng y ddwy eglwys hyd 1869, a Bellevue yn arolygu yr achos.

Yn 1865 mae y Cyfarfod Dosbarth a gynaliwyd yn Pittston yn pasio penderfyniad, "Fod Hyde Park, o hyn allan, i gael ei hystyried yn eglwys ar ei phen ei hun, fel rhyw eglwys arall." Ond ni chymerwyd y mesurau angenrheidiol i gwblhau annibyniaeth yr eglwys hyd y flwyddyn a nodir uchod. Yn mis Ebrill, 1869, daeth cais o eglwys Hyde Park at eglwys Bellevue ar iddi roddi ei hawl yn y capel i fyny i'r gynulleidfa oedd yn ymgynull yno, a phenderfynodd eglwys Bellevue gydsynio â chais y brodyr, a bod ymddiriedolwyr y ddwy eglwys i gyfarfod yn Bellevue, a dyfod a phob llyfrau a phapyrau perthynol i'r Bwrdd gyda hwynt, i edrych dros y cyfrifon; ac wedi cael adroddiad o sefyllfa yr achos, penderfynwyd fod y Trustees yn cael eu hawdurdodi i drosglwyddo eu hawl yn nghapel Hyde Park i'r eglwys yn y lle. Arwyddwyd y cytundeb ar ran Hyde Park gan Mri. Daniel Moses a W. S. Jones, a chan Mri. W. G. Price a G. M. Williams ar ran Bellevue. Yr oedd swm y ddyled ar gapel Hyde Park yn $300, a chymerodd Bellevue haner y ddyled, a thalodd iddynt $150. Felly terfynwyd y cysylltiad rhwng y ddwy eglwys mewn modd hapus a dymunol iawn.

Adeiladu Capel Newydd.—Yn y cyfnod hwn yr oedd ymfudwyr lawer yn dylifo yma o'r Hen Wlad, a thra yr cedd Bellevue yn ymdrafferthu gyda chapel ac eglwys Hyde Park, yr oedd y capel wedi myned yn rhy fach i gynwys y gynulleidfa. Bellach mae at ei rhyddid i dalu sylw i'r mater hwn. Buwyd yn meddwl unwaith am ei helaethu, ond yr oedd y tir yn rhy fach i'w helaethu i'r maint angenrheidiol. Buwyd hefyd yn ymgyngori â'r Parch. Dr. Roberts, New York, gyda golwg ar ei helaethu, ond ei gyngor ef oedd y buasai yn well prynu lle, a chodi capel newydd, yn hytrach na helaethu yr hen. Wedi ethol ymddiriedolwyr 1869, penodwyd pwyllgor o ddau, Mri. John D. Phillips a W. E. Morgan, i edrych am le cymwys i adeiladu capel newydd. Cafwyd fod y lot lle saif y capel yn awr, ar werth, ond yr oedd dwy blaid arall yn awyddus i'w phrynu fel lle cyfaddas i adeiladu tafarndy ar gongl y brif-ffordd. Gwnaeth y pwyllgor adroddiad Chwefror 12, fod y lot hon ar werth gan Mr. Thomas Daggart am $700, a phenderfynwyd codi arian a'i phrynu yn ddioed. Wedi hyny lluniwyd mesurau gyda golwg ar adeiladu, a gwnaed cytundeb gyda Mr. Aneurin Jones (Aneurin Fardd) i dynu cynllun o gapel, a gwnaeth yntau ddau, a mabwysiadodd y pwyllgor adeiladu y cynllun ar ba un yr adeiladwyd y capel sydd yno yn awr. Y pwyllgor adeiladu oedd y Parch. W. Roberts, D. D., a'r Parch. W. E. Morgans, a'r Mri. Lewis Roberts a John Williams, ac maent yn rhoddi y basement ar gytundeb i un John Tunings o Hyde Park. Barnodd y pwyllgor yn oreu brynu y defnyddiau eu hunain, lle gallent eu cael oreu a rhataf, a chyflogi Mr. Daniel Williams, Hyde Park, i gyflogi gweithwyr ac arolygu y gwaith. Pan yn dechreu adeiladu yr oedd Mr. Aneurin Jones yn sicrhau y buasid yn gorphen y gwaith ar $10,000, ond daeth y Trustees a'r Building Committee i weled yn wahanol, a galwyd cyfarfod o'r eglwys, a gosodwyd y mater ger bron, iddynt gael deall eu safle, a phenderfynodd yr eglwys i'r pwyllgor fyned yn mlaen yn ol y cynllun nes gorphen yr adeilad.

Mae yn eglur i'r brodyr bellach, fod adeiladu y capel

newydd yn myned i gostio mwy nag yr oeddynt wedi meddwl; felly cynaliwyd cyfarfod yn y cyfwng hwn i dynu y cynllun goreu i gasglu arian er talu y draul. Yr oedd Dr. Roberts wedi addaw gwneyd ei oreu i gasglu arian, ond yr oedd hefyd yn awyddus i gael yr eglwys i wneyd ei rhan; felly mae yn cyflwyno i'w sylw y cynllun canlynol, sef fod i'r eglwys godi mil o ddoleri mewn addewidion, a chael chwe' mis i'w talu. Yna gofynodd a oedd yno bedwar a fuasai yn rhoi can' dolar yr un, ac y buasai yntau yn rhoi cant er eu gwneyd yn bump, ac mae Mri. W. G. Price, John D. Phillips, John S. Davies a W. L. Griffiths yn addaw can' dolar yr un, ac mae yr eglwys yn gwneyd y pum' cant arall yn ddidrafferth, ac wedi hyny aeth y Doctor yn galonog o'r tu allan i gasglu, a llwyddodd i gael llawer o arian at ddileu y ddyled.

Gorphenwyd y capel, fel yr oedd yn barod i'w agor yn Hydref, 1870. Rhif yr eglwys y pryd hwn oedd 157, ac er fod yn eglur ei bod dan faich trwm, yr oedd pob peth yn myned yn mlaen yn ddibrofedigaeth, a'r brodyr yn cydweithio â'r swyddogion yn rhagorol; ac yr oedd ei chyfraniadau at dreuliau cyffredinol yr achos yn $1,500, heb son am y casgliadau at y ddyled a'r llogau oedd yn rhaid eu cyfarfod yn eu hamser priodol. Ac mae gallu gwneyd, dan amgylchiadau o'r fath, yn cadw i fyny anrhydedd yr achos.

Amgylchiadau Helbulus.—Nid oes un cymeriad o werth heb ei brofi, ac mae amgylchiadau helbulus yn gwasanaethu i egluro pwy ydyw gwir ffyddloniaid yr achos bob amser. Yn y flwyddyn 1871 mae y mwnwyr yn sefyll allan trwy holl weithfeydd dyffrynoedd Lackawanna a Wyoming, yr hyn a barhaodd am chwe' mis. Fel eglwysi eraill, mae yr amgylchiad hwn yn effeithio yn fawr ar aelodau a gwrandawyr yr eglwys hon, ac yn parlysu ei gweithrediadau am dymor. Wedi sefyll allan am haner blwyddyn, a suddo i ddyled, lawer o honynt, mae y mwnwyr yn myned i weithio am yr un bris ag oedd yn cael ei gynyg iddynt cyn hyny, ac wedi dechreu gweithio, nid oedd fawr o waith, am

fod y cwmniau wedi colli eu marchnad, trwy fethu cyflawni eu haddunedau blaenorol; a pharhaodd felly am 1871-72; ac yn 1873 daeth yr argyfwng (panic) arianol ar y wlad, fel y safodd llawer o weithfeydd yn hollol, ac yn eu plith gwaith Bellevue. Dyrysodd yr amgylchiadau hyn bob cynlluniau, a chwalodd y bobl i bob cyfeiriad, ac yr oedd rhagolygon yr eglwys yn ymddangos yn dywyll a digalon.

Yn haf 1873 aeth Dr. Roberts am dro i'r Hen Wlad, a chymerodd fantais ar ei ymweliad i roddi achos eglwys Bellevue o flaen ei hen gydnabyddiaeth, a chasglodd yno rai canoedd o ddoleri at y ddyled. Am y blynyddoedd dylynol yr oedd y Doctor a'r eglwys yn llafurio dan anfanteision lawer i gario yr achos yn mlaen heb suddo dan y baich oedd ganddynt i'w gario, ac yr oedd y ddyled a'r llogau yn digaloni llawer, fel yr oeddynt yn ymadael o'r ardal i osgoi y cyfrifoldeb. Er hyny ymwrolodd y ffyddloniaid, gan benderfynu fod y ddyled i'w thalu, ac na byddai neb yn eu colled oblegid eu hymddiried ynddynt.

Yn 1877 ymadawodd Dr. Roberts i Utica, a bu yr eglwys yn dibynu ar lafur gweinidogion a phregethwyr yn y Dosbarth, gan ymdrechu lleihau y ddyled yn barhaus hyd y flwyddyn 1884, pan y galwyd y Parch. J. T. Morris, y gweinidog presenol, a bu yntau a'r eglwys yn cydweithio er lleihau y ddyled hyd y flwyddyn 1888, pryd y penderfynwyd clirio yr hen ddyled yn llwyr. Gwnaeth yr eglwys a'r gwrandawyr addewidion i'w talu erbyn y cyntaf o Fai. Casglodd Mr. Morris o'r tu allan i'r eglwys dros $300. Penderfynwyd hefyd cael cyfarfod Jubili, Mai 14, pryd y talwyd y mortgage ddiweddaf i Mrs. William W. Davies am $888.98, ac y rhoddwyd y manylion canlynol: Traul adeiladu, $16,167.96; llogau, $5,811.78; cyfanswm adeiladu, yn nghyd a'r gwelliantau, $21,979.04—yr hyn sydd arwydd eglur o ffyddlondeb a haelfrydedd eglwys Bellevue.

Adgyweiriad y Capel.—Yn haf 1892 penderfynodd yr eglwys roddi siding newydd ar y capel, a'i baentio oddifewn ac allan, a rhoddi llawr newydd ar yr ystafell odditanodd,

a chostiodd y gwelliantau hyn $1,700, ac wedi cael y capel yn barod, cynaliwyd cyfarfod ddau o'r gloch y Sabboth i bregethu ac i dderbyn addewidion at draul yr adgyweiriad, i'w talu erbyn y 1taf o Ionawr, 1893. Cafwyd $1,300 mewn addewidion y pryd hwnw, a derbyniwyd yr oll erbyn dechreu y flwyddyn. Yn 1896 rhoddwyd ffenestri newyddion yn y capel a'r basement, yn nghyd a gwelliantau eraill, yr hyn a gostiodd $500, ac mae y swm hwn yn aros fel dyled arno yn bresenol.

Cysegriad y Capelau.—Neillduwyd y capel cyntaf yn dy i addoli yr Arglwydd ynddo y nos Sadwrn a'r Sabboth cyntaf yn 1858. Y Parch. John R. Williams yn dechreu y gwasanaeth nos Sadwrn, a'r Parchn. John Moses a John Davies, Blakely, yn pregethu. Am 10 y Sabboth, dechreuodd y Parch. Thos. J. Phillips, a phregethodd y Parchn. Joseph Rees, Carbondale, a Dr. Rowlands, Scranton. Am ddau dechreuodd y brawd J. Rees, a phregethodd Dr. Rowlands yn Saesneg. Am chwech, dechreuodd y Parch. John Moses, a phregethodd y Parchn. J. R. Williams a John Davies. Felly cysegrwyd y deml gyntaf yn Bellevue. Canmolid y capel fel adeilad oedd yn dangos chwaeth yn ei gynllun a'i ddodrefniad, a diameu iddo fod yn lle o hyfrydwch a mwynhad crefyddol i lawer. Agorwyd capel Hyde Park, Gorphenaf 15, 16, 1864, a gwasanaethwyd ar yr achlysur gan y Parchn. W. Roberts, D. D., Howell Powell, Cincinnati, E. J. Hughes, St. Clair, a D. C. Evans, Danville. Pregethodd Dr. Roberts am ddau y Sabboth i gynulleidfa o Saeson, a chafwyd casgliad teilwng o'r gynulleidfa. Casglwyd ddydd yr agoriad $1,374.25. Gan mai gweithwyr oedd y rhan fwyaf o'r gynulleidfa, ystyrid fod haelfrydedd anghyffredin wedi ei ddangos yn yr amgylchiad hwn, fel mai $1,463.67 oedd o ddyled yn aros ar y capel ar ol yr agoriad.

Agorwyd y capel presenol, Hydref 10, 11, 1870. Cymerodd y brodyr canlynol ran yn y gwasanaeth ar yr achlysur: Traddodwyd y bregeth agoriadol gan Dr. Roberts,

gweinidog yr eglwys, a dylynwyd ef gan y Parchn. W. C. Roberts, D. D., Elizabeth, N. J.; Joseph E. Davies, D. D., Hyde Park; R. F. Jones, John L. Jeffreys ac Edward J. Hughes; a chafwyd cyfarfodydd rhagorol, a chynulleidfa oedd lluosog, fel yr oedd yn angenrheidiol cynal gwasanaeth yn y basement yr un pryd. Casglwyd at y ddyled ddydd yr agoriad, $324.20. Aeth pob peth yn mlaen yn ddymunol wedi hyn hyd y dygwyddiadau gymerodd le y flwyddyn ganlynol, fel y nodwyd yn barod.

Yr Eglwys a'r Weinidogaeth.—Yn y blynyddoedd cyntaf dibynai ar weinidogaeth achlysurol, yn ol arfer Methodistiaid y pryd hwnw. Hefyd cododd amryw frodyr i'r weinidogaeth yn yr eglwys hon, yn fwy felly nag un eglwys arall yn y Dosbarth, yn enwedig tra yr oedd yn addoli yn yr hen gapel. Y cyntaf oedd Thomas Elias, yr hwn a ddaeth yma o Rymni, D. C., ac a ymadawodd at y Saeson. Yr ail oedd y Parch. W. J. Lewis, yr hwn ddaeth yma o Ferthyr Tydfil. Ar ol hyny y brawd Lewis S. Jones; daeth ef yma o Abertawe. Ar ei ol yntau cododd y Parch. W. E. Morgan, brodor o Ystradgynlais. Yr oedd y Parchn. John Moses a Thos. J. Phillips yn byw yma am ryw dymor yn y blynyddoedd hyny. Yr unig frawd mae genym y fraint o gofnodi ei enw wedi codi yn y capel newydd ydyw Samuel Griffiths, yr hwn sydd yn bresenol wedi myned i Johnstown. Felly bu yr eglwys am flynyddoedd yn dibynu ar lafur y brodyr uchod, ac eraill yn achlysurol.

Yr ymgais cyntaf wnaed tuag at gael gweinidogaeth sefydlog oedd yn 1862, gyda golwg ar y Parch. Evan F. Jones. Mae y Cyfarfod Dosbarth a gynaliwyd yn Carbondale y flwyddyn hono yn gwneyd y sylw a ganlyn: "Bu ymdriniaeth ar gais eglwys Bellevue gyda golwg ar gael y Parch. E. F. Jones atynt yn weinidog, a chan fod y gweinidog yn deall fod y cais yn unfrydol, ac yntau yn teimlo awydd i ddyfod, caniataodd y Dosbarth y cais, gan ddweyd nad oedd yn briodol i ni eu hatal, eto ein bod yn cyngori bod yn bwyllog o'r ddau tu." Ond mae yn debyg na wnaed un sy-

mudiad pellach gyda golwg ar Mr. Jones. Yn 1863 rhoddwyd galwad i'r Parch. Joseph E. Davies i fugeilio y ddwy eglwys, Bellevue a Hyde Park, a pharhaodd felly hyd 1867. Cyfododd rhyw gam-ddealltwriaeth rhwng Mr. Davies a'r eglwys yn nghylch y berthynas rhyngddynt a'u gilydd. Yr oedd ef yn deall fod cytundeb penodol rhyngddynt, a'r eglwys yn deall yn wahanol, a barnodd y brodyr fu yn edrych i'r mater nad oedd un math o gytundeb yn bod, ac felly terfynodd llafur Dr. Davies yn y cysylltiad hwn. Yn yr adeg hon yr oedd y ddwy eglwys yn myned ar gynydd, ac ar ddiwedd y flwyddyn uchod maent yn rhoddi galwad i'r Parch. M. A. Ellis, Slate Hill, i ddyfod i'w bugeilio, a derbyniodd yntau yr alwad, a bu yn eu gwasanaethu am flwyddyn; wedi hyny cyfyngodd Mr. Ellis ei lafur i Hyde Park yn unig, ac yr oedd Bellevue heb neb. Yn 1869 cafwyd ar ddeall fod Dr. Roberts, New York, yn agored i dderbyn galwad, ac anfonwyd gwahoddiad iddo ddyfod i wasanaethu yr eglwys am bedwar Sabboth. Ar ddiwedd y tymor hwn estynwyd galwad iddo ddyfod yno yn fugail; derbyniodd yntau yr alwad, a dechreuodd ar ei waith yn mis Mai y flwyddyn uchod. Yr oedd dyfodiad Dr. Roberts i'r lle yn gaffaeliad pwysig i'r eglwys, ac i'r Dosbarth a chylch y Gymanfa. Yr oedd ei ddoniau dysglaer, a'i hyawdledd fel pregethwr, yn hawlio iddo y lle blaenaf yn nghylchoedd uchaf yr enwad, ac fel prawf fod yr eglwys hon yn gwerthfawriogi ei lafur codwyd ei gyflog o fil i ddeuddeg cant yn y flwyddyn.

Wedi y sefyll allan yn 1871, a'r cyfyngder arianol yn 1873, yr oedd nerth yr eglwys wedi gwanhau yn fawr, cynlluniau pawb wedi dyrysu, a'u hysbrydoedd wedi llwfrhau; ac yn 1877 derbyniodd alwad oddiwrth eglwys Utica, a bu yn ystyried y mater yn bwyllog ac yn ymgyngori a'r eglwys cyn ateb yr alwad; ond yn y diwedd penderfynodd ateb yn gadarnhaol, ac y byddai yn ymadael mewn trefn i fod yno erbyn y cyntaf o Mehefin. Cynaliwyd cyfarfod ymadawol i ffarwelio ag ef a'i deulu, Mai 29, a llywyddwyd gan Dr. Joseph E. Davies, a chafwyd anerchiadau gan y

swyddogion, a llawer o'r brodyr oedd yn bresenol, a rhoddwyd anrheg o ffon ben-eurawg i'r Doctor, ac addurn-wisg ardderchog i Mrs. Roberts, ysgrifbin aur a thri o lyfrau i Frank, y mab, y rhai a dderbyniwyd yn ddiolchgar, a chyda theimladau drylliog. Yr oedd y gymydogaeth yn teimlo yn ddwys eu colled o golli eu gweinidog a'r teulu. Yr oedd ar y blaen gyda phob achos da. Bu ef a Mrs. Roberts yn foddion i godi dirwest yn yr ardal, a buont yn flaenllaw gyda'r Temlwyr Da ac achosion eraill. Fel casglwr arian at gapelau, yr oedd yn rhagori ar bawb yn mhlith ein cenedl. Casglodd at y capel hwn, yn New York, dros $5,000, heblaw a gasglodd mewn manau eraill. Yr oedd hefyd yn gyfranwr da, ac nid oedd byth yn esgeuluso cyfranu $2 y mis at y weinidogaeth.

Yn 1884 rhoddwyd galwad i'r Parch. John T. Morris, oedd ar y pryd yn Ixonia, Wis., ac atebodd yntau yn gadarnhaol, a dechreuodd ar ei fugeiliaeth yn mis Tachwedd, ac mae y berthynas wedi bod yn hapus a llwyddianus, ac wedi parhau hyd yn bresenol. Gobeithiwn fod iddo ddyddiau lawer i wasanaethu yr achos yn y lle eto.

Blaenoriaid yr Eglwys.—Y cyntaf a ddewiswyd, pan sefydlwyd yr eglwys, oedd Mr. Walter Phillips, a llanwodd y swydd gyda medr a ffyddlondeb hyd Ionawr, 1867. Cafodd ei ddiwedd yn ddisymwth yn y gwaith, a chollodd y Methodistiaid yn ei farwolaeth un o'r rhai mwyaf blaenllaw a galluog. Casglodd at gapel cyntaf Bellevue, $633.24, ac at gapel Hyde Park, $1,341.54. Etholwyd Mri. Watkin Powell a John T. Griffiths yn gynorthwywyr i Mr. Phillips, ond ni buont yno yn hir cyn symud i Wilkesbarre. Yn fuan wedi hyny dewiswyd Mri. John E. Davies a John Williams, a bu y diweddaf yn flaenor ffyddlawn a pharchus hyd ei farwolaeth, yr hyn a ddygwyddodd yr un flwyddyn a Mr. Phillips. Wedi marwolaeth y ddau frawd uchod, dewiswyd Mri. John M. Jones a Jonah Morgans, ond o herwydd gwaeledd iechyd ymryddhaodd Morgans o'r swydd yn fuan; yna etholwyd Mr. W. E. Morgans, a bu yntau yn gweini yn

y swydd hyd nes y caniatawyd iddo ddechreu pregethu, pan etholwyd Mr. William W. Davies i lanw ei le, yr hwn a fu yn frawd ffyddlawn a pharchus hyd ddydd ei farwolaeth.

Pan oeddid yn barod i ymadael o'r hen gapel, dewiswyd Mri. John D. Phillips a John S. Davies. Ar ol marwolaeth W. W. Davies, dewiswyd Mr. W. R. Lewis, yr hwn oedd wedi arfer bod yn swyddog yn yr Hen Wlad. Wedi hyny etholwyd Mri. R. S. Thomas ac Isaac Morgans, ond symudodd y ddau yn fuan o'r lle, ac etholwyd Mri. James B. Thomas a Morgan James. Bu farw Mr. Thomas yn nghanol dymuniadau goreu yr eglwys, a phawb yn teimlo eu bod wedi cael colled ar ei ol. Mae y pedwar blaenor sydd yn gwasanaethu yr eglwys yn bresenol, yn y swydd er's llawer o flynyddoedd, ac yn cydweithio yn dda. Maent wedi ymgyngori llawer am gael rhai i'w cynorthwyo, ond yn methu gweled y gallent lwyddo, ac felly yn gohirio, rhag gwneyd mwy o ddrwg nag o dda.

Ymddiriedolwyr.—Yr ymddiriedolwyr cyntaf oeddynt Mri. Walter Phillips, John T. Griffiths, Watkin Powell, Daniel Moses, Daniel Hughes a David Morgan. Yr ymddiriedolwyr presenol ydynt, Mri. John D. Phillips, John S. Davies, John Talartha Jones, W. J. Davies, David Samuel a Henry M. Evans. Mae Mr. John D. Phillips wedi bod yn Llywydd y Bwrdd er 1869, a John S. Davies yn Drysorydd er yr un amser.

Arweinyddion y Canu.—Y cyntaf y gwyddom am dano ddewiswyd i arwain y canu yn Bellevue oedd Mr. Daniel Moses, a bu yn y swydd nes iddo symud i Hyde Park. Ar ei ol ef dewiswyd Mr. Gwilym M. Williams yn arweinydd, a Mr. William Morgan yn gynorthwywr, a bu y ddau frawd yn gofalu am y rhan hon o'r gwaith hyd nes i Mr. Williams symud i lawr i Wilkesbarre. Wedi hyny etholwyd Mr. James Thomas, a Mr. Morgans i'w gynorthwyo. Bu Mr. Morgans yn ffyddlawn gyda phob rhan o'r gwaith, yn ol ei allu, gystal a'r canu, hyd ddydd ei farwolaeth. Sy-

mudodd Mr. Thomas hefyd yn mhen blynyddau i arolygu glo-weithfa Paine. Ar ol iddo ef ymadael o'r ardal, dewiswyd Mr. Thos. B. Jones yn arweinydd, a Mr. J. W. Lewis i'w gynorthwyo. Mrs. Henry M. Evans yw yr organyddes, chwaer wedi ei chodi yn yr eglwys er yn blentyn, ac yn medru chwareu yn dda.

Yr Ysgol Sabbothol.—Yn 1860 yr oedd yr Ysgol yn rhifo fel y canlyn: Dosbarthiadau, 12; ysgolheigion, 63; cyfanswm, 75. Yn 1862 yr oedd rhif y dosbarthiadau yn 23, a'r ysgolheigion yn 91; cyfanswm, 114, a phawb yn dysgu Cymraeg y pryd hwnw. Yn 1896 yr oedd ei rhifedi yn 220.

Mae yn perthyn i'r gynulleidfa hon amryw wrandawyr er 1862, sydd wedi bod yn ffyddlawn bob amser i gymeryd rhan gyda gwelliantau ar y capel. Yr oedd Mr. Lewis Roberts yn un o'r Building Committee amser adeiladu y capel. Yr oedd ef a Mr. John S. James ar y pwyllgor gyda'r gwelliantau yn 1892. Un arall o'r hen wrandawyr yw Mr. Edward James; ac maent bob amser yn dwyn mawr sel dros yr achos, ac yn cyfranu yn haelionus tuag at bob treuliau perthynol i'r achos, ac ar yr un pryd yn parhau yn wrandawyr, heb roddi eu hunain yn aelodau, er bod yr eglwys wedi gweddio llawer drostynt, ac erfyn eu gweled yn dyfod i ymofyn lle yn nhy yr Arglwydd.

Ol-Nodiad.—Ar ol ysgrifenu yr uchod, hysbyswyd ni fod Mri. John T. Griffiths a David L. Richards wedi bod yn flaenllaw gyda'r canu yn Bellevue, ac wedi gwneyd gwasanaeth rhagorol yn y blynyddoedd cyntaf.

## VI.—Hyde Park.

Dechreuodd Cymry ymsefydlu ar fryniau Hyde Park yn 1858, ac o hyny yn mlaen hyd 1863; yr oedd rhai o Scranton yn symud yma, ac eraill yn ymfudo o Gymru. Wrth weled fod Cymry yn cynyddu yr ochr yma i'r afon, yr oedd arweinwyr yr achos yn teimlo y dylasai fod yma le i Fethodistiaid i addoli, yn gystal ag enwadau eraill.

Yr ydym yn casglu mai Mr. Walter Phillips oedd y sy-

mudydd yn yr anturiaeth hon. Yr oedd yn oruchwyliwr y gwaith yn Bellevue, ac yn flaenor yn yr eglwys, ac yn ddyn gweithgar a selog i weled yr achos a'r enwad y perthynai iddo yn llwyddo, felly yr oedd ganddo lawer o ddylanwad yn nghychwyniad yr achos hwn.

Ar y cyntaf o Fai, 1863, galwyd cyfarfod brodyr yn Bellevue i ystyried y priodoldeb o gychwyn achos newydd yn Hyde Park, a phenderfynwyd yn gadarnhaol. Dyma y flwyddyn y cychwynwyd yr eglwys hon, mor agos ag y gallwn gasglu. Yr oedd nifer yr aelodau a ymunodd a'u gilydd i ddechreu yr achos yn 44. Ni chawsom enwau neb o'r rhai oedd yn bresenol y pryd hwnw, ond Mr. Joshua Williams a'i wraig (mae hi yn byw yma eto), a Mr. Daniel Hughes a'i wraig; bu yntau yn wr o ddylanwad yma am flynyddoedd. Yn y cyfarfod uchod penderfynwyd fod Mr. Phillips i chwilo am lot i adeiladu capel arni, ac yn mis Mehefin mae yntau yn gwneyd adroddiad fod lot i'w chael gan Mrs. Emilie Preston, mewn lle cyfleus, a phenodwyd Walter Phillips a Daniel Moses yn bwyllgor i edrych am arian, a sicrhau y lle. Wedi hyn dechreuwyd parotoi at adeiladu, ac anfonodd Mr. Phillips rai o'i weithwyr i ddechreu tori y sylfaen, ac yn eu plith yr oedd y brodyr Daniel Moses a'r Parch. W. E. Morgans, a Mr. Morgans a dorodd y dywarchen gyntaf er parotoi i sylfaenu "y ty hwn." Dyma y y symudiadau cyntaf tuag at gychwyn yr achos yn Hyde Park, a chan mai tan nawdd ac arolygiaeth eglwys Bellevue yr oedd y cwbl yn cael ei wneyd, ac mai fel cangen o'r eglwys hono yr oedd yr eglwys hon yn cael ei hystyried, mae yn debyg na fu corfforiad rheolaidd arni, yn ol trefn ac arfer y Methodistiaid, yn ei dechreuad.

Gan ein bod wedi cofnodi pob ffeithiau a gawsom yn nglyn a dechreuad yr achos hwn, lle maent yn perthyn yn briodol, yn eu cysylltiad ag eglwys Bellevue, nid oes achos manylu rhagor yma. Felly mae yr eglwys hon yn dyfod dan ein sylw o'r flwyddyn 1866 yn mlaen. Yn mis Tachwedd, 1865, mae y Cyfarfod Dosbarth a gynaliwyd yn Pittston yn "Penderfynu fod i'r cyfeillion yn Hyde Park, oedd

yn gangen o eglwys Bellevue, gael eu hystyried o hyn allan yn eglwys ar ei phen ei hun, fel rhyw eglwys arall yn y Dosbarth." Y gorchymyn hwn a roddodd iddi safle gydraddol ag eglwysi eraill y Methodistiaid yn y Dosbarth Gogleddol, er na chwblhawyd y trefniadau i ddwyn hyn oddiamgylch yn weithredol hyd 1869.

Saif y capel hwn mewn lle gyda'r mwyaf dymunol yn Hyde Park, ac adeiladwyd ef o briddfeini, yn ddigon helaeth i eistedd tua chwe' chant o gynulleidfa, a basement room helaeth odditano. Gorphenwyd yr adeilad yn 1864, ac agorwyd ef yn mis Gorphenaf. Costiodd yr adeilad yn nghyd a threfnu y tai perthynol iddo, $8,000. Casglodd y Parch. W. Roberts, D. D., at dalu y ddyled oddiwrth wahanol bersonau, $805. Cafodd gan y D. L. & W. RR. Co., $425, yn gwneyd cyfanswm o $1,230. Casglwyd hefyd gan y Parch. Joseph E. Davies, D. D., gweinidog yr eglwys, yn Siroedd Schuylkill, Lehigh a Lancaster, $751.32. Erbyn diwedd y flwyddyn 1864 yr oedd yr oll o'r ddyled wedi ei thalu ond $2,700.

Yr unig flaenor rheolaidd yma y pryd hwn oedd y brawd John E. Davies, a'r brodyr Joshua Williams a Daniel Hughes yn cynorthwyo. Yn yr adeg hon, ac wedi hyn, yr oedd eglwys Bellevue yn penodi brodyr i gynorthwyo yr achos yn Hyde Park yn ei wahanol ranau. I'r amcan hwn daeth y brodyr W. Phillips a Daniel Moses yn aelodau o'r eglwys hon, yn hytrach na Bellevue; ac mae Mr. Moses wedi bod yn aelod a swyddog ffyddlon yma hyd yn bresenol. Yr oedd Dr. Davies yn gweinidogaethu i'r ddwy eglwys o'r flwyddyn 1863 i ddiwedd 1867, a phob peth ar y pryd yn ymddangos yn addawol. Ond ar foreu oer yn mis Rhagfyr, 1867, gwelwyd fod y ddaear yn ymollwng dan y capel, am fod y glo wedi ei symud odditano, a muriau yr adeilad yn ymagenu drwyddynt, a phob peth yn argoeli ei fod ar syrthio yn garnedd. Hawddach dychymygu na desgrifio teimladau profedigaethus yr eglwys yn y cyfryw amgylchiadau. Ac i ychwanegu at eu profedigaeth, yr oeddynt, mewn undeb a Bellevue, wedi estyn galwad i'r Parch.

M. A. Ellis i ddyfod yma yn weinidog, ac yr oedd yntau wedi cychwyn o St. Louis, ac heb glywed dim am yr anffawd hon nes dyfod i'r lle. Eto ni ddigalonwyd ar y naill ochr na'r llall. Dechreuodd y gweinidog ar ei waith, heb lwfrhau na digaloni, a bu yr eglwysi yn ffyddlon a gwrol hefyd. Ond yn y sefyllfa ddirywiedig hon y bu y capel, ac yn beryglus myned iddo, am tua blwyddyn a haner, cyn bod y tir odditano weli sefydlu, ac yr oedd gan y brodyr farc ar ymyl yr agen oedd yn y mur wrth ochr y pwlpud, wrth yr hwn yr oeddynt yn mesur y *shade* leiaf yn agoriad yr agen. Yn niwedd y tymor hwn deallwyd fod y cwymp wedi sefyll, a'r perygl wedi myned drosodd, a dechreuwyd yn ddioed ar y gwaith o'i adgyweirio, ac yr oedd y draul yn $6,000. Ond yr oedd y capel wedi ei orphen, yn edrych yn well nag o'r blaen, a'r nenfwd wedi ei liwio yn debyg i dderw, a'r pwlpud a'i amgylchoedd yn deoyg i liw collen ffreinig ddu. Bu ail agoriad arno yn 1870, ond ni chawsom ddim manylion, ac nid oes unrhyw gofnodiad wedi ei wneyd pwy fu yn gwasanaethu ar yr achlysur.

Yn nglyn a'r amgylchiad profedigaethus hwn yn hanes yr eglwys, mae yn briodol sylwi fod y Cyfarfod Dosbarth a gynaliwyd yma Mawrth, 1868, wedi amlygu cydymdeimlad â'r frawdoliaeth yn y geiriau canlynol: "Fod pawb yn dangos cydymdeimlad â'r eglwys yn y lle yn ngwyneb eu trallod a'u cyfyngder presenol, er nad oes genym nemawr i'w wneyd yn ngwyneb yr amgylchiad." Ond fe nodwyd pwyllgor o dri, sef y Parchn. Thos. J. Phillips, J. R. Williams a Lewis S. Jones, er cynorthwyo y brodyr i ymlwybro yn mlaen er adferu peth o'r golled oddiar gwmpeini y gwaith. Mae y Gymanfa, hefyd, yn yr un flwyddyn, yn rhoddi anogaeth i'r "Ymddiriedolwyr i wneyd un ymgais trwy gyfreithwr, neu ryw un cymwys i'r fath orchwyl, at y cwmpeini a gloddiasant y glo allan, am eu digolledu, ac os na ddeuai pethau yn mlaen felly, ar iddynt fyned yn mlaen yn ol y fantais a roddai y gyfraith iddynt." Wedi dwy flynedd o drafodaeth aneffeithiol i geisio gan y cwmni eu digolledu, apeliwyd at y llys cyfreithiol, ac wedi wyth

mlynedd o gyfreithio â'r cwmni dyfarnodd y Barnydd Harding yn ffafr yr eglwys am $9,740.14. Ond mae y cwmni yn apelio at y Supreme Court, ac mae hwn yn dyfarnu yn erbyn yr eglwys. Mae pawb yn gwybod yr anfantais sydd gan bersonau unigol, neu eglwys wan, i gystadlu a chorfforaeth gref am gyfiawnder mewn llys barn, ac felly profodd yn yr amgylchiad hwn.

Erbyn i'r drafodaeth hon ddyfod i derfyniad, yr oedd dyled yr eglwys, rhwng traul yr adgyweiriad, costau y gyfraith, a llogau yr arian, yn agos i $13,000. Yn y cyfyngder hwn mae yn anfon llythyr at y Cyfarfod Dosbarth yn egluro ei sefyllfa, ac yn dymuno cefnogaeth y Cyfarfod i apelio am gydymdeimlad y Dosbarth, a chaniatawyd eu cais yn unfrydol. Hefyd, mae y Gymanfa a gynaliwyd yn 1881, yn datgan ei chydymdeimlad yn gyffelyb â'r eglwys yn ei helbul. Oblegid yr amgylchiadau uchod, yr oedd y blynyddoedd rhwng 1874 ac 1880 yn gyfwng caled yn hanes yr eglwys hon. Ymddengys nad oedd yr eglwys ar y cyntaf yn gwneyd un ymdrech i dalu y ddyled, am eu bod yn dysgwyl y buasent yn cario y gyfraith ar y Cwmpeini; ond wedi i'r Uchaflys ddyfarnu yn ei herbyn, mae y baich i gyd yn disgyn arni, a'i dyled yn fwy nag oedd gwerth y capel ar y pryd. Felly yr oedd ei sefyllfa yn achos o ofid dwfn i'r rhai oedd yn meddwl am enw yr Arglwydd, rhag tynu gwarth arno, a cholledu y bobl oedd wedi rhoddi benthyg arian i'r eglwys; ac yr oedd yn ymddangos yn ddiolwg am eu cael yn ol. Yn yr adeg hon etholwyd Mr. Rees Morgan yn un o swyddogion yr eglwys, a hefyd yn un o'r ymddiriedolwyr, ac yn yr ail flwyddyn dewiswyd ef yn Llywydd y Bwrdd, ac mae y cynlluniau a fabwysiadodd yr eglwys i ddyfod allan o'r ddyled, yn ddyledus i'w ymdrechion ef, mewn undeb a'i gyd-swyddogion. Wedi gweled i fewn i fanylion gweithrediadau y Bwrdd, mae Mr. Morgan yn dyfod i ddeall mai yr arfer oedd, pan fuasai un parti yn galw am eu harian, oedd myned i fenthyca at barti arall i dalu y cyntaf, ac addaw mwy o log nag oedd y gyfraith yn ganiatau, hyd 10 ac 11 y cant, a bod eisieu diwygio yr arferiad

hwn. Gwelwyd hefyd fod angen trefnu llyfr y cyfrifon, a dewiswyd olrheinwyr i'r perwyl hwn, y rhai fuont am o chwech i wyth noswaith gyda'r gorchwyl, ac wedi methu, rhoddwyd y llyfr i law cyfreithwr, Mr. W. Gaylord Thomas, yr hwn wedi cryn lawer o drafferth, a osododd y cyfrifon mewn trefn.

Wedi dwyn hyn oddiamgylch, mabwysiadwyd y mesurau canlynol: (a) Troi y ddyled yn erbyn yr addoldy yn lle yn erbyn yr ymddiriedolwyr, yn ol yr hen arfer, a rhoddi mortgage i bob un, gan osod y cyntaf a roddodd yr arian, yn gyntaf yn ei hawl, ac felly hyd yr olaf—19 mewn rhifedi. Cafodd y cynllun wrthwynebiad y rhai oedd yn cael llog uchel, am mai 6 y cant oedd y cyfreithwr wedi ei roddi i lawr yn y mortgage. Gwnaed ymosodiad ar y Llywydd, ac ofnwyd y buasai rhai o'r gofynwyr yn gwerthu y capel, ac yn gadael eraill oedd yn weddwon ac amddifaid yn ol o'u harian. Yn y diwedd maent yn boddloni i'r cynllun, ac yr oedd y mesur hwn yn lleihau y ddyled yn agos i $2,000. (b) Codi casgliad cyffredinol ar bob aelod o'r eglwys, a'u dwyn i deimlo eu cyfrifoldeb, mai hwy ddylasai fod benaf dan y baich. Gwrthwynebwyd y mesur hwn gan un o swyddogion yr eglwys, ond wedi cael ail ystyriaeth arno mabwysiadwyd y cynllun, a chafwyd addewidion am $1,500, y rhai a dalwyd yn bur lwyr. (c) Nodi casglydd i fyned allan i'r wlad oddiamgylch. Disgynodd hyny i ran Mr. Morgan ei hun; ac yn gymaint ag fod y Cyfarfod Dosbarth a'r Gymanfa wedi caniatau, aeth allan trwy ddyffrynoedd y Lackawanna a'r Wyoming, a cherddodd trwy 32 o lofeydd, o Carbondale i Nanticoke, yr hyn yn ddiau oedd yn llafur mawr, a chasglodd swm da o arian. (d) Dechreu talu y rhai olaf ar y mortgage yn gyntaf. Yr oedd cryn wrthwynebrwydd i'r mesur ar y cyntaf, ond mae ei resymoldeb yn dra eglur, ni a dybiwn; oblegid nid oedd gan y rhai hyny, mewn gwirionedd, ddiogelwch am eu harian. Heblaw hyny, yr oedd diogelwch y rhai cyntaf yn cynyddu. Cynllun Mr. Morgan oedd talu yr hawl, a gofyn iddynt daflu y llog yn ol, a'i gyfrif yn addewidion at y capel, ac yr oedd y swm a gafwyd felly yn $600.

Ond yr oedd y baich yn drwm eto, ac yn rhy drwm heb gael cynorthwy o'r tu allan i gylch y Dosbarth a'r Gymanfa. Felly, ar sail cymeradwyaeth y Gymanfa, maent yn anfon cyfarchiad (yr hwn a welir yn y "Cyfaill" am Mai, 1881), at y Cymry trwy y wlad, i ofyn am eu haelfrydedd Cristionogol er eu cynorthwyo yn y cyfyngder presenol; a'u bod wedi awdurdodi Mri. James R. James a Rees Morgan i gasglu a derbyn cyfraniadau at yr achos hwn. Bu Mr. Morgan allan trwy fisoedd Mawrth, Ebrill, Mai, Mehefin, Gorphenaf, Awst, a rhan o Medi y flwyddyn uchod. Ond mae yn debyg ei fod yn teimlo y gorchwyl yn rhy drwm a thrafferthus iddo ef, felly mae yn penderfynu rhoddi y gwaith i fyny ac ymadael o'r lle. Yr oedd sefyllfa yr achos yn yr adeg hon fel y canlyn:

| | |
|---|---|
| Oddiwrth gyfnewidiad yn y llogau ........ | $2,000.00 |
| Casgliad yr Eglwys ..................... | 1,500.00 |
| Casgliad Mr. Morgan ...... ...... ........ | 2,035.77 |
| | $5,535.77 |

Yr oedd swm y ddyled, bellach, wedi ei thynu i lawr i $6,400, fel yr oedd y gofynwyr oedd yn weddill yn ddiogel am eu heiddo, yr hyn oedd yn nod gan Mr. Morgan wrth gychwyn. Gadawodd hefyd, mewn addewidion, ar ei lyfrau i'w olynydd, $3,058.93.

Yn Nghymanfa mis Hydref mae eglwys Hyde Park yn cynyg Mr. W. D. Davies fel un cymwys i fod yn olynydd i Mr. Morgan, fel casglydd dros yr eglwys, ac mae y Gymanfa yn ei gymeradwyo, ac yn awdurdodi yr Ysgrifenydd i roddi llythyr iddo yn enw y Gymanfa.

Wedi casglu yr addewidion yn amgylchoedd cartref, cychwynodd Mr. Davies trwy y gwahanol sefydliadau Cymreig, gan apelio at Gymry, a Methodistiaid yn arbenig, am gynorthwy i'r eglwys hon. Yn ol ei adroddiad cyhoeddedig, casglodd yn Nhalaethau—

| | |
|---|---|
| New York | $ 744.02 |
| Wisconsin | 935.38 |
| Minnesota ac Iowa | 315.71 |
| Pennsylvania | 866.24 |
| Ohio | 1,756.36 |
| Cyfanswm | $4,617.71 |

Yr oedd yr amgylchiad yn nodedig, a'r mwyaf felly yn hanes ein Cyfundeb mae yn debyg, a dangosodd y wlad ysbryd haelfrydig, fel mae yn teilyngu ei gadw mewn coffadwriaeth. Rhwng ymdrechion yr eglwys ei hun, a'r cynorthwy a dderbyniodd oddiallan, yr oedd yr holl ddyled wedi ei thalu erbyn diwedd y flwyddyn 1886. Gwnaed adgyweiriadau ar y capel ar ol hyn, a gwnaed agoriad arno y drydedd waith, ond ni chawsom ddim manylion pwy fu yn gwasanaethu. Yr oedd y draul tua $2,000.

Yn 1890 neu '91 newidiwyd y dull o'i gynesu, yr hyn a gostiodd tua $900. Oddieithr y swm hwn, mae yn awr yn rhydd o ddyled. Gwelir oddiwrth yr uchod fod y capel hwn wedi costio yn ddrud iawn, a mwy o lawer nag ydyw ei wir werth yn bresenol.

Yr Eglwys a'r Weinidogaeth.—Fel yr ydym wedi sylwi, y Parch. Dr. Davies fu yn gofalu am yr eglwys hon, mewn undeb a Bellevue, o 1863 hyd ddiwedd 1867. Yn nechreu 1868 daeth y Parch. M. A. Ellis yma, ond blwyddyn barhaodd yr undeb â Bellevue, am fod yr eglwys yn galw am fwy o bregethu nag unwaith y Sabboth, felly mae Mr. Ellis yn cyfyngu ei lafur i'r eglwys hon yn unig hyd ddiwedd 1873, pan yr ymadawodd. Ebrill, 1874, mae y Parch. R. H. Evans yn dyfod yma o Johnstown, a bu yma hyd Ebrill, 1878. Yn Medi, 1882, mae y Parch. R. F .Jones yn dechreu ar ei lafur, a bu yma hyd Tachwedd, 1891. O fis Rhagfyr, 1892, hyd yn bresenol mae casglydd yr hanes hwn yn ei gwasanaethu.

Yn y cyfwng rhwng y cyfnodau hyn cyflenwid yr eglwys â gweinidogaeth gan frodyr oedd yn byw yn y Dosbarth, ac

eraill. Y cyfnod mwyaf llwyddianus yn ei hanes oedd y tymor y bu Mr. Ellis yma, fel y gwelir yn ngoleuni yr adroddiad canlynol: Rhifai yr eglwys ddechreu 1868 51 o aelodau, a'r Ysgol 50; yn mhen y flwyddyn drachefn rhifai 68 o aelodau, a'r Ysgol 100; yn nechreu 1870, rhifai yr eglwys 120, a'r Ysgol 210; Band of Hope 238. Yr oedd hwn wedi ei gasglu yn benaf trwy lafur Mr. Ellis a'i wraig.

Yma y dechreuodd y Parch. John Irlwyn Hughes bregethu, a derbyniwyd ef i undeb a'r Dosbarth yn 1872. Symudodd oddiyma i Johnstown, ac oddiyno i'r Gorllewin, lle mae yn gweinidogaethu gyda'r Presbyteriaid. Bachgen a fagwyd yn yr eglwys hon ydyw y Parch. John Lewis, sydd yn genadwr gan yr American Board yn Ynysoedd Sandwich. Mae ei dad a'i fam yn aelodau yma yn awr. Yma hefyd y magwyd y Parch. Benjamin Morgans, mab y Parch. W. E. Morgans, a chyda'r Presbyteriaid mae yntau yn gweinidogaethu. Gwelir fod traul fawr, a gwaith mawr wedi ei gymeryd i gadw yr achos hwn i fyny, ac nis gallwn lai na gofyn, A ddarfu i'r eglwys hon sylweddoli amcanion a dysgwyliadau y rhai a'i cychwynodd? Mae sefyllfa yr addoldy yn un o'r rhai mwyaf dymunol a manteisiol; ar yr un pryd ni allwn lai na synied y dylasai fod gan y Methodistiaid eglwys gryfach yn y lle hwn nag mae hon wedi bod. Paham nad ydyw felly? Nis gallwn ateb. Dichon fod rhywbeth mewn amgylchiadau yn rhwystr i'w llwyddiant, nad ydym yn gwybod am dano. Mae llawer o blant a fagwyd yma wedi eu colli o'r eglwys hon, am nad oeddynt yn deall Cymraeg, mewn blynyddoedd a aethant heibio. Mae yr adeg i ddysgwyl llawer o lwyddiant arno trwy gyfrwng yr iaith Gymraeg wedi myned heibio yn sicr, oblegid mae ymfudiaeth wedi darfod, ac amgylchiadau presenol yn gwasgu ein cenedl o'r gweithfeydd, fel nad yw eu parhad yma ond cwestiwn o amser byr.

### VII.—Pittston.

Yn yr amser cyntaf, yr oedd y lle hwn yn cael ei adwaen wrth yr enw Pittston Ferry. O ran safle, mae tua haner y

ffordd rhwng Wilkesbarre a Scranton, lle mae afon y Susquehanna wedi tori ei ffordd trwy y mynydd i ddyffryn y Wyoming. Y sylw cyntaf a wneir o'r lle yn nghofnodion Methodistaidd ydyw yn nglyn a'r Gymanfa a gynaliwyd yn mis Tachwedd, 1855. Heblaw y brodyr cartrefol, yr oedd yn bresenol yn hono y Parchn. Howell Powell, Cincinnati, O.; Thos. T. Evans, Floyd, N. Y.; Thos. Williams, Collinsville, N. Y., a John V. Hughes, Gilbertsville; a chynaliwyd rhyw gyfran o'r moddion cyhoeddus yn y lle uchod. Pa bryd, na chan bwy, y dechreuwyd cynal moddion Cymreig yn y lle, na phwy fu yn sylfaenu achos Methodistaidd yno, nid oes genym hanes na gwybodaeth, ond yn unig y crybwylliad uchod yn nghofnodion y Gymanfa. Yn y Cyfarfod Dosbarth gynaliwyd yn Carbondale, Chwefror 10, 1856, mae un o ddiaconiaid Scranton (Mr. John J. Davies, tebygol) yn galw sylw y Cyfarfod at y rhagolygon addawol am achos yn Pittston; ac anfonwyd y Parch. John R. Williams a Mr. Evan D. Evans yno i gorffori eglwys, yr hyn a wnaed, Chwefror 15, 1856. Clywsom fod y rhagolygon yn dra addawol ar gychwyniad yr achos, ac mae yn debyg mai felly yr oedd y brodyr yn teimlo, oblegid yn fuan ar ol corffori yr eglwys maent yn myned yn nghyd ag adeiladu capel. Fel llawer man arall, ymddengys i ni eu bod wedi myned yn nghyd ag adeiladu capel helaeth a drudfawr heb fwrw y draul a allent ei orphen, nac wedi gwneyd fawr at yr achos yn eu plith eu hunain, a thrwy hyny wedi tynu trafferth a gofid ar y brodyr yn y lle, a'r Cyfarfod Dosbarth, oblegid y ddyled drom oedd fel hunllef yn eu gwasgu am flynyddoedd. Yn y Cyfarfod Dosbarth a gynaliwyd yn mis Medi y flwyddyn hono, maent yn gwneyd cais am gael myned trwy gylch y Dosbarth i gasglu at ddyled eu capel. Yn Danville, Ebrill, 1857, mae achos Pittston yn cael ei gyflwyno i sylw y Gymanfa, pryd y cymeradwywyd y penderfyniad canlynol: "Yn gymaint ag fod y brodyr yn Pittston wedi myned i draul fawr i adeiladau capel yno, y dylasent gael dyfod trwy gylch y Gymanfa i gasglu at dalu y draul, ac na byddo iddynt hwy a brodyr Minersville fyned ar draws eu

gilydd; a gobeithio y bydd i garedigion Iesu Grist ddangos cydymdeimlad â hwynt."

Yn y mis Mai canlynol yr oedd y Cyfarfod Dosbarth yn y lle, ac mae y Cyfarfod hwnw yn penodi y Parch. John Moses i fyned trwy y Dalaeth i gasglu at ddyled y capel, yn gydunol a chaniatad y Gymanfa. Tua'r un amser hefyd aeth un o'r enw Mr. David James tua'r Gorllewin i gasglu at gapel Pittston. Aeth i ddechreu i Illinois a Wisconsin, ac yn ol i New York. Dygwyddodd i ni gyfarfod ag ef ar ei daith yn Chicago, pryd yr hysbysai fod y capel wedi costio pum' mil o ddoleri, yr hyn oedd yn arian mawr y pryd hwnw. O ran yr olwg arno ymddangosai y brawd i ni yn un anghymwys at y fath orchwyl, ac annhebyg o gyraedd yr amcan.

Wedi dechreu casglu yr hanes hwn, hysbyswyd ni nad oedd yr eglwys wedi ei anfon, ond mynu myned o hono ei hun a wnaeth. Wedi myned trwy y Talaethau uchod, dychwelodd Mr. James yn ol, a chyflwynodd i'r brodyr $1,200. Wrth i ni ystyried ei anfanteision, yr oedd yn swm mawr. Ond gomeddodd y brawd roddi ei lyfrau i swyddogion yr eglwys i edrych drostynt, ac arweiniodd hyny i drafferth a gofid blin, oblegid mor ddiweddar a'r flwyddyn 1868, yn Nghyfarfod Dosbarth Medi, yr hwn a gynelid yn Plymouth, penodwyd y Parchn. Thos. J. Phillips ac E. J. Hughes i fyned i Pittston i gymodi y brawd D. James â'r eglwys. Yn y Cyfarfod dylynol yn Rhagfyr, gwnaed sylw nad oedd y pwyllgor wedi cyflawni eu gwaith, ac anogwyd hwy i wneyd hyny gyda brys. Yn Nghyfarfod Mehefin y flwyddyn ganlynol, mae y pwyllgor yn gwneyd adroddiad nad oedd ganddynt hysbysrwydd pellach i'w roddi nag oedd y Cyfarfod wedi ei gael o'r blaen, a rhyddhawyd y pwyllgor. Yn y diwedd hysbyswyd gan Mr. John P. Green, trwy y "Cyfaill," fod y brodyr yn Pittston yn teimlo yn ofidus nad allasent gydnabod y swm a dderbyniwyd o bob sefydliad Cymreig, am eu bod wedi methu perswadio Mr. James i adael iddynt weled ei gyfrifon, ond yn unig eu bod wedi derbyn y swm uchod ganddo. Cydnabyddai pawb fod Mr.

James yn wr gonest a diniwed, ac wedi cymeryd trafferth, a gwneyd aberth er mwyn yr achos, ond oblegid anwybodaeth o drefn cymdeithas, a hwyrach ystyfnigrwydd hefyd, wedi gomedd cais y brodyr.

Yn 1860 mae y Gymanfa yn y lle, a'r pryd hwnw bu sylw drachefn ar y ddyled oedd yn aros ar y capel, a phenderfynwyd fod y brodyr o'r gwahanol leoedd perthynol i gylch y Gymanfa yn gwneyd eu goreu i gasglu at yr achos, a'u hanfon i'r Trysorydd, Mr. Thos. Leyshon. Erbyn hyn mae yn amlwg fod y rhagolygon addawol oedd yno ar y cyntaf yn diflanu, a'r achos yn gwanhau; ac mae Cyfarfod Dosbarth Bellevue yn galw sylw at sefyllfa yr achos, a'i fod mewn dyryswch, oblegid y ddyled drom oedd yn aros ar y capel; a bod un o'r enw Evan Price yn bygwth rhoddi cyfraith ar y brodyr gweiniaid heb ymgyngori a'r Cyfarfod Dosbarth. Yn 1863 mae y Gymanfa yn gwneyd sylw pellach ar yr achos yn nglyn a'r ddyled, ac yn anog y cyfeillion i wneyd ymdrech adnewyddol yn eu plith eu hunain ac yn y gymydogaeth cyn myned allan eto, a phenodwyd y Parch. E. F. Jones i fod at alwad y brodyr. Yn Nghyfarfod Dosbarth Mehefin, 1870, penodwyd y Llywydd a'r Ysgrifenydd i anfon llythyr at eglwys Pittston, i anog y brodyr i ymwroli gyda'r achos. Yn Nghyfarfod Medi penodwyd pwyllgor o dri, y Parchn. Dr. Roberts, E. J. Hughes ac M. A. Ellis i fyned yno i ymgyngori a'r brodyr, a bod y Cyfarfod yn rhoddi awdurdod iddynt i drefnu pethau fel y gwelont yn oreu. Yn Nghyfarfod Rhagfyr, mae y pwyllgor yn gwneyd eu hadroddiad, a'u bod yn cynyg i'r Cyfarfod wneyd ymdrech i gael gweinidogaeth gyson yno am y flwyddyn ddyfodol beth bynag, a bod eglwysi Hyde Park, Bellevue a Wilkesbarre yn anfon eu gweinidogion yno unwaith yn y mis, a'r Genadaeth i roddi un Sabboth y mis, a'r eglwys yn y lle i wneyd y gweddill. Yn 1871 mae y Cyfarfod Dosbarth yn nodi Mri. John M. Jones, Daniel Moses a L. S. Jones i fyned yno i gynorthwyo y brodyr gyda golwg ar amgylchiadau yr achos; a'u bod i geisio gan y gofynwyr fod yn ymarhous am yr arian. Yn 1872 mae y Cyfarfod yn

anfon cenadau, y Parch. E. J. Hughes a Mr. Thos. Jenkins, Olyphant, yno, i gynorthwyo y brodyr i ddewis blaenoriaid; a gwnaethant eu hadroddiad yn y Cyfarfod dylynol fod Mri. Henry Harris a John P. Green wedi eu dewis, a derbyniwyd hwy i undeb a'r Dosbarth.

Wedi hyn nid ydym yn cael sylw pellach ar achos Pittston yn y cofnodion hyd Gyfarfod Mawrth, 1876, pan y penodwyd pwyllgor o dri, "Mri. J. T. Griffiths, Joseph Davies, a'r Parch. B. D. Davies, gyda chyflawn awdurdod i weithredu fel y barnont yn oreu." Yn Nghyfarfod Medi mae y pwyllgor yn hysbysu nad oedd dim yn derfynol wedi ei wneyd, a dymunwyd iddynt barhau dri mis yn mhellach. Ond mae Cyfarfod Rhagfyr yn penodi Mr. J. P. Green yn lle y Parch. B. D. Davies, ac yn mis Mehefin, 1877, mae y pwyllgor yn gwneyd adroddiad eu bod wrth y gorchwyl o gael charter, a'u bod yn cael cynyg wyth cant o ddoleri am y capel, ac mae y Cyfarfod hwnw yn cymeradwyo i'r pwyllgor ei werthu.

Yn Nghyfarfod Rhagfyr, 1879, darllenwyd llythyr yn gosod ger bron amgylchiadau y capel, a phenderfynwyd i awdurdodi Mri. J. P. Green a Joseph Davies, Moosic, i'w werthu. Dyma y sylw olaf ar y cofnodion am gapel Pittston. Deallasom fod yr ychydig gaed am dano wedi myned i dalu yr hyn oedd ddyledus arno, fel na chafodd y Cyfarfod Dosbarth un fantais oddiwrth ei werthiant, er y cafwyd llawer o boen a thrafferth gyda hwynt.

Am drefn a sefyllfa fewnol yr achos, nid ydym wedi cael dim oddiwrth neb, ond y nodion canlynol gan y Parch. W. D. Jenkins, Wilkesbarre. Daeth ef yno yn y flwyddyn 1863, a bu yn byw yno bum' mlynedd. Rhifai yr eglwys y pryd hwnw o 25 i 30 o gyflawn aelodau. Yr oedd yno y pryd hwnw bedwar o flaenoriaid, Mri. Thos. Leyshon, John M. Jones, David Owen a J. P. Green, a'r oll o honynt yn Fethodistiaid da, ac yn gymeriadau teilwng o'r swydd. Yr oedd Mr. Leyshon yn hynod fel dyn deallus yn yr athrawiaeth, a D. Owen yn ganwr da. Sais o waed oedd Mr. Green, wedi dysgu Cymraeg, ac yr oedd mor ffyddlon a

theyrngarol i egwyddorion a threfn yr enwad a neb. Mr. Thos. Leyshon, Ieu., oedd yn arwain y canu, ond darfu iddo ef a D. Owen golli eu bywydau yn y danchwa a gymerodd le yno yn 1871, yr hyn oedd yn golled fawr i'r achos oedd yn wan eisoes.

Yr unig un fu yn weinidog yr eglwys, fel y tybiwn, oedd y Parch. Thos. R. Jones, rhwng 1861 a 1863. Yn y flwyddyn 1867 cododd yno ddau frawd i bregethu, sef Isaac Blackwell a William D. Jenkins. Yn mis Tachwedd, 1865, cynaliwyd Cymanfa yno, pryd yr ordeiniwyd y brodyr William Harrison, Columbia y pryd hwnw, a W. J. Lewis, yn awr o Carbondale, a Benjamin D. Davies, yn awr o Oriskany, N. Y. Gwasanaethwyd yn y Gymanfa hono gan y Parchn. E. J. Hughes, John Davies, Thos. J. Phillips, Joseph E. Davies, David Charles Evans a Dr. Roberts, New York. Dywed Mr. Jenkins yn mhellach, "Deallwyf i'r achos Methodistaidd yn Pittston fod yn dra llewyrchus am rai blynyddoedd cyn i mi fyned yno, ond gwan iawn ydoedd yn ystod fy arosiad i yno. Clywais lawer o son am Gymanfa a gynaliwyd yno, ac am yr oedfa fyth-gofiadwy hono, pan y disgynodd cawod o wlaw graslawn ar y gynulleidfa, pan oedd yr enwog Dr. Rowlands yn pregethu ar y geiriau, 'Y mae afon a'i ffrydiau a lawenhant ddinas Duw.' Dywedid fod yr holl gynulleidfa wrth wrando am y ffrydiau, fel pe yn nofio yn y modd mwyaf dedwydd ynddynt ar y pryd. Bydd genyf adgofion melus am lawer o bregethau gwerthfawr a wrandewais, a llawer awr ddedwydd a dreuliais yn nghymdeithas y rhai oedd yn ofni yr Arglwydd yno." Mae yr achos wedi darfod er's blynyddoedd bellach, ond mae yr hen gapel yn sefyll, ac yn cael ei ddefnyddio i bwrpas nas bwriadwyd ef ar y cyntaf.

## VIII.—Wilkesbarre

Ydyw prif ddinas Luzerne County. Sylfaenwyd hi yn y flwyddyn 1772, yn agos i ganol y Wyoming Valley, ar ochr ddwyreiniol afon y Susquehanna. Amgylchynir hi gan olygfeydd prydferth o bob cyfeiriad, ac mewn blynyddoedd

a aethant heibio yr oedd llawer o ddyeithriaid yn cyrchu yma i fwynhau prydferthwch y golygfeydd naturiol, a mangre y gyflafan fyth-gofiadwy yn y flwyddyn 1778. O Dalaeth Connecticut y symudodd y sefydlwyr cyntaf yma. Prynwyd y dyffryn gan gwmni o'r Dalaeth uchod gan y Delaware Indians yn 1765, ac yn 1769 daeth 40 o deuluoedd yma i gartrefu, ond erbyn cyraedd yma yr oedd cwmni o Bennsylvaniaid wedi meddianu y lle, a bu yn ymrysonfa rhyngddynt am flynyddoedd, ond cwmni Connecticut orchfygodd, ac mewn canlyniad i'r oruchafiaeth hon y sylfaenwyd y ddinas uchod.

Cafodd ei henw, Wilkes-Barre, er anrhydedd i goffadwriaeth dau ddyn yn Lloegr o'r enwau John Wilkes a Col. Barre fu yn dadleu achos y trefedigaethwyr Americanaidd yn y wlad. Dygodd y sefydlwyr arferion Lloegr Newydd gyda hwynt, ac yn mhlith pethau eraill, y drefgordd oedd yn cyflogi y gweinidog, ac yn talu ei gyflog o'r trethi cyhoeddus, yr un fath a'r ysgolfeistr a'r Barnydd. Mae Town Records Lloegr Newydd y pryd hwnw yn dangos mai dyna oedd eu harfer yno, a chadwyd at yn un arferiad yma hyd o fewn cof rhai oedd yn fyw yn o ddiweddar. Pobl uchelfrydig oedd y sefydlwyr cyntaf hyny—pobl aristocrataidd eu teimlad, a buont yn llwyddianus i drosglwyddo eu hysbryd i'w holynwyr ar eu hol. Maent yn ffurfio dosbarth ar eu penau eu hunain, coeth mewn llawer ystyr, a chyfoethog, ond maent wedi bod yn hunan-lesiol a hunangeisiol, ac wedi gwrthwynebu pob gwelliantau a dadblygiad adnoddau, am y rheswm eu bod yn dwyn tramoriaid yn gydradd a hwy fel dinaswyr. Mae yr ysbryd hwn wedi amlygu ei hun felly mewn amryw ffurf yn nghof yr ysgrifenydd, ac yn enwedig yn ei gysylltiad a'r ysgolion dyddiol, hyd nes y llwyddodd ein cydwladwr, yr Anrh. Morgan B. Williams, i gael cyfraith trwy y Ddeddfwrfa yn dwyn gwahanol ranbarthau y ddinas tan lywodraethiad yr un bwrdd cyffredinol. Er fod y mesur mor resymol, ac y gallesid meddwl na buasai neb yn ei wrthwynebu, eto cyflogodd penaduriaid y ddinas y dalent gyfreithiol oreu a feddent

i'w orchfygu. Cafodd Wilkesbarre freinlen ddinasol yn 1871, ac felly yr oedd yn hen le cyn bod son am Scranton.

Yr oedd gwaed Cymreig yn rhedeg yn ngwythienau y sefydlwyr cyntaf ddaeth yma o Connecticut, ac yr oedd llawer o honynt yn dwyn enwau Cymreig, er nad oeddynt yn siarad nac yn gwybod dim am yr iaith Gymraeg. Ond fe ddaeth Cymry Cymreig yma yn lled bell yn ol. Yr hanes cyntaf a welsom ydyw yr hyn a ganlyn: Ymddengys fod undeb Cymanfaol gan y Bedyddwyr rhwng New York a Pennsylvania, yn gystal a'r Methodistiaid, yn y blynyddoedd cyntaf. Yr oedd hono yn cael ei chynal bob yn ail flwyddyn. Yn Utica a'r cylchoedd un flwyddyn, ac yn Carbondale, Hazleton a Pottsville y flwyddyn ganlynol. Yn Mai, 1841, yr ydoedd yn y cylch hwn, ac ar eu ffordd o Carbondale i Hazleton mae y Parchn. Morris J. Williams, Trenton (adwaenem ef unwaith yn dda), a William H. Thomas, Utica, yn pregethu yn Wilkesbarre. Felly rhaid fod rhyw nifer o Gymry yma y pryd hwnw, digon i gynal oedfa. Ar y daith hon mae y brodyr yn sefydlu eglwys Fedyddiedig yn Hazleton.

Yn ddiweddarach na hyn, mae cofnodion ein Cymanfa yn 1845, yn dangos fod y Methodistiaid yn cadw eu golwg ar y lle, a bod yma eglwys ar y pryd. Dywedir wrthym gan rai mai eglwys undebol oedd hono. Ond mae Cymanfa Carbondale, y flwyddyn uchod, yn gwneyd sylw o lythyr a ddaeth i'r Gymanfa o'r eglwys yno, ac yn penodi y Parch. John Davies a'r brawd Daniel Scurry i fyned yno fel cenadon dros y Gymanfa, er eu cynorthwyo i ddewis blaenoriaid, a derbyniwyd hefyd eu cais am ychwanegu nifer y gweinidogion yn y Dosbarth, gan addaw gwneyd sylw o'r cais yn y Gymanfa ddylynol. Oblegid hyn nis gallwn osgoi y casgliad, os eglwys undebol oedd hi, fod Methodistiaeth yn elfen lywodraethol ynddi, onide ni buasai y Gymanfa yn gweithredu fel y gwnaeth. Nid ydym yn meddwl chwaith fod aelodau yr eglwys hon yn dibynu ar y felin haiarn am waith. Daeth y diweddar John R. Williams i'r wlad yn 1844, ac aeth yn union i Pittsburg, ond anfonwyd

am dano i Danville yn agos i ddiwedd yr un flwyddyn neu ddechreu 1845; ac yn y flwyddyn hono mae yn symud i Wilkesbarre; ond o ddiffyg cefnogaeth aristocratiaid Wilkesbarre, a'u gwrthwynebrwydd i'r anturiaeth, mae y cwmni yn symud y gwaith i Scranton, ac yr oedd Mr. Williams wedi symud yno hefyd erbyn diwedd 1846. Ond mae cofnodion y Gymanfa yn dangos fod eglwys yma pan ddaeth Mr. Williams i'r lle, ac yr oedd eglwys yma wedi iddo ef ymadael. Yn 1846 mae y Parch. Thos. R. Jones yn myned o Carbondale yno yn weinidog, ac fe fu yno hyd 1849. Yn y lle hwn, ac yn y flwyddyn hon, y derbyniwyd Mrs. John T. Griffiths yn gyflawn aelod. Cynalient y moddion mewn ysgoldy, tebygol, yn agos i'r lle yr oedd neu y mae y Farmers' Hotel yn sefyll. Ond darfod wnaeth y cynyg hwnw at sefydlu achos Cymreig yn Wilkesbarre, a hwyrach aml i gynyg ar ei ol, fel na allwyd gwneyd dim yn effeithiol hyd pan sefydlwyd yr achos Methodistaidd sydd yno yn bresenol. Hwn yw y cyntaf o ran amser a threfn, oblegid yr oedd yr Annibynwyr yn cydaddoli gyda hwynt ar y cychwyn am ryw dymor. Nodwedd hynod i ni yn hanes y ddau ddyffryn hyn, ydyw fod y sefydlwyr cyntaf wedi dyfod yma o wlad Cynulleidfaoliaeth, ac eto fod Cynulleidfaoliaeth wedi methu rhoddi ei throed i lawr yma yn mysg yr Americaniaid hyd nes daeth Annibynwyr Cymreig yma; ac felly mae yn enill tir trwy gyfrwng y genedl Gymreig. Mae yr American Home Mission yn gefnogol i gychwyn achosion Seisnig i'r enwad hwn, gan ddysgwyl trwy hyny gael gafael ar yr elfen Americanaidd; pa un a lwydda y cynllun, amser a ddengys. Gan mai mwnwyr ydyw mwyafrif y genedl Gymreig, mae argoelion yr adeg bresenol yn dangos y byddant wedi eu gwasgu allan o'r gweithfeydd gan y tramoriaid sydd yn myned a'r gwaith oddiarnynt cyn hir.

Cychwyniad yr Achos Methodistaidd.—Cyn diwedd y flwyddyn 1863 nid oedd yn yr ardal hon ond ychydig o weithiau glo gan unigolion, a'r rhan fwyaf o'r rhai hyny

yn fychain ac yn anfanteisiol i lawer o Gymry gael gwaith ynddynt. Ond ar yr adeg hon cyfunwyd amryw o'r gweithfeydd, trwy ymdrech Mr. Charles Parish, dan yr enw "The Wilkesbarre Consolidated Coal Co.," a Randolph, New York, yn Llywydd y Cwmni, am ei fod wedi prynu allan rai o'r unigolion. Hefyd, penderfynodd y cwmni hwn wneyd ymdrech i ddadblygu adnoddau y lle, ac i gael gwell cymdeithas o ddynion i'r ardal (am mai dim ond Gwyddelod oedd yn meddianu y lle, ac i raddau yn mynu eu ffordd eu hunain), a chan fod Mr. John T. Griffiths yn oruchwyliwr ar un o'r gweithfeydd eisoes (yr Empire), apwyntiwyd ef yn oruchwyliwr mewnol dros y cyfan, gyda'r cyfarwyddyd ei fod i wneyd ymdrech i gael Cymry i'r ardal, ac y byddai iddo gael cefnogaeth y cwmni i hyny. Trwy drefniant a chymellion Mr. Griffiths, cyflogwyd Lewis S. Jones yn oruchwyliwr ar ranau o'r gweithiau oedd wedi dyfod i feddiant y cwmni, y rhai a fyddent yn fanteisiol i roddi agoriadau i weithwyr Cymreig. Dyma yr amgylchiadau fu yn gymelliad i fwnwyr Cymreig ymfudo a sefydlu yn Wilkesbarre.

Gan fod Mr. Jones wedi dechreu pregethu yn eglwys Bellevue, o'r hon hefyd yr oedd John T. Griffiths wedi bod yn aelod ac yn flaenor gweithgar, a phob amser yn teimlo dros achos crefydd, naturiol oedd ymholi ac ymgyngori pa fodd yr oeddynt yn cynllunio gwneyd er cael achos crefyddol llewyrchus yn yr ardal hon. Nid oedd pethau yn ymddangos yn ffafriol iawn, am nad oedd rhagolygon y buasai cynydd yn yr achos cymysgedig oedd yn cael ei gynal yn ysgoldy Newtown, nac yn yr ardal hono i Gymry ymsefydlu ynddi. Felly trwy gyd-ddealltwriaeth rhwng Lewis S. Jones, J. T. Griffiths, D. L. Richards a Robert Wright, yr hwn oedd wedi bod yn flaenor gyda'r Methodistiaid yn St. Clair, penderfynwyd cychwyn yr achos hwn; ac ar foreu Sabboth, wedi i Mr. Jones bregethu yn ysgoldy Newtown, amlygodd yr amcan mewn bwriad i'r brodyr a'r chwiorydd yno, gan eu cymell i gyduno er cynal yr achos

yn ysgoldy yr Empire. Ond cynyrfodd hyny y gwrthwynebiad mwyaf, gan gyhoeddi anathema uwch eu penau, gan amlygu eu bod fel Paul yn ynfydu wrth feddwl am y fath beth. Ond symud a wnaed, a hyny gyda phenderfyniad diysgog, ac heb feddwl troi yn ol. Er fod y rhwystrau a'r anfanteision yn fawrion, penderfynwyd eu gorchfygu. Mawrth 27, 1864, y cynaliwyd y cyfarfodydd cyntaf er cychwyn eglwys bresenol y Methodistiaid Calfinaidd yn Wilkesbarre, trwy gynal Ysgol Sabbothol am ddau yn nhy Mr. Lewis S. Jones, a chyfarfod gweddi am chwech yn yr hwyr yn ysgoldy yr Empire. Cymerwyd rhan yn y cyfarfod gan y brodyr L. S. Jones a Robert Wright, am mai hwy oedd yr unig ddau frawd a ystyrient eu hunain yn aelodau cyflawn a rheolaidd ar y pryd. Yr oedd yn bresenol ac yn gefnogol i'r symudiad, 13, heblaw ychydig blant—Mri. Robert Wright a'i wraig, Lewis S. Jones a Mrs. Jones, John T. Griffiths a Mrs. Griffiths, David L. Richards, Titus Francis a Mrs. Francis, Mrs. William Evans, Daniel Evans, ac Edward Powell, y ddau olaf newydd ddyfod o Gymru. Ar ddiwedd y cyfarfod bu ymddyddan rhydd a brawdol pa fodd i ymlwybro yn mlaen yn y dyfodol, yn un peth am fod eu nifer mor fychan, a hefyd am nad oedd un eglwys berthynol i'r enwad o fewn cyfleusdra i estyn llaw o gymorth iddynt. Ond penderfynwyd myned yn mlaen a chynal moddion crefyddol yn rheolaidd ar y Sabboth, a chael pregethu os byddai modd; ac mae y penderfyniad hwnw wedi cael ei gario allan hyd yr amser presenol, fel nad oes un eglwys yn y Dosbarth wedi gwneyd mwy o ymdrech. ac wedi llwyddo i gael pregethu cyson na'r eglwys hon, am y credai y rhai oedd wrth wraidd y symudiad mai trwy bregethu mae yr eglwys i gael ei hadeiladu, a'r byd ei achub. A chan nad allent y pryd hwn gael yr ysgoldy am ddau y prydnawn, am fod y Presbyteriaid er's ychydig fisoedd wedi dechreu cadw ysgol yno, felly maent yn trefnu i gynal eu hysgol am ddeg y boreu, a'r pregethu y nos, oddieithr dan amgylchiadau neillduol. Pan aethpwyd i geisio cael yr ysgoldy er cynal moddion crefyddol Cymreig, cafwyd nad

oedd yn beth mor hawdd, am mai Gwyddelod Pabyddol oedd y Bwrdd Ysgol i gyd ond un, a hwnw yn anffafriol i bethau crefyddol; ac oni buasai i rai Cymry gael cefnogaeth a dylanwad Mr. Charles Parish, nis cawsent y lle, er gwaeled oedd, a gwnelai y Bwrdd wedi hyny bob peth a allent er gwneyd y lle yn anfanteisiol i'r Cymry. Ymddangosai yn rhyfedd i lawer yn bresenol i weled y pregethwr yn myned a Beibl mewn un llaw, a llusern (lamp) yn y llall, a brawd arall yn dyfod a llusern o gyfeiriad gwahanol, ac un arall yn cludo baich o goed, os yn y gauaf, i gael cynesu y lle; ac ar rai troion, y pregethwr a'i wraig yn gorfod gofalu am wneyd yr oll o'r pethau hyn cyn dechreu pregethu; eto dyma anghyfleusderau y rhai fu yn cychwyn yr eglwys hon yn ysgoldy yr Empire yn 1864. Ond yr oedd eu sel yn cydfyned a'u penderfyniad, fel nad oeddynt yn meddwl am y rhwystrau a'r tramgwyddiadau oedd ar eu ffordd. Yr oedd cariad at yr achos yn gwneyd y cwbl yn esmwyth iddynt. Cododd cwmwl ar ol cwmwl, ac ambell i ystorm enbyd, rhai oddiallan, a llawer un oddifewn, eto ni lwfrhawyd, ac nid edrychwyd yn ol fel gwraig Lot. Cawsant eu gwrthwynebu a'u sarhau gan rai gweinidogion mewn undeb a'r Cyfarfod Dosbarth, eto ni ddigalonwyd nes dwyn barn i fuddugoliaeth; ac erbyn hyn mae pawb yn teimlo yn falch o'r symudiad, ond ychydig all gydymdeimlo a'r rhai a gychwynodd yr achos, gan ddwyn pwys y dydd a'i wres.

Ei Gynydd.—(a) O'r dechreuad hyd amser corfforiad yr eglwys.

Dechreuwyd, fel y gwelir, Mawrth 27, 1864, trwy gadw ysgol am ddau, a chyfarfod gweddi yn yr hwyr. Ebrill 3ydd, ysgol am ddeg, a'r brawd L. S. Jones yn pregethu am 6 yn yr hwyr, ac ychwanegiad o ddau at y gynulleidfa.

Ebrill y 9fed yr oedd Cyfarfod Dosbarth yn cael ei gynal yn Scranton, ac aeth cenadau yno i hysbysu y Cyfarfod eu bod wedi dechreu achos Methodistaidd yn Wilkesbarre, gan ddysgwyl cael cymeradwyaeth a chefnogaeth yn y gwaith;

ond mae rhai o'r gweinidogion yn dangos anghymeradwyaeth i'r symudiad, am nad oeddynt wedi ymgyngori a'r Cyfarfod Dosbarth cyn dechreu. Penderfynodd y Cyfarfod anfon y Parch. John R. Williams a Mr. Walter Phillips i ymweled a'r brodyr yn Wilkesbarre, yr byn a wnaethant Ebrill 24. Pregethodd Mr. Williams ddwywaith iddynt, ac mae ef a Mr. Phillips yn anog y frawdoliaeth i ystyried eu hunain mewn undeb, ac o dan nawdd eglwys Bellevue. Erbyn hyn yr oedd dau yn ychwaneg o aelodau cyflawn wedi dyfod i'r lle; sef Mri. Stephen Jones a Morgan T. Jones.

Mai 3ydd, mae y Parch. Joseph E. Davies yn ymweled a'r lle i bregethu yno. Yr oedd ef ar y pryd yn weinidog eglwys Bellevue, ac am mai oddiyno yr oedd y rhai a gychwynodd yr achos wedi symud, yr oedd yn hawlio Wilkesbarre fel cangen o eglwys Bellevue; ond ni theimlai y brodyr yn barod i gydsynio a'r cais, am ei bod yn rhy anfanteisiol, o herwydd pellder ffordd, fel nad allent fod o unrhyw fantais na chynorthwy i'r achos ar y pryd.

Mai 15fed yr oedd y Parch. W. J. Lewis yn pregethu yno y waith gyntaf. Yr oedd yntau bellach wedi symud i fyw i'r lle, ac yr oedd Mr. David Moses wedi symud yno erbyn hyn hefyd, fel yr oedd cynydd yr achos i'w weled yn amlwg.

Mehefin 12fed, gweinyddwyd ordinhad swper yr Arglwydd yno am y tro cyntaf gan y Parch. Joseph E. Davies. Yn nechreu Gorphenaf daeth pump o frodyr, gyda llythyrau eglwysig ganddynt, o Sir Aberteifi, yn ychwanegol i'r lle, sef Richard Roderick, James Roderick, John C. Jones, John W. Jones a'i wraig.

Gorphenaf 19eg ymwelwyd a'r lle gan y Parchn. Edward J. Hughes, St. Clair, a Howell Powell, Cincinnati.

Awst 28 dechreuwyd cadw ysgol am ddau, a phregethu am ddeg a chwech.

Hydref 14eg, yn Nghyfarfod Dosbarth Hyde Park, penodwyd y Parch. Joseph E. Davies a blaenor i fyned yno i gorffori yr eglwys, ac wele yn canlyn enwau y rhai oedd yn gwneyd i fyny y frawdoliaeth y pryd hyn: Lewis S. Jones a Mrs. Jones, Robert Wright a Mrs. Wright, Misses Susanah

ac Anna Wright, Stephen Jones, Morgan T. Jones, William J. Lewis a Mrs. Lewis, David Moses a Mrs. Moses, Mrs. Mary Lewis, Richard Roderick, James Roderick, John C. Jones, John W. Jones a Mrs. Jones, Thomas Lewis a Mrs. Lewis, Mrs. William Jones, Daniel Evans, John T. Griffiths a David L. Richards. Oblegid rhyw ychydig o gamddealltwriaeth rhwng Mr. Davies a'r brodyr oedd wedi cychwyn yr achos, ni orphenwyd y gwaith y pryd hwnw, a gadawyd pob peth fel o'r blaen, dan ofal y brodyr Lewis S. Jones a Robert Wright, hyd y Cyfarfod Dosbarth canlynol. Wedi i'r ddwy ochr wneyd eu hadroddiad, penderfynodd y Cyfarfod dderbyn yr eglwys i undeb a'r Dosbarth, ac anfon cenadau yno i gynorthwyo yr eglwys i ddewis blaenoriaid.

Ar ddiwedd y flwyddyn 1864 yr oedd rhif yr eglwys yn 31, oblegid yr oedd chwech yn ychwanegol wedi dyfod yno yn misoedd Tachwedd a Rhagfyr. Rhif yr ysgol ar ddiwedd y flwyddyn oedd 28; Lewis S. Jones yn arolygwr; J. T. Griffiths, Richard Roderick, James Roderick, Stephen Jones, a J. W. Jones yn athrawon. Swm eu casgliadau at bob achos yn yr un amser oedd $81.21. Mae y bras-olwg uchod yn dangos fod sel a gweithgarwch, yn gystal a phenderfyniad, yn nodweddu y brodyr a gychwynodd yr achos hwn, ag oedd yn argoeli dyfodol llwyddianus o'i flaen.

(b) O ddechreu 1865 hyd alwad y Parch. E. J. Hughes.

Mae yr eglwys yn awr wedi ei chorffori, ac mewn undeb a'r Cyfarfod Dosbarth, ac mewn trefn Fethodistaidd i wneyd gwaith.

Ionawr 16eg, 1865, y cynaliwyd y cyfarfod dirwestol cyntaf dan nawdd yr eglwys.

Mawrth 16eg dechreuwyd cynal cyfarfod neillduol i blant yr eglwys, er eu haddygu yn egwyddorion ein crefydd.

Mai 5ed dechreuwyd cyfarfod egwyddorol, gan gymeryd "Athrawiaeth yr Iawn" gan Dr. Edwards yn faes llafur ac yn safon eu duwinyddiaeth.

Mai 21ain mae y Parch. J. R. Williams a Mr. Walter Phillips yn cynorthwyo yr eglwys i ddewis blaenoriaid, pan yr etholwyd Mri. John T. Griffiths a Robert Wright, ond mae

Mr. Griffiths yn gwrthod sefyll fel blaenor, ac ar yr un pryd yn addaw gwneyd a allai gyda'r achos fel o'r blaen, ac felly aeth pob peth yn mlaen am dymor yn ddymunol, hyd nes cododd rhyw anghydfod rhwng un o'r aelodau a Robert Wright, y blaenor, fel y bu raid cael cenadau o'r Cyfarfod Dosbarth i'w heddychu, sef y Parch. J. R. Williams, Mri. Walter Phillips a Thos. Leyshon.

Hydref 29ain mae y Parch. E. J. Hughes yn pregethu yno. Er nad oedd yr eglwys ond bechan mewn nifer, nac mewn un modd yn gyfoethog, yr oedd wedi penderfynu cael gweinidog i ofalu am dani, ac i bregethu ar bob Sabboth; ac felly, Medi 10fed, cymerwyd pleidlais yr eglwys, yn agos i unfrydol yn rhoddi galwad i Mr. Hughes i ddyfod i'w bugeilio. Ar yr adeg uchod daeth yntau yno, fel rhagbrawf ei fod yn derbyn galwad, ac yn cydsynio a thelerau yr eglwys i'w gwasanaethu, am $700 fel cyflog, a'i fod yn rhydd i fyned i'r Cymanfaoedd a'r Cyfarfodydd Dosbarth. I gwblhau gwaith y flwyddyn hon, dodwn yma enwau yr aelodau oedd yn estyn yr alwad i Mr. Hughes, yn nghyd a'u cyfraniadau at y weinidogaeth:

Robert Wright, $100; Mrs. Wright, $50; Miss Ann Wright, $50; Lewis S. Jones, $3.00; Mrs. Jones, 50c.; Stephen Jones, $3.00; John T. Griffiths, $5.00; David Moses, $1.00; Mrs. Moses, $1.00; Richard Roderick, $2.00; Mrs. R. Roderick, $1.00; James Roderick, $5.00; John C. Jones, $2.00; Mrs. Jones, $1.00; John W. Jones, $2.00; Mrs. Jones, $1.00; Thos. Lewis, $2.00; Mrs. Lewis, $1.00; Mrs. William Jones, $2.00; David L. Richards, $8.00; David Smith, $1.00; Mrs. Smith, $1.00; John Davies, $4.00; Mrs. Evans, $1.00; John Thomas, ——; William M. Thomas, $3.00; Robert Davies, ——; David Thomas, ——; Mrs. D. Thomas, ——; Jonah Lewis, $2.00; Mrs. J. Lewis, $1.00; Thos. Phillips, $2.00; Joshua T. Davies, $3.00; Ben. Williams, $2.00; Edward Edwards, $2.00; Mrs. E. Edwards, ——; Robert Jones, Sophia Edwards, newydd ddyfod; Thos. Lewis, $1.00; David Jenkins, $1.00; George Roderick, Edward Roderick, David Jones, Mrs. D. Jones, newydd ddyfod.

Ddiwedd y flwyddyn nid oedd rhifedi yr eglwys ond 37, am fod rhai wedi ymadael, a rhifedi yr ysgol oedd 57; ond yr oedd yn eu mysg deimlad byw am weled yr achos yn llwyddo

Symudiadau Cyda Golwg ar Adeiladu Capel, Adgyweirio, &c.—Ddechreu y flwyddyn 1866 mae Mr. Hughes yn dechreu ar ei lafur fel gweinidog, ac fel eglwys ieuanc, gynyddol, mae amryw symudiadau angenrheidiol i lwyddiant yr ach os yn ei galw i symud yn mlaen. Ebrill 15, etholwyd John T. Griffiths, Richard Roderick a Stephen Jones yn flaenoriaid. ac ymgymerasant a'u gwaith yn rheolaidd trwy gadarnhad y Cyfarfod Dosbarth ar y 29ain o'r un mis. Yr oeddynt yn flaenoriaid mewn gwaith er y dechreuad, ac yn ffyddlon dan bob amgylchiadau, fel mai arnynt hwy a'r brawd Lewis S. Jones yr oedd pwys y gwaith yn gorphwys, er nad oeddynt yn aelodau rheolaidd o'r Cyfarfod Dosbarth. Bellach mae pob peth yn barod, gellid meddwl, i'r eglwys gychwyn ar ei gwaith. Yr oedd yr un ysbryd ag a fu yn benderfynol i gychwyn yr achos, yn benderfynol hefyd fod yn rhaid cael capel cyfleus i addoli ynddo, a hwnw i fod yn addurn i'r ardal.

Awst 9, 1864, codwyd y mater i sylw cyhoeddus yn y gyfeillach eglwysig, er cael teimlad y frawdoliaeth ar y mater yno. Medi 15fed, ar ol y cyfarfod gweddi, penodwyd ac etholwyd John T. Griffiths, D. L. Richards a Lewis S. Jones yn bwyllgor adeiladu, ac i weithredu fel Trustees, gan eu hawdurdodi i chwilio am le manteisiol, a pharotoi cynllun, a darparu ffordd i gael arian er dwyn y gwaith yn mlaen. Gwnaeth y pwyllgor adroddiad yn bur fuan eu bod wedi sicrhau tir, ac wedi tynu braslun o gynllun y capel, ac wedi meddwl am gynllun i gael benthyg arian, a hefyd i gael addewidion gan bob un faint a roddai at swm y draul, ac hefyd wedi enill cydymdeimlad amryw o'r Americaniaid â'r symudiad, fel mae y Consolidated Coal Co. yn rhoddi lot 100x200 er adeiladu arni, a hefyd fod Mr. Charles Parish wedi addaw $500.00 pan fyddai yr eglwys wedi casglu $3,-

000. Yr oedd y cynllun yn golygu y buasai yr adeilad yn costio $3,500, ond erbyn ei orphen yr oedd wedi costio mwy na chwe' mil, am fod pris defnyddiau wedi codi yn fawr, ac amryw bethau anffafriol wedi eu cyfarfod megys tân ddwywaith.

Er fod rhagbarotoadau wedi eu gwneyd, a'r sylfaen, mewn rhan, wedi ei gosod yn Hydref, 1864—fel y deml gynt, fe safodd y gwaith, fel yr oedd yn Hydref, 1866, cyn ei orphen; (a) oblegid marweidd-dra masnach, fel y safodd y gweithfeydd am dymor; (b) am fod yn anhawdd ar yr adeg hon (agos i ddiwedd y rhyfel) gael dynion a fedrai adeiladu, a defnyddiau at y gwaith. Maint yr adeilad hwn oedd 32x55, yn ddau uchder (two stories), ac yr oedd llawer yn rhyfeddu pa fodd yr oedd eglwys mor ychydig mewn nifer yn gosod i fyny adeilad mor fawr, ond yr oedd gan y cyfeillion ffydd fod y cynydd oedd wedi bod eisoes i barhau, a llwyddiant i fod ar eu llafur, ac maent yn darparu ar ei gyfer.

Awst 12, 1866, pasiwyd penderfyniad i agor y capel yr Hydref canlynol. Awst 19 y pregethwyd gyntaf ar y llawr isaf yn y capel hwn, gan y brawd Lewis S. Jones, ac y cynaliwyd Ysgol Sul ynddo, a hon oedd yr ysgol luosocaf oeddynt wedi gael hyd yma er y dechreuad. Medi yr 2il bu y cymundeb cyntaf ynddo, pan y gweinyddid gan y Parch. Mr. Hughes, ac y bedyddiodd blant Richard Roderick a Lewis S. Jones.

Hydref 6, 7, 8, yn ol y penderfyniad, bu agoriad rheolaidd y capel, a'r gweinidogion fu yn gwasanaethu ar yr achlysur oeddynt a ganlyn:

Nos Sadwrn, am 6, Parch. William Roberts, D. D., New York. Sabboth, y 7fed, am 10, Parchn. Edward Jones, Cincinnati, a William Roberts, D. D. Am 2, yn Saesneg, Rev. —— Dode, Presbyterian. Am 6, Parchn. John Moses a Dr. Roberts. Dydd Llun, yr 8fed, am 10, Parchn. Edw. Jones a John Thomas, Bloomsburgh. Am ddau, Parchn. John R. Williams a Dr. Roberts. Am chwech, Parchn. John Moses a Dr. Roberts. Yr oedd y cyfarfodydd yn lluosog, ac ar-

wyddion o foddlonrwydd yr Arglwydd ar y gwaith. Yr oedd yr eglwys erbyn diwedd y flwyddyn hon yn 80 o rif, a pharhaodd yr eglwys a'r gynulleidfa i gynyddu o flwyddyn i flwyddyn, fel erbyn y flwyddyn 1870 yr oedd y capel wedi ei lenwi, ac wedi myned yn llawer rhy fychan, fel yn 1871 yr ychwanegwyd 18 troedfedd at ei hyd, yn ei wneyd yn 73x32, a gwnaed llawer o gyfnewidiadau eraill, fel yr aeth y draul yn $6,220; a chan fod $2,235 o'r hen ddyled yn aros, gwelir fod y ddyled ar ddiwedd y flwyddyn uchod yn $8,571.00. Ond erbyn diwedd 1883 yr oedd y cwbl wedi ei dalu, a chynaliwyd jiwbili i gofio am ei dileu. Ond erbyn y flwyddyn 1884 yr oedd yn angenrheidiol adgyweirio a lliwio yr adeilad, yr hyn a gostiodd $1,000.00, yr hyn oedd yn gwneyd holl draul y capel cyntaf yn $13,500, heblaw llogau arian benthyg.

Un peth a gynyddodd y ddyled yn yr adeg bresenol oedd pryniad lot, neu ran o un, yn ychwanegol at dir y capel. Pan ddechreuwyd adeiladu, nid oedd yr ochr ddwyreiniol i'r gamlas ond heolydd Market a Northampton yn unig, ond yn 1869 a '70 pan osodwyd allan y gwahanol heolydd sydd yn croesi eu gilydd yn rheolaidd, cafodd yr eglwys gynygiad i werthu 25 troedfedd, neu brynu yr un faint, y naill ochr neu y llall, a'r pris i fod yn $500.00. Dewisodd yr eglwys brynu, er cael hawlfraint gyfreithiol i'r oll, ac felly talodd y $500.00, a chafodd ddwy deed am y tir. Tuag at ddwyn y draul hon cyfranodd llawer un yn helaeth, a chafwyd ffyddlondeb cyffredinol gan bawb oedd yn dwyn cysylltiad a'r eglwys a'r gynulleidfa; ond mewn modd arbenigol gwnaeth y merched a'r gwragedd eu rhan yn dda. Yr oeddynt yn arfer cynal tea parties a festivals bob blwyddyn, ac yn gwneyd llawer o arian, a'r cwbl yn cael ei ddwyn yn mlaen yn weddaidd ac anrhydeddus.

Erbyn diwedd y flwyddyn 1888 yr oedd y capel wedi cael ei orlenwi ar y Sabboth, fel y daeth yn ofynol meddwl am helaethu yr hen gapel, neu adeiladu un newydd. Ond trwy fod hwn eisoes yn anghyfartal o ran hyd a lled, yr oedd yn amlwg na buasai yn fanteisiol helaethu hwn. Felly mewn cyfarfod o'r Trustees a'r blaenoriaid, Hydref 18, 1888, pen-

derfynwyd dwyn y mater hwn ger bron yr eglwys a'r gynulleidfa mewn cyfarfod cyhoeddus. Hydref 25 cafwyd cyfarfod i rydd-ymddyddan ar y mater, ac yr oedd pawb yn barnu mai capel newydd oedd eisieu, ond cael modd i'w gyraedd. Bu cyfarfod arall, Hydref 31, ond nid oeddid eto yn gweled y ffordd yn glir i fyned yn y blaen, am nad oedd amgylchiaau yr ardal yn uchel a blodeuog, ac nid oedd ychwaith yn dlawd iawn. Tachwedd 7 cafwyd cyfarfod drachefn ar y mater, ac yr oedd amryw yn myned i'r cyfarfod hwn gyda theimladau pryderus, mai rhoddi i fyny am yr adeg hon fyddai raid. Ond yn y cyfarfod hwn torodd y wawr, a daeth yn ddydd goleu pan y cododd yr Anrh. Morgan B. Williams, ac y dywedodd y rhoddai ef $5,000 er cael capel gwerth $15,000, os codai yr eglwys $10,000 erbyn dechreu mis Ebrill, y cwbl i gael ei gasglu o fewn y gynulleidfa, a'r arian i fod yn y bank erbyn yr adeg hono. Derbyniwyd y cynygiad gyda brwdfrydedd, a phenodwyd casglyddion i'r gwahanol ranbarthau, a chafwyd ar ddeall yn fuan fod eraill yn barod i roddi mil yr un, ac eraill eu canoedd, a thrwy ymdrech cafwyd y swm angenrheidiol, oblegid nid oedd y gwaith i gael ei ddechreu nes cael yr arian i law. Mai 10, 1889, gwnaed cytundeb â Mri. Owen Williams a John E. James i adeiladu capel yn ol cynllun Wm. Neuer. Cymerodd agos i flwyddyn i'w adeiladu. Gorphenaf 17 cynaliwyd cyfarfod i osod y gareg sylfaen, yr Anrhyd. Morgan B. Williams yn Llywydd, a Rich. S. Williams yn Islywydd, a gwnaed anerchiadau gan J. T. Griffiths, Hugh Davies, y gweinidog, W. C. Roberts, D. D., Elizabeth, N. J., a darllenodd Lewis S. Jones bapyr ar hanes yr eglwys. Gosodwyd y gareg yn ei lle gan Mrs. Morgan B. Williams â thrywel arian, a gosodwyd ynddi y "Cyfaill," "Y Drych," "New York Observer," papyr Mr. Jones, ac enwau pob un a roddodd $5.00 ac uchod at y draul.

Nos Wener, Mawrth 21, 1890, cynaliwyd cyfarfod gweddi yn ysgoldy y capel, er dechreu ei gysegru. Nos Sadwrn, yr 22ain, cynaliwyd cyfarfod cyhoeddus yn y capel, er i'r Pwyllgor Adeiladu gyflwyno y capel yn ffurfiol i'r eglwys

trwy y Trustees. Gwnaed y cyflwyniad gan yr Anrh. M. B. Williams, a derbyniwyd yr adeilad gan Mr. R. S. Williams, Trustee, a chafwyd anerchiadau gan Mri. Samuel Williams, Hugh Davies, J. T. Griffiths, Rees Morgan a Lewis S. Jones. Sabboth, y 23ain, pregethwyd gan y gweinidog yn addas i'r amgylchiad, pan yn dechreu yn y capel newydd. Mai 11eg yr oedd yr agoriad cyhoeddus. Yr oedd dysgwyliad am Dr. Edwards, Aberystwyth, i fod yn bresenol, ond ni ddaeth hyd dranoeth. Felly y Sabboth, am 10, pregethodd y Parchn. J. T. Morris, Bellevue, a Thos. B. Thomas, Monroe, N. Y. Am 2, J. T. Morris a D. C. Phillips. Am chwech, D. C. Phillips a Thos. B. Thomas. Dydd Llun, am dri, Dr. Edwards, Aberystwyth, yn Saesneg, ac yn Gymraeg yn yr hwyr, yr hyn oedd yn gorphen y cyfarfodydd agoriadol. Gwnáeth y gwragedd eu rhan er dodrefnu y capel hwn hefyd. Yr oedd $500 yn angenrheidiol er cael llawrleni a dodrefn, a gwnaethant festival ar raddfa anrhydeddus, a chafwyd yr arian angenrheidiol, ac mae clod yn deilwng iddynt am eu trafferth.

Symudiadau Cenadol yr Eglwys.—Mae bywyd yr eglwys hon wedi tori allan mewn gwahanol gyfeiriadau, ac yn arbenig mewn cael pregethu yr efengyl, a sefydlu cangenau o eglwysi mewn gwahanol ardaloedd lle byddai ychydig Gymry wedi ymsefydlu. Felly cychwynwyd pregethu yn Baltimore Mines, ond ni pharhaodd hwnw yn hir, am i'r Cymry ymadael o r lle. Buont yn cynal pregethu yn Mill Creek a Miners Mills am dymor maith (cyn sefydlu yr achos presenol), a sefydlwyd cangen eglwys yno o dan ofal ac fel rhan o eglwys Wilkesbarre. Hefyd, cynaliwyd pregethu yn Ashley, rhwng 1869 ac 1873, ond oblegid gwasgariad y Cymry o'r lle, aeth y cynyg hwn yn fethiant; ond daeth yno ail gychwyniad, dan nawdd yr eglwys hon, ac mae yno eglwys hyd yn bresenol. Hefyd, cychwynwyd a chynaliwyd pregethu yn Sugar Notch rhwng 1870 a 1873, pan ddarfyddodd hwn am y tro, nes daeth amgylchiadau yn ffafriol i gychwyn yr achos sydd yno yn bresenol. Felly hefyd bu War-

rior Run dan nawdd eglwys Wilkesbarre o 1870 hyd 1873, pan y corfforwyd yr eglwys yno. Yn 1873 penderfynwyd cynal moddion crefyddol yn Rolling Mill Hill, ac yn fuan cafwyd yno gangen-eglwys, ond bu y fam eglwys yn gofalu am dani am lawer o flynyddau, hyd nes cael capel yno, a'r eglwys ddyfod i gerdded ei hun, ac er mwyn rhoddi chwareu teg iddynt, ymgymerwyd a $700 o dreuliau y capel, fel y daethant hwy yn rhydd o ddyled y flwyddyn gyntaf. Yr oedd holl aelodau y cangenau hyn yn aelodau o'r fam eglwys, ac yn cyflwyno eu holl gasgliadau yno, er cynorthwyo dwyn treuliau y weinidogaeth gyson oeddynt yn gael, a'r moddion wythnosol a gynelid ynddynt. Hefyd, personau o eglwys Wilkesbarre fuont yn ymdrechu i godi yr achos presenol yn Miners Mills.

Cafodd yr eglwys hon y fraint o fod yn llawen fam plant mewn amryw ystyriaethau. Ei phlant hi yw y cangenau hyn, a dygwyd llawer trwy ei hofferynoliaeth i dderbyn Mab Duw. Ac mae wedi cael y fraint o godi rhai cenadau i weithio dros ei enw. Ar y pryd nid oedd yn cyfranu llawer at y Genadaeth gyffredinol, eto gwnaeth lawer o waith cenadol o amgylch cartref. Ond mae yr ysbryd hwn wedi ei golli i raddau erbyn hyn, fel mae yn gorphwys yn dawel ar ei rhif a'i gallu. Ond gwanhau mae nerth ysbrydol pob eglwys pan mae yn gwario ei hadnoddau arni ei hun.

Swyddogion yr Eglwys o'i Dechreuad.—(a) Ei gweinidogion a fu yn fugeiliaid.

Y Parch. Edward J. Hughes, o ddiwedd 1865 hyd 1871.
Y Parch. Thos. B. Thomas, o Ebrill, 1875, hyd Mawrth, 1882.
Y Parch. Hugh Davies. o Ebrill, 1883, hyd Medi, 1890.
Y Parch. J. Owen Jones, o Mawrth, 1893, hyd yn bresenol.

(b) Pregethwyr fu yn Aelodau o'r Eglwys.

Mr. Lewis S. Jones, yn dechreu yr achos yn 1864, ac yn darfod fel pregethwr yn 1876.
Mr. William J. Lewis, o 1864 hyd 1865.

Mr. William D. Jenkins, trwy lythyr o Pittston yn 1868, ac mae yn aelod o'r eglwys yn bresenol.

Mr. D. D. Jenkins. Dechreuodd bregethu yma yn 1870, ond ymadawodd at y Presbyteriaid.

Mr. D. Celyddon Phillips, trwy lythyr o Gymru, ond ymadawodd yntau yn fuan.

Mr. W. H. Williams, trwy lythyr o Gymru yn 1869, ac yma y bu yn aelod hyd ei farwolaeth yn 1896.

Mr. John J. Hughes, dechreuodd bregethu yn 1879, ac yn aelod o'r eglwys hon bu yntau farw.

(c) Blaenoriaid yr Eglwys.

Robert Wright oedd yma ar y dechreu, ond ymadawodd yn 1866, wedi ymddiswyddo.

John T. Griffiths. Yr oedd ef wedi bod yn flaenor yn Bellevue, ac wedi bod yn y lle hwn er y dechreu. Ail etholwyd ef yn 1866, a bu farw yn 1896.

Richard Roderick. Yr oedd yntau yn yr eglwys er y flwyddyn gyntaf. Etholwyd ef yn swyddog yn 1866. Symudodd o'r lle am flynyddoedd, ond mae yn bresenol yn aelod ffyddlon o'r eglwys hon.

Stephen Jones. Yr oedd yntau yn yr eglwys o'i dechreuad. Dewiswyd ef yn swyddog yn 1866, a bu farw 1874.

John D. Walters. Etholwyd ef yn 1872, ac ymadawodd.

David Moses. Etholwyd yntau yn 1872. Bu yn Ysgrifenydd yr eglwys am flynyddoedd, yn aros yn bresenol.

Thos. W. Morgan. Etholwyd yn 1874. Ymadawodd yn 1878, ond mae yn aelod o'r eglwys yn bresenol.

Llywelyn Jones. Etholwyd yn 1879. Bu farw yn 1866.

Daniel T. Roderick. Etholwyd yn 1879, yn aros yn bresenol.

W. H. Thomas. Etholwyd yn Medi, 1874. Bu farw.

John W. Roberts. Etholwyd yn 1887, yn aros eto.

Lewis S. Jones. Etholwyd yn 1887, yn aros eto.

W. R. Jones. Etholwyd yn 1887. Bu farw trwy losgi, 1896.

Morgan D. Williams. Etholwyd yn 1887. Ymddiswyddodd 1889.

Rees W. Morgan. Etholwyd yn 1894, yn aros.

(d) Y Rhai fu yn Gwasanaethu yr Eglwys fel Trustees.

John T. Griffiths, David L. Richards, Lewis S. Jones, Thos. W. Morgans, David Moses, W. H. Thomas, William M. Thomas, Thos. H. Griffiths, James D. Jones, David M. Jones, Richard S. Williams, Wm. D. Jones, William W. Williams, Wm. T. Price, G. M. Williams, William T. Jones, Thos. H. Richards.

(e) Arweinwyr y Canu o'r Dechreuad.

David L. Richards, George Roderick, Morgan C. Jones, David Jonathan, Daniel Roderick a Gwilym M. Williams.

(f) Organyddion.

John J. Davies, Miss Kate Griffiths (Mrs. Dr. Jones), Iorwerth Jones, Miss Rachel Davies, Miss Delia Roderick yn bresenol.

Eglwys Wilkesbarre o ran ei Safle Bresenol, a'i Rhagolygon.—Mewn llawer o ystyriaethau mae wedi cyraedd y safle uchaf yn mhlith y Methodistiaid Calfinaidd yn Pennsylvania, ac mae ei rhagolygon am y dyfodol yn addawol, am dymor beth bynag. Mewn rhifedi mae yn sefyll ar ddiwedd y flwyddyn 1896 yn 385 o aelodau cyflawn, yn cael eu gwneyd i fyny o bob oedran, o'r hynafgwr a'r hynaf wragedd hyd y plant ieuengaf ag mae yn ddoeth eu derbyn yn gyflawn aelodau. Heblaw hen bobl a chanol oed, mae yma hefyd lawer o bobl ieuainc, o bump-ar-hugain i lawr, yn gyson a ffyddlawn gyda'r achos yn ei holl ranau, ac yn rhoddi eu presenoldeb yn yr holl foddion crefyddol, yn Sabbothol ac wythnosol, fel mae golwg wir brydferth ar y gynulleidfa, am fod cynifer o flodau hardd ac amryliw y ddynoliaeth yn addurno y gynulleidfa. Mae yr eglwys hon yn cynal pregethu cyson ar bob Sabboth, trwy ei bod yn cynal gweinidog sefydlog; ac yn ei absenoldeb, bydd rhyw weinidog parchus arall yn llanw ei le, fel nad oes nemawr o Sabboth yn myned heibio heb fod gair y gwirionedd yn cael ei bregethu o fewn muriau yr addoldy.

Mae cerddoriaeth y cysegr yn cael gofalu am dano, er gwneyd mawl yr Arglwydd yn ogoneddus, ac er codi y gynulleidfa i ysbryd addoli.

Y mae yr Ysgol Sabbothol yn sefydliad byw yn yr eglwys hon, yn cael ei gwneyd i fyny o ddwy ran, sef ysgol y plant, a rhai mewn oed, lle mae pob dosbarth yn ymgynull i ddarllen gair Duw; a gwneir ymdrech at gadw yr iaith Gymraeg yn fyw hefyd. Mae y gwersi cydgenedlaethol yn cael eu canlyn yn rheolaidd mewn llawer o ddosbarthiadau, a chynelir cyfarfod arholiadol ar ddiwedd pob tri mis.

Mae yr eglwys yn cynal tri chyfarfod yn rheolaidd bob wythnos, y gyfeillach eglwysig, yr hon sydd yn cael ei harwain gan y gweinidog, y cyfarfod gweddi, yr hwn arweinir gan un or blaenoriaid. Hefyd, Cymdeithas Ymdrechol y bobl ieuainc. Yn y cyfarfod hwn mae y meibion a'r merched yn cymeryd rhan. ac mae y cyfarfodydd yn llawn o ddyddordeb a buddioldeb.

Mae gan yr eglwys hon un o'r capelau harddaf yn y cylch, yn cynwys amryw ystafelloedd at wasanaeth yr achos. Mae y brif ystafell yn agos i 80 troedfedd ysgwar, a'r seddau yn haner cylch. Ystafell arall wedi ei darparu ar gyfer yr ysgol a'r cyfarfodydd wythnosol, ac yn ddigon helaeth i gynwys dau gant o bobl. Hefyd, ystafell i gynal cyfarfodydd swyddogol. Mae y capel hwn yn werth $20,000 heb y tir sydd dano. Heblaw y gweinidog sefydlog, y Parch. J. O. Jones, mae y Parch. W. D. Jenkins yn byw yma, ac yn bur ffyddlon a gwasanaethgar i'r achos; ac yma y bu y Parch. W. H. Williams yn byw hyd ei farwolaeth.

Mae yma chwech o flaenoriaid yn gofalu am ranau ysbrydol yr achos, sef David Moses, Daniel T. Roderick, John W. Roberts, Lewis Jones, W. R. Jones a Rees W. Morgan.

Mae yma bump o ymddiriedolwyr yn gofalu am fuddianau bydol yr eglwys, sef G. M. Williams, William W. Williams, W. D. Jones, William T. Jones a Thomas Richards—fel mae wedi ei dodrefnu a phob offerynoliaeth i wneyd gwaith mawr. Cychwynodd yr eglwys hon, fel y gwelir, gyda phump o aelodau yn 1864. Yn 1870 yr oedd yn 196; yn 1875, yn 233; yn 1880, 254; yn 1885, 346; yn 1890, 348; yn 1895, 385.

Mae yr eglwys hon wedi dyfod trwy lawer o gyfnewidiadau, ac wedi gwneyd llawer o waith, a hyderwn fod iddi eto ddyfodol llewyrchus am genedlaethau.

## IX.—PLYMOUTH.

Saif y dref hon ar yr ochr orllewinol i afon lydan y Susquehanna, yn nyffryn prydferth y Wyoming, yn Swydd Luzerne. Mae Wilkesbarre, pen tref y Sir, ar yr ochr ddwyreiniol i'r afon, o fewn pedair milldir iddi. Mae mynyddoedd uchel o'r tu cefn iddi, a'r afon yn ymddolenu heibio ei hochr, a'r mynyddoedd sydd tu cefn i Wilkesbarre tua'r dwyrain, yn cyfansoddi un o'r golygfeydd mwyaf rhamantus a phrydferth. Haner can' mlynedd yn ol, o fewn cof rhai sydd eto yn fyw, nid oedd Plymouth ond pentref gwledig a dinod, a'r anedd-dai yn anaml; ond yn awr cyfrifir fod yn y drefgordd dros bedair mil ar ddeg o drigolion; ac mae yn naturiol gofyn, pa beth a fu yn achos y fath gynydd mewn amser mor fyr? Mae yn ffaith wybyddus yn hanes lluaws o drefydd a phentrefydd yn ein gwlad eu bod wedi dyfod i nodedigrwydd trwy y cysylltiad agos sydd cydrhwng cyfalaf a llafur. Dyma yr eglurhad ar gynydd poblogaeth Plymouth o fewn ysbaid 30 mlynedd. Tua 45 mlynedd yn ol ymwelodd cyfalafwyr a'r lle, a gwnaethant ymchwiliad manwl o berthynas i'r gwythienau glo a orweddent yn nyfnder y ddaear, a chawsant brofion digonol fod cyflawnder o hono heb ei gyffwrdd, a bod pob peth yn ffafriol i'w hanturiaethau. Yn mysg perchenogion glofaol Plymouth, rhwng 30 a 40 mlynedd yn ol, mae enw ein cydwladwr haelfrydig a dyngarol, y diweddar David Levi, Ysw., brawd i'r Parch. Thos. Levi, Aberystwyth, D. C. Bu farw Mr. Levi yn 1869, ac yr oedd ei angladd y lluosocaf a pharchusaf a welwyd yn y dref.

Mor fuan ag y dechreuwyd agor y glofeydd, dechreuodd Cymry ddylifo yno o'r Hen Wlad a lleoedd eraill, ac yn ol arfer y rhai crefyddol yn eu mysg, teimlent yr angenrheidrwydd o ymgynull yn eu hanedd-dai unwaith neu ddwy yn yr wythnos i gydaddoli y Duw a wasanaethent yn ffyddlon yn flaenorol. Yn y cyfamser ymunodd y gwahanol enwadau yn un corff eglwysig. Buont yn cynal eu gwasanaeth crefyddol yn y modd hwn am flynyddau, ond corfforwyd hi

yn eglwys Gynulleidfaol, ac yr oedd yn hollol dan reolaeth a dysgyblaeth yr enwad hwnw.

Yn gynar yn ngwanwyn 1868 penderfynodd y Methodistiaid Calfinaidd ffurfio a chorffori eglwys iddynt eu hunain. Ni wnaethant hyny oddiar unrhyw anghydfod, na drwg deimlad, eithr yn hytrach o herwydd cynydd cyflym ein cydgenedl yn y gymydogaeth. Mae yn bosibl fod rhai Methodistiaid yn dwyn mawr sel dros reolau y "Cyffes Ffydd," ac yn credu mewn dysgyblu yr aelodau yn ol rheolau yr enwad, yr hyn nas gallesid ei wneyd dan yr amgylchiadau presenol.

Trwy garedigrwydd a dylanwad y diweddar Mr. Evan Thomas, yr hwn oedd yn dra adnabyddus a theulu Wadhams, llwyddasant i gael llawr uwchaf yr hen Academy i gynal moddion crefyddol. Yn ol un hanesydd, yr oedd yr Academy wedi ei adeiladu yn y flwyddyn 1816, a phob enwad crefyddol yn ei dro wedi bod yn addoli ynddo am flynyddau lawer—Presbyteriaid, Bedyddwyr, Methodistiaid, Esgobaethwyr, Cynulleidfaolwyr a Phabyddion. Nid oedd eu moesoldeb a'u crefyddoldeb yn cael ei anmharu trwy y cyfarfyddiad teuluaidd hwn wrth yr un allor yn yr hen Academy.

Pan wnaed bwriad y Methodistiaid yn hysbys i'r eglwys, cynyrchwyd cryn ddwysder a hiraeth yn eu calonau oll, oblegid fod y brawdgarwch a'r teimladau goreu yn ffynu yn y gwersyll, a threuliwyd y cyfarfod ymadawol i ddatgan eu teimladau mynwesol y naill tuag at y llall, a dybenwyd trwy ganu yr hen emyn, "Ffarwel, gyfeillion anwyl iawn," &c., a gweddiodd yr hen frawd duwiol William Charles, ac yr oedd pob grudd yn wlithog gan ddagrau hiraethlawn. Cynaliodd y Methodistiaid eu gwasanaeth cyntaf yn yr Academy y Sabboth cyntaf yn Mehefin, 1868, a chorfforwyd yr eglwys gan y Parchn. Joseph E. Davies, D. D., a Morgan A. Ellis, M. A., Hyde Park, cenadau y Cyfarfod Dosbarth, y trydydd Sabboth o'r mis, a derbyniwyd yr eglwys i undeb a'r Dosbarth yn y Cyfarfod dylynol yn mis Medi.

Cofrestrwyd y personau canlynol ar lyfr yr eglwys fel y

rhai a gychwynodd yr achos fel aelodau: Parch. Thomas J. a Mrs. Phillips, Mr. Evan a Mrs. Thomas, Mrs. Rebecca Bowen, Mr. Jonah a Mrs. M. A. Lewis, Mr. David W. Evans, Mr. Thos. R. Evans, Mr. J. D. a Mrs. Elizabeth Griffiths, Mr. Watkin a Mrs. Ann Powell, Mrs. Elizabeth Walters, Mr. David James, Mr. John S. a Mrs. Ann S. Williams, Mrs. Mary Evans, Mr. Thos. E. Jones, Mrs. Sarah Oliver, Mrs. Hannah Jenkins, Miss Margaret Phillips (Mrs. Edwards yn bresenol), a Mr. Thos. W. Davies—cyfanrif 25. Yn ystod y ddau fis dylynol derbyniwyd trwy lythyrau, Mrs. Lydia Williams o Swatara, Pa., Mrs. Ellen Jones o Hyde Park, a Mr. D. W. Morris o eglwys Gynulleidfaol Plymouth.

Yn mysg y gwrandawyr a'r tanysgrifwyr at y weinidogaeth ar y pryd, yr oedd Mri. Edward Jenkins, David Williams, James Oliver, William Bowen a John Evans. Mae Mrs. Phillips, Mrs. M. Thomas, Miss R. Thomas, Mrs. Oliver, Mrs. H. Jenkins, Mr. J. R. Evans, Mr. Thos. E. Jones a Mrs. M. Edwards yn parhau yn aelodau ffyddlawn o'r eglwys o'r cychwyniad hyd yn bresenol.

Pan gychwynwyd yr achos, nid oedd ganddynt un llyfr yn eu meddiant at gynal Ysgol Sabbothol, ond ymwelodd y brodyr D. W. Evans a D. D. Griffiths ag eglwys Wilkesbarre, a chawsant dderbyniad caredig, a chynorthwy haelionus, a thrwy gydweithrediad y frawdoliaeth gartrefol, casglwyd swm digonol i brynu y llyfrau angenrheidiol er cychwyn yr ysgol yn ddioedi.

Pan dderbyniwyd yr eglwys i undeb a'r Dosbarth, gwnaed cais am gynorthwy i ddewis blaenoriaid yno, ac anfonwyd y Parch. Ed. J. Hughes a Mr. Richard Roderick o Wilkesbarre yno i gyflawni y gorchwyl, a dewiswyd Mri. D. W. Evans, Jonah Lewis a Watkin Powell, ond o herwydd rhyw resymau gwrthododd Mr. Powell dderbyn y swydd, eto parhaodd yn aelod ffyddlon a defnyddiol hyd ddydd ei farwolaeth. Penodwyd Mr. D. W. Evans yn arweinydd y canu, a Mr. Evan Jones yn gynorthwywr iddo, ond ni bu ei arosiad (sef Jones) yn y lle ond byr, a dychwelodd i Hyde Park. Yn mis Hydref, 1870, daeth Mr. Edward Smith o Clwydyfagwyr,

D. C., i'r lle, ac yn fuan ymddiriedwyd arweiniad y canu iddo ef. Yn bresenol, Mr. Smith a Mr. Lodwick Davies sydd yn arwain y canu, ar yn ail chwe' mis, mewn undeb a chydweithrediad a'u gilydd. Mr. Thos. E. Jones ddewiswyd yn Ysgrifenydd yr eglwys, yr hwn a lanwodd y swydd yn foddhaol hyd 1875, a dylynwyd ef gan Mr. Thos. R. Evans hyd ddechreu 1877, a dylynwyd yntau gan Mr. Henry G. Williams hyd Ionawr, 1884. O'r flwyddyn hono hyd yn bresenol llanwyd y swydd gan Mri. W. D. Morgans, John R. Williams, Morris M. Hughes a David J. Evans.

Mr. Jonah Lewis etholwyd yn Drysorydd cyntaf yr eglwys, a llanwodd y swydd yn foddhaol am ddeng mlynedd. O'r flwyddyn 1878 hyd yn bresenol gwasanaethwyd gan Mri. W. W. Morgan, Thos. R. Evans a Wm. J. Close, yr hwn yw y Trysorydd presenol.

Yn mis Hydref, 1869, symudodd Mr. David J. Williams i'r lle o Danville, yr hwn oedd yn un o'r blaenoriaid hynaf a mwyaf parchus yn y Dalaeth. Yn yr un flwyddyn ymfudodd Mr. Thos. J. Davies i'r lle o Carmel, Aberdar, yr hwn oedd wedi bod yn flaenor am flynyddoedd yn Clwydyfagwyr, Merthyr Tydfil. Bu dyfodiad y ddau frawd uchod yn gaffaeliad anmhrisiadwy i'r eglwys yn ei mabandod, a buont yn arweinyddion doeth a diogel.

Yn Hydref, 1869, symudodd y Parch. W. J. Lewis i'r lle o Shamokin, ac ychwanegodd hyn eto yn ddirfawr at allu duwinyddol a dysgyblaethol yr eglwys, fel erbyn hyn yr oedd wedi ei chynysgaeddu â dynion o gyneddfau meddyliol diwylliedig, yr hyn a roddodd nerth meddyliol yn ei chyhyrau, ac mae olion eu dylanwad yn aros hyd heddyw ar yr eglwys. Yn ngwanwyn 1870 daeth y brodyr James Morgan a Henry G. Williams i'r lle, pa rai ydynt wedi parhau yn ffyddlon gyda'r achos o hyny hyd yn awr.

Amgylchiadau Adeiladu y Capel.—Yn y flwyddyn 1873 gwerthwyd estate Mr. Wadhams, i'r Lehigh & Wilkesbarre Coal Co., a daeth angen yr Academy ar y Bwrdd Ysgol, felly gorfodwyd yr eglwys i chwilio am le arall ar fyr rybudd.

ond braidd cyn iddynt gael amser i sicrhau lle arall, daeth swyddogion y Borough a chymerasant yr oll a feddai yr eglwys allan, a chludasant hwy i'r carchardy perthynol i'r dref. Pan glywodd yr hen fam dduwiol Mrs. Thomas fod y Beibl yn y carchar, torodd allan i wylo, a methodd a gorphwys nes cael ei hoff lyfr o'r lock up. Cynyrchodd yr anffawd destyn crechwen i ffyliaid, ond bu yn dristwch mawr i ffyddloniaid yr eglwys. Penodwyd pwyllgor ar unwaith i chwilio am le, a llwyddasant i gael neuadd Thupp ar y brif heol, a chynygiodd eglwys y Bedyddwyr Cymreig eu capel at ein gwasanaeth, i gynal cyfarfod gweddi nos Lun, mewn undeb a hwy, ac un noson yn yr wythnos i gynal cyfeillach, hyd nes buasem yn adeiladu capel i ni ein hunain, a derbyniwyd y cynyg haelfrydig gyda diolchgarwch. Cynaliwyd gwasanaeth yn y lleoedd a nodwyd o'r Sabboth cyntaf yn Awst, 1873, hyd fis Rhagfyr yr un flwyddyn.

Yr oedd yr eglwys wedi prynu lot ar Gaylord Avenue tua diwedd 1872, ac yr oedd amryw gyfarfodydd wedi eu cynal yn yr Academy i ymdrin ar y pwnc o adeiladu, ond methwyd a dyfod i un penderfyniad i gychwyn adeiladu, nes eu gorfodi gan amgylchiadau. Mae Cyfarfod Dosbarth mis Mehefin, yr hwn a gynaliwyd yn Carbondale, yn rhoddi caniatad i eglwys Plymouth i adeiladu capel. Mewn cyfarfod a gynaliwyd yn y lle Gorphenaf 23, 1873, dewiswyd pwyllgor adeiladu—y Parch. Thos. J. Phillips yn Llywydd; D. M. Jones, Islywydd; Thos. R. Evans, Ysgrifenydd; William T. Smyth, Trysorydd; Lewis D. Williams a Robert J. Thomas. Penderfynwyd hefyd fod maint y capel i fod yn 40x60 troedfedd, ac i fod 30 troedfedd o'r heol. Rhoddwyd y cytundeb i'w adeiladu i Mr. Robert V. Thomas, a fu yn byw wedi hyny yn Wilkesbarre, am y swm o $4,450. Taer ddymunodd y pwyllgor i Mr. Thomas wneyd pob brys dichonadwy i gwblhau yr adeilad, ac er boddlonrwydd i'r pwyllgor ac anrhydedd iddo ei hun, gorphenodd ef yn mhen pedwar mis. Agorwyd y capel y trydydd Sabboth yn Rhagfyr, 1873, a gwasanaethwyd ar yr achlysur gan y Parchn. Jo-

seph E. Davies, D. D., G. H. Humphrey, Pittsburg, yn nghyd a phregethwyr y Dosbarth.

Cynwysa y capel hwn 76 o eisteddleoedd, a gall chwech eistedd yn mhob un, felly gellir eistedd ynddo 468 o bobl. Rhwng y lot a'r adeilad, a'r gwaith o amgylch iddo, yr oedd cyfanswm y draul yn $6,226.50.

Cyfanrif yr aelodau ar adeg yr agoriad oedd 125. Pan gymerir i ystyriaeth fod dwy ran o dair o r rhif uchod yn wragedd a merched ieuainc, a masnach yn farwaidd ar y pryd, yr oedd yr anturiaeth yn fawr. Heblaw hyny, yr oedd yr eglwysi Cymreig eraill yn y lle dan wasgfa dyledion cyffelyb. Ond priodol cydnabod i'r aelodau a'r gwrandawyr oll ddangos cydweithrediad a gweithgarwch egniol i ddileu y ddyled, a dangosodd y gymydogaeth haelioni mawr bob tro y galwyd am eu cynorthwy. Erbyn Gorphenaf, 1883, yr oedd y ddyled hono wedi ei thalu, a gweddill yn llaw Trysorydd yr ymddiriedolwyr o $126.28. Yn fuan wedi hyny penderfynwyd adgyweirio ac ail baentio y capel, yr hyn a gostiodd $500; felly yn Ionawr, 1884, yr oedd $400 o ddyled yn aros arno, ond dilewyd y ddyled hono hefyd cyn hir.

Y Gweinidogion fu yn Gwasanaethu yr Eglwys.—Yr oedd y Parch. Thos. J. Phillips o'r cychwyn cyntaf wedi gwneyd llawer o waith gweinidog, mewn gweinyddu yr ordinhadau, gwasanaethu mewn angladdau, &c., er nad oedd perthynas rhyngddo a'r eglwys fel gweinidog, a gwnaeth yr un gwasanaeth pan fyddai heb weinidog wedi hyny. Wrth weled fod yr eglwys a'r gynulleidfa yn cyflym gynyddu, a bod y gwaith o ofalu am dani yn fwy nag y gallai y diaconiaid ei gyflawni, penderfynwyd estyn galwad i'r Parch. E. J. Hughes, yr hwn oedd y pryd hwnw yn Nelson, N. Y., i ddyfod yno yn fugail. Cydsyniodd Mr. Hughes a'r alwad, a gwasanaethodd yr eglwys gyda chymeradwyaeth o Ionawr, 1875, hyd Ionawr, 1878, pan ymddiswyddodd, gyda'r bwriad o fyned i dreulio y gweddill o'i oes ar ei ffarm yn West Bangor, a phregethu ychydig yn achlysurol. Ar ei ymad-

awiad ef a'i deulu cyflwynodd yr eglwys roddion gwerthfawr iddynt fel arwydd o'u parch tuag atynt. Yn ystod arosiad Mr. Hughes yn Plymouth cynyddodd yr eglwys 15 mewn rhifedi.

Yn mis Ebrill, 1881, estynwyd galwad i'r Parch. James Jarrett, Collinsville, N. Y. Atebodd Mr. Jarrett yr alwad yn gadarnhaol, a dechreuodd ar ei lafur Gorphenaf 1, 1881. Rhifai yr eglwys ar y pryd 153, ac yn ystod ei fugeiliaeth cynyddodd yr aelodau 22 mewn rhifedi. Nadolig, 1883, gwobrwywyd Mr. Jarrett a ffon â phen euraidd gan bobl ieuainc yr eglwys, a Mrs. Jarrett gan wragedd yr eglwys â rhoddion gwerthfawr cyfatebol. Hefyd, yr un noson gwobrwywyd y Parch. Thos. J. Phillips a Mrs. Phillips gan aelodau yr eglwys a chyfeillion â book-case a china tea set, yn arwydd o'u parch tuag atynt am eu ffyddlondeb a'u gweithgarwch o blaid yr achos o'r cychwyniad. Anrhegwyd hefyd Mr. Henry G. Williams ag Esboniad Matthew Henry mewn pum' cyfrol, yn nghyd ag inkstand ac ysgrifbin aur am ei lafur fel Ysgrifenydd yr eglwys am chwe' blynedd. Yn Mai, 1884, aeth Mr. Jarrett am dro i'r Hen Wlad, gan fwriadu dychwelyd yn mhen tri mis, ond cyn i'r tri mis ddyfod i fyny yr oedd wedi cyfnewid yn ei farn, a phenderfynu ymgartrefu yn Pwllheli, G. C. Pan wnaed hyny yn hysbys i'r eglwys, teimlai pawb yn siomedig a hiraethlawn ar ol bugail mor hynaws a boneddigaidd bob amser. Mae pawb oedd yn adwaen Mr. Jarrett yn coleddu y syniadau mwyaf parchus am dano fel dyn a Christion, a phe deuai ar ymweliad â Plymouth eto, caffai y derbyniad mwyaf gwresog a chroesawgar.

Yn 1885 estynwyd galwad i'r Parch. Thomas Roberts, Oak Hill, Ohio, a gwasanaethodd Mr. Roberts yr eglwys am bedair blynedd. Yr oedd Mr. Roberts yn bregethwr galluog, a'i weinidogaeth yn dderbyniol a chymeradwy gan yr eglwys a'r gynulleidfa. Yn y tymor hwn torodd allan ymrafael ac anghydfod yn yr eglwys (ni pherthyn i ni chwilio allan na phenderfynu ei achosion yn y lle hwn), a bu am

dymor yn gorwedd dan gymylau o anghariad a chyndyn ddadleuaeth, a gorfu i Mr. Roberts ymddiswyddo, a chollodd yr eglwys 26 o aelodau, a bu yr amgylchiadau hyn yn achos o ofid a blinder calon i'r gweinidog ac i'r frawdoliaeth am gryn amser.

Yn mis Mawrth, 1893, estynwyd galwad i'r Parch. Robert E. Williams o Slatington, Pa., ac atebodd yntau yr alwad yn gadarnhaol, a dechruodd yntau ar ei fugeiliaeth Mehefin 17, 1893, yn nghanol llawer iawn o anfanteision, o herwydd yr ymraniad rhag-grybwylledig. Yr oedd lluaws o bobl ieuainc yr eglwys wedi cefnu ac ymuno a'r eglwysi Seisnig cyn ei ddyfodiad i'r lle, a'r bobl ieuainc oedd yn aros wedi eu hesgeuluso yn ddybryd o ddiffyg bugail; ond trwy ddoethineb, sirioldeb a gweithgarwch diflino Mr. a Mrs. Williams, mae yr eglwys yn y tair blynedd diweddaf wedi adenill ei nerth, ac yn gwisgo gwedd mwy ffafriol nag a welwyd arni er's rhai blynyddau.

Yn mhen tair blynedd penderfynodd Mr. Williams ymweled â gwlad ei enedigaeth, er gweled perthynasau a chyfeillion, ac adloniant meddyliol. Cynaliwyd cyfarfod ymadawol iddynt yn y capel, a chafwyl mantais i weled y pryd hwnw fod pawb yn eu parchu ac yn dymuno iddynt wibdaith gysurlawn a diogel.

Y Blaenoriaid fu yn Gwasanaethu yr Eglwys.—Heblaw y rhai a nodwyd yn flaenorol, gwasanaethwyd yn y swydd gan y personau canlynol: Mri. David J. Williams, Thos. J. Davies, Hugh Griffiths, James Morgans, Thos. R. Evans, Lewis D. Williams, Morgan R. Morgans, Rees W. Morgan, Richard Roderick, Henry G. Williams, Essex Williams.

Y diaconiaid yn bresenol ydynt Mri. James Morgans, Thos. R. Evans, James B. Davies, Essex Williams a Henry G. Williams.

Yr Ymddiriedolwyr presenol ydynt, Mri. Philip Walters, John B. Davies, James Price, Daniel R. Davies a William Close.

Adolygiad Cyffredinol ar Sefyllfa yr Achos.—Ac eithrio

yr ymrafael a nodwyd, gellir honi fod eglwys Plymouth wedi bod ac yn parhau yn un o'r eglwysi mwyaf heddychlon a chydweithredol o'r flwyddyn 1868 hyd yn bresenol, ac yn teilyngu ei rhestru yn mhlith goreuon eglwysi yr enwad, yn ol ei rhif a'i chyfraniadau haelionus at bob achosion perthynol i'r eglwys. Maent wedi galw heibio i'w cymydogion am gynorthwy yn fwy anaml nag unrhyw eglwys yn y cymydogaethau. Heblaw hyny, maent wedi bod a llaw a llogell agored trwy y blynyddau i gynorthwyo eu cyd-eglwysi gweiniaid yn yr ardaloedd hyn. Yn y flwyddyn 1890 codwyd y capel i fyny chwe' troedfedd, a gwnaed ystafell brydferth odditano i gynal y cyfarfodydd wythnosol, a gorphenwyd pob peth yn daclus oddifewn iddo, ac yr oedd traul y gwelliantau hyn yn $3,300. Ond mae y capel yn hollol glir o ddyled er's dwy flynedd, yr hyn sydd yn dangos nad yw yr eglwys yn gorphwys yn segur.

Yr oedd dyfodiad Mr. Williams i fugeilio yr eglwys yn ffodus iawn yn yr amgylchiadau yr oedd ynddynt ar y pryd. Trwy ei ymdrech ef a'i briod ffurfiwyd ganddynt gangen obeithiol o'r Gymdeithas Ymdrechol Gristionogol, yr hyn a roddodd yni a bywyd newydd yn y bobl ieuainc, ac mae y Gymdeithas yn parhau yn ei dylanwad a'i dyddordeb, ac yn gaffaeliad gwerthfawr i gadw yr ieuenctyd i weithio yn egniol dros achos y Gwaredwr, a thrwy hyny eu cadw rhag llawer o brofedigaethau a themtasiynau hud-ddeniadol bywyd. Mae yr Ysgol Sabbothol mewn sefyllfa dda, a'i rhif ar gyfartaledd yn agos i ddau cant, ac addysgir y plant yn awr yn y ddwy iaith. Bu adeg pan nad oedd ond Cymraeg pur i gael ei barablu o fewn muriau y capel, ond mae yr hen bethau wedi myned heibio, a rhaid symud yn mlaen gyda'r oes.

Mae yn deilwng o sylw fod y brawd James B. Davies wedi bod yn un o golofnau yr eglwys er's 24 mlynedd, ac er fod gorchwylion ei swyddogaeth ddyddiol yn bwysig, nid ydynt byth yn ei luddias i fod yn ffyddlon i'r achos.

Mae yr eglwys yn awr yn rhifo rhwng 180 a 190 o aelod-

au, a bu adeg ar eglwys Plymouth pan y gallesid dywedyd fod ei haelodau gan mwyaf yn ddirwestwyr, ond fel mae amser ac amgylchiadau yn cyfnewid pobl a phethau, felly yno; erbyn hyn mae y dirwestwyr yn y lleiafrif, a'r cymedrolwyr yn y mwyafrif, a dyma ydyw hanes gwirioneddol holl eglwysi y Dosbarth pan yr eir i chwilio dirgel gelloedd pechod. Mae yr hanesydd o Plymouth yn ychwanegu, os gadawyd allan ryw ffaith, neu ffeithiau, yn gysylltiedig ag amgylchiadau a phersonau, fod y cyfryw wedi diane ei sylw yn anfwriadol. Wedi byw yno 26 o flynyddoedd, fel aelod o'r eglwys, mae wedi cario gydag ef adgofion dedwydd o'r mwynhad cymdeithasol a chrefyddol a deimlodd yno ddegau o weithiau, ac ni ddileir yr adgofion hyfryd hyny oddiar ei feddwl tra ar y ddaear.

## X.—Olyphant.

Saif y dref hon ar y brif ffordd rhwng Scranton a Carbondale, wyth milldir i'r gogledd o Scranton, a naw o Carbondale. Mae afon fechan y Lackawanna yn rhedeg heibio ei hochr orllewinol. Adnabyddid y lle hwn ar y cyntaf wrth yr enw Jonesville, am mai Edward Jones, Ysw., o Carbondale y pryd hwnw, ac Archbald wedi hyny, agorodd waith glo yno tua'r flwyddyn 1858. Ar ol hyn symudodd Mr. Jones i'r lle i fyw, ac yma yr arosodd hyd ddydd ei farwolaeth, yr hyn a gymerodd le yn y flwyddyn 189—. Mae ei weddw, yr hon sydd chwaer i'r Parch. Thos. R. Jones, yn aros yno eto. Yr oedd Mr. Jones wedi ei ddwyn i fyny yn Fethodist, a bu yn aelod gyda'r enwad yn Carbondale. Teimlai ddyddordeb yn symudiadau yr enwad, a bu yn garedig a haelfrydig i ni mewn llawer amgylchiad helbulus.

Newidiwyd enw yr ardal i fod yn Olyphant, er anrhydeddu President y Delaware & Hudson Coal Company. Ond os y gwr a wnaeth fwyaf i adeiladu y lle, gan ddadblygu adnoddau yr ardal, a rhoddi gwaith i ddynion, sydd yn teilyngu ei anrhydeddu fwyaf, diameu fod hyny yn eiddo cyfreithlawn i Mr. Jones yn fwy na Mr. Olyphant.

Wedi agor y gwaith gan Mr. Jones, gan ei fod yn Gymro, yr oedd yn gymelliad i'r Cymry i ymsefydlu yn y lle; ac erbyn y flwyddyn ganlynol yr oedd tua 250 wedi symud yno i fyw. Yn fuan wedi hyn mae y teimlad oedd wedi ei feithrin ynddynt yn ngwlad eu tadau yn amlygu ei hun yn mysg y rhai crefyddol a duwiolfrydig mewn awydd am foddion gras a lle i addoli yr Arglwydd. Ond fel pob lle newydd, yr oedd anfanteision lawer ar y ffordd. Yr oedd y rhai crefyddol, "y rhai oedd yn ofni yr Arglwydd ac yn meddwl am ei enw ef," yn ychydig mewn nifer, ac yn weiniaid; a'r byd, fel arfer, yn gryf mewn lluosogrwydd. Heblaw hyny, yr oeddynt yn gymysg o wahanol enwadau, a'r "Shiboleth" enwadol yn eu gwahanu oddiwrth eu gilydd, er eu bod wedi dyfod o'r un wlad, ac yn siarad yr un iaith. Yn ychwanegol, nid oedd ar y pryd un adeilad cyfleus a digon eang i'w gael fel y gallasent ymgynull iddo i addoli, nac un enwad yn ddigon cryf a lluosog i adeiladu capel yn eiddo iddo ei hun.

Wrth weled y Cymry yn lluosogi yn y lle, ac ymgyngori a'u gilydd, penderfynodd y Methodistiaid, yr Annibynwyr a'r Wesleyaid ymuno ac ymgorffori yn eglwys reolaidd mewn undeb a'u gilydd; ac anfonwyd am y Parchn. John Davies, Blakely, a Lewis Williams, Carbondale, i ddyfod yno i'r perwyl hwnw. Cymerodd y corfforiad le Mehefin 19, 1859. Derbyniwyd 17 trwy lythyrau, ac yr oeddynt oll fel aelodau crefyddol yn 30 mewn rhif. Dyma y gymdeithas grefyddol Gymreig gyntaf a sefydlwyd yn Olyphant. Yr oeddynt yn cyfarfod i gynal moddion cyhoeddus yn storehouse y Company. Yr un pryd, yr oedd y Bedyddwyr wedi dechreu cynal moddion cyhoeddus ar eu penau eu hunain.

Dan yr amgylchiadau uchod, mae yr ychydig ddysgyblion yn Olyphant, mewn hunan-ymwadiad, yn ymuno i gydweithio a'u gilydd o blaid teyrnas y Gwaredwr, ac yn teimlo yn hyfrydwch ganddynt allu hysbysu i'w cydwladwyr fod eglwys i Grist yn y lle, a drws agored i bechaduriaid i ddyfod i ymofyn am le yn ei dy, ac enw yn mhlith ei bobl.

Yr oedd y Parch. John Moses yno gyda hwynt o'r dechreuad, yn wr ieuanc llawn o ysbryd gwaith, newydd gychwyn yn y weinidogaeth, a bu o wasanaeth gwerthfawr i'r achos ar ei gychwyniad.

Ofnai y cyfeillion y buasai storehouse y Company yn rhy oer i gynal moddion yn y gauaf yno, ac yr oeddynt wedi meddwl am gael lle mewn ysgoldy oedd yn cael ei adeiladu, eithr cawsant Hall gyfleus yn y dref, a buont yn gysurus a llwyddianus yno nes aeth y lle yn rhy fach iddynt. Wedi hyny penderfynwyd adeiladu capel yn y lle. Yr oedd amgylchiadau yn gosod "angenrhaid" arnynt, neu ynte adael i'r achos ddyoddef cam oddiar eu dwylaw.

Er mai achos undebol ydoedd, bu y Cyfarfod Dosbarth yn gefnogol i'r eglwys ac i'r symudiad o adeiladu capel. Yn mis Mehefin, 1861, yr oedd Cyfarfod y Dosbarth yn cael ei gynal yn y lle, ac mae y Parch. John Moses yn rhoddi cynllun i adeiladu capel ger bron y Cyfarfod, "Ac wedi ystyriaeth fanwl a phwyllog, rhoddwyd anogaeth daer i'r brodyr yno i fyned yn mlaen ac adeiladu capel i'r genedl yn y lle, ac anogwyd Mr. Moses i gario allan y cynllun a nodwyd ganddo ef ei hun, mewn undeb a'r brodyr, yn ffyddlawn."

Bellach aethpwyd at y gwaith o adeiladu o ddifrif, a bu y ddau enwad, y Methodistiaid a'r Annibynwyr, yn cydaddoli ac yn cydweithio nes oedd y capel yn rhydd o ddyled. Pan aethpwyd i wneyd hyny yn hysbys trwy y newyddiaduron Cymreig, dygwyddodd amryfusedd (os amryfusedd hefyd), trwy ei gyhoeddi fel capel i'r Annibynwyr. Teimlodd y blaid Fethodistaidd yn fawr oblegid hyn, gan y gwyddent eu bod wedi gwneyd cymaint o ymdrech a'r blaid Annibynol i'w gael yn rhydd o ddyled; a phenderfynwyd ar unwaith eu bod i gychwyn achos eu hunain. Ond yr oedd yn rhaid iddynt gychwyn eto dan yr un amgylchiadau anfanteisiol ag yr oeddynt wedi myned trwyddynt y waith gyntaf, gan ddechreu mewn Hall, "ond gwell oedd hyn er bod ar aelwyd eu hunain."

Dyma ddechreu yr eglwys Fethodistaidd yn y lle, ac yr

oedd eu nifer o 35 i 40. Cymerodd y Cyfarfod Dosbarth sylw o'r brodyr, a bu yn bob cefnogaeth ag oedd yn bosibl iddynt. Anfonwyd y Parchn. J. E. Davies, W. H. Williams a Mr. Daniel Moses yno i gorffori yr eglwys mewn trefn reolaidd, yr hyn a wnaethant Gorphenaf 3ydd, 1870. Arosodd y brodyr gyda'r cyfeillion dros y Sabboth i bregethu a gweinyddu yr ordinhad o Swper yr Arglwydd, ac yr oedd arogl esmwyth ar y gweinyddiadau. Wedi i'r brodyr wneyd eu hadroddiad, derbyniwyd yr eglwys i undeb a'r Dosbarth yn Carbondale, Medi, 1870. Dewiswyd y brodyr canlynol yn swyddogion gan yr eglwys, y rhai a gadarnhawyd gan y Cyfarfod Dosbarth: Mri. Thomas Jenkins, Llywelyn Jones a David Rees. Cynyddodd yr eglwys yn gyflym, fel y bu yn rhaid iddynt adeiladu capel iddynt eu hunain, a gwnaed hyny yn y flwyddyn 1872. Ei faint oedd 36x50, ac yr oedd y draul o'i adeiladu a'i ddodrefnu yn $4,000. Dewiswyd yn ymddiriedolwyr, Mri. Thos. Jenkins, Joseph Davies, Edward Jones, John Parry a John Evans.

Ymddengys i ni fod yr eglwys fechan yn cychwyn dan amgylchiadau addawol, ond yn fuan wedi hyny mae yn cyfarfod a phrofedigaethau. Ymddengys oddiwrth adroddiad y cenadon a anfonwyd oddiyno i Gyfarfod Cymru Newydd, 1874, fod y brodyr mewn trallod, am fod y rhai oedd wedi benthyca arian iddynt i adeiladu yn galw am danynt, ac yn bygwth cyfraith arnynt. Mae y Cyfarfod yn nodi y Parchn. M. A. Ellis a W. E. Morgans i ysgrifenu at Robert Lloyd a Mrs. Owens, "I ddymuno arnynt fod yn ymarhous am yr arian oedd ganddynt ar y lle." Bu hyny yn fantais a chyfleusdra i'r cyfeillion i dalu y ddyled, a gwaredwyd hwynt rhag colli y capel.

Yn Moosic, 1876, mae y pwyllgor ar achosion eglwysig wedi bod yn Olyphant, oblegid pethau annymunol ag yr oedd yr eglwys yn methu eu terfynu, a barnent eu bod wedi llwyddo i adferu heddwch yno, a gwnaed cais drostynt at y Bwrdd Cenadol am $50 i'w cynorthwyo. Bu hefyd mewn trafferth arianol yn 1879, a phenododd y Cyfarfod y

Parch. J. E. Davies, Mri. W. D. Davies a Rees Morgan yn bwyllgor i derfynu y mater, a daeth yr eglwys fechan trwy yr amgylchiad hwn yn glir ac anrhydeddus. Mae y Cyfarfod Dosbarth a gynaliwyd yno yn 1879 yn datgan ei deimlad fel y canlyn: "Ein bod yn cydlawenhau ag eglwys fechan Olyphant yn ei llwyddiant i ddileu dyled ei haddoldy. Hefyd, ei bod yn deilwng o ganmoliaeth uchel am ei hymdrechion i gyraedd y nod hwn, ac o efelychiad llawer o eglwysi eraill." Ond profedigaeth chwerwach na'r oll i'r eglwys fechan hon oedd i'r capel losgi i lawr, ac heb ddim yswiriant arno. Dygwyddodd hyny tua'r flwyddyn 1881, a bu bron i'r brofedigaeth hon eu llwyr ddigaloni. Anfonasant lythyr at y Gymanfa, yr hon a gynelid yn Hyde Parb, i ddweyd eu cwyn. Dangosodd y Gymanfa gydymdeimlad dwys a'r cyfeillion yn eu profedigaeth a'u colled, ac anogwyd hwynt i ail-adeiladu, a rhoddwyd drws agored iddynt am dri mis i gasglu trwy gylch y Dosbarth er talu ei draul.

Fel mae bywyd yn mhoo man yn egluro ei hun mewn yni a gweithgarwch yn ngwyneb anhawsderau, felly mae brodyr Olyphant yn codi o ddifrif ac yn ail-adeiladu capel, á thalwyd am dano mewn amser byr. Nid ydym yn gwybod fod agoriad ffurfiol wedi bod ar y capel hwn, ond fod y brodyr wedi cartrefu ynddo ac addoli yr Arglwydd gyda chysondeb yn Sabbothol ac wythnosol o hyny hyd yn awr. Yn 1896 gwnaed adgyweiriad arno er ei harddu oddifewn, a gosod eisteddleoedd newyddion a chysurus ynddo. Wedi cwblhau y gwelliantau hyn cynaliwyd gwasanaeth neillduol ar y Sabboth yn mhen pum' mlynedd ar hugain ar ol corffori yr eglwys. Pregethwyd gan y gweinidog ar y geiriau, "Hyd yma y cynorthwyodd yr Arglwydd ni," pryd y cymerodd achlysur i sylwi ar ofal yr Arglwydd am ei bobl yn mhôb oes o'r byd, ac yn mhob amgylchiadau, ac nad oedd yr eglwys heb brofiad o ddaioni yr Arglwydd yn ei amddiffyniad drosti, a thynu gwersi pwrpasol i'r amgylchiad gyda golwg ar y dyfodol. Yn y prydnawn cynaliwyd cyfarfod i ganu ac adrodd gan y plant, ac yn yr hwyr cafwyd anerch-

iadau gan aelodau hynaf yr eglwys, a hanes ei gweithrediadau o'r dechreuad hyd y pryd hwn.

Y Gweinidogion fu yn Gofalu am yr Eglwys.—Y cyntaf oedd y Parch. Edward J. Hughes; daeth ef yma o Wilkesbarre yn 1871, a bu yma am dair blynedd gyda llawer o lwyddiant ar ei lafur. Wedi iddo ef ymadael bu yr eglwys yn y drafferth y cyfeiriwyd ato yn flaenorol oblegid y ddyled oedd ar y capel, ac oni buasai i ragluniaeth y nefoedd gyfryngu trwy rai o ffyddloniaid yr eglwys, buasai wedi cael ei werthu i ddwylaw estroniaid. O herwydd hyn ac amgylchiadau eraill bu yr eglwys yn dibynu ar weinidogaeth achlysurol hyd 1886, pan y daeth y Parch. John Isaac Hughes yno, a thra yn aros yno yr ordeiniwyd ef, eto nid arosodd yno ond ychydig gyda blwyddyn wedi hyny. Yn 1890 daeth y Parch. Abraham Edmunds, a bu yntau yno tua dwy flynedd. Yn y cyfwng hwn cafodd yr eglwys ei phrofi unwaith eto, megys trwy dan, ond daeth trwy y prawf heb ei llosgi. Yn bresenol mae yr eglwys dan ofal bugeiliol y Parch. John J. Williams, gwr ieuanc ddaeth yma o'r Dosbarth Deheuol, ac mae wedi profi ei hun yn weinidog ffyddlawn a llafurus.

Y blaenoriaid sydd yn gofalu am yr achos yn dufewnol, wedi marwolaeth Thos. Jones, ydyw y brodyr Hugh B. Rowlands a David W. Davies.

Yr ymddiriedolwyr sydd yn gofalu am ei meddianau ydynt Mri. David Parry, William D. Parry, Hugh Rowlands, John J. Williams a Daniel E. James.

## XI.—PROVIDENCE.

Ymfudwyr o Loegr Newydd oedd preswylwyr cyntaf y fangre hon. Yr oedd y rhai a sefydlodd yn y Wyoming Valley wedi dyfod o Connecticut gan mwyaf, a dichon mai oddiyno y daethant yma hefyd. Ond mae enw y lle yn ein harwain i'r casgliad mai o Rhode Island y daeth rhai o honynt yma, ac mai oddiwrth brif ddinas y Dalaeth hono y galwyd y lle hwn yn Providence. Yr oedd Providence yn

gryn bentref pan nad oedd Scranton yn ddim ond coedwig mewn cydmariaeth. Daeth y sefydlwyr cyntaf a ffasiwn a'c arferion y fro y daethant allan o honi yma gyda hwynt, ac maent yn adeiladu allor i'r Arglwydd, ac yma yr adeiladwyd addoldy gyntaf yn nghyffiniau Scranton. Yr oedd yma Ysgol Sabbothol yn 1845, a chorfforwyd yr eglwys Bresbyteraidd yn agos yr un amser, ac adeiladwyd y "Ty cyfarfod" yn 1845. Y wir eglwys ydyw Duw yn Nghrist yn gwneyd ei drigfa gyda dyn ar y ddaear; ac am hyny mae hanes pob eglwys lle mae gwir saint yn benod ar hanes Duw yn Nghrist yn cylymu calonau dynion wrth eu gilydd mewn undeb ysbryd yn nghwlwm tangnefedd.

Sefydlwyd achos gan y Methodistiaid yma yn mis Hydref, 1871. Amaethwyr oedd y sefydlwyr cyntaf, ac nid oeddynt yn dyfalu dim am fwngloddiau glo yn y lle. Erbyn hyn mae nodwedd cymdeithas wedi newid, ac mae mwnwyr Cymreig, cystal a chenedloedd eraill, wedi symud yno i fyw, ar agoriad y gwahanol weithfeydd; ac yn eu plith mae llawer o Fethodistiaid o ran cred ac ymlyniad. Yr oedd y Cyfarfod Dosbarth yn cadw ei lygad ar y lle fel ardal y gallesid cael achos yno, ac felly anfonwyd y Parch. M. A. Ellis a Mr. John M. Jones, blaenor o Bellevue, i'w chorffori yr adeg a nodwyd. Enwau y rhai oedd yn bresenol amser y corfforiad oeddynt Thomas Lloyd, Richard Roberts a Mrs. Roberts, William A. Price a Mrs. Price ei wraig, Watkin Price, Mrs. Margaret L. Morgans, Mrs. Ann Hughes, Mrs. Elizabeth Williams, Daniel Thomas a Mrs. Thomas. William W. Williams a Mrs. Williams, Mrs. Elizabeth Griffiths, David Goronwy, Mrs. Mary Davies. Mrs. Ellen Jones, merch Walter Phillips, William Humphrey. Dewiswyd Thomas Lloyd a Richard Roberts yn ddiaconiaid yr eglwys ar y pryd. Nid oes unrhyw gofnodion ar gael pa bryd y derbyniwyd yr eglwys a'i swyddogion i undeb a'r Dosbarth, ond mae yn sicr genym fod hyny wedi ei wneyd oblegid yn y flwyddyn 1872 mae y brawd Richard Roberts yn anfon ei ymddiswyddiad yno, yr hyn ni wnaethai pe na

buasai yn aelod o hono. Yn yr un flwyddyn dangosid fod teimlad da yn ffynu yn yr eglwys, er nad oedd yno lawer o gynydd.

Yn Bellevue, Rhagfyr, 1872, mae y Cyfarfod Dosbarth yn penodi tri yn bwyllgor i gydweithredu a'r eglwys i adeiladu capel, os barnent hyny yn ddoeth, sef Dr. Roberts, a John M. Jones, Bellevue, a James R. James, Hyde Park. Gyda chymorth ac arolygiaeth y pwyllgor hwn aeth yr eglwys yn mlaen i adeiladu. Yr oedd y lot yn werth $250, ac yr oedd traul yr adeilad yn $2,935. Yr ymddiriedolwyr cyntaf oeddynt, Mri. Thomas Lloyd, W. A. Price a William Humphreys. Am fod yr eglwys a'r gynulleidfa yn wan, bu yn ymdrech galed am flynyddoedd i dalu dyled y capel. Cafwyd $500 yn rhodd gan ymddiriedolwyr hen gapel Scranton, o dan arolygiaeth y Cyfarfod Dosbarth. Bellach, trwy lawer o ymdrech a ffyddlondeb, mae y cwbl wedi ei ddileu er's rhai blynyddoedd. Cafodd yr eglwys charter ag sydd yn diogelu yr eiddo i'r Methodistiaid Calfinaidd, ac mae pob peth yn allanol mewn gwedd drefnus yno.

O ran gweinidogaeth, mae yr eglwys hon, fel llawer eraill, wedi bod yn dibynu ar weinidogaeth deithiol, yn enwedig yn y blynyddoedd cyntaf. Pan oedd y Parch. M. A. Ellis yn Hyde Park, yr oedd ef yn myned yno yn fynych brydnawn Sabboth i bregethu. Y Parchn. William E. Morgans, William Matthews, John Irlwyn Hughes, R. H. Evans, B. D. Davies, John M. Evans, W. H. Williams ac eraill, fu yn myned yno yn fynych hyd yn 1877, pan y gwnaeth yr eglwys gytundeb a'r Parch. Joseph E. Davies i ddyfod yno ddau Sabboth o bob mis; ac yr oedd yr eglwys ar y pryd yn cael cymorth o'r Gymdeithas Genadol. Wedi hyn symudodd y Parch. Joseph Rees i'r lle i fyw, a bu yno am rai blynyddoedd, eto nid fel bugaill. Tua'r flwyddyn 1889, neu '90, symudodd i Miners Mills, lle y bu farw. Bu yr eglwys am dymor drachefn yn dibynu ar supply hyd 1894, pan y daeth William Jones Edwards yno, ac arosodd ychydig fwy na blwyddyn. Yn bresenol mae yr eglwys dan ofal a bugeiliaeth y Parch. D. Celyddon Phillips.

Cyfarfyddodd yr eglwys hon ag ystormydd, oblegid anghydfodau lawer, ond hyderwn fod y cyfnod hwn yn ei hanes wedi myned heibio, ac yr amcanant at fod yn fwy o ddynion.

Dywed yr hanesydd oddiyno fel y canlyn: "Bum yn ddiacon yno am ddwy flynedd ar bymtheg. Cefais lawer iawn o gyfeillachau dedwydd yn mhlith y brodyr, ond mae llawer o honynt bellach wedi myned oddiwrth eu gwaith at eu gwobr."

Bellach, er's rhai blynyddoedd, mae Providence wedi dyfod yn rhan o'r ddinas, ac yn cael ei galw "North End." Hwyrach nad ydyw hyny yn un fantais i'r eglwys hon gynyddu, ond hyderwn fod amser gwell yn ei hanes yn y dyfodol.

## XII.—Jermyn.

Mae y lle hwn ar waelod dyffryn y Lackawanna, oddeutu pum' milldir i'r de o Carbondale. Y cynyg cyntaf at sefydlu achos Methodistaidd yn y lle hwn oedd yn 1861. Y pryd hwnw yr oedd yn cael ei adwaen wrth yr enw Rushdale. Yr oedd Mr. Joshua Williams wedi dyfod yn ol i'r parthau hyn o'r Gorllewin, ac agorodd waith glo yn y lle hwn, ac ymgasglodd lluaws o Gymry a Methodistiaid i'r lle. Anfonwyd cais oddiyno i'r Cyfarfod Dosbarth am gymorth i sefydlu eglwys, yn mis Medi y flwyddyn uchod, a phenododd y Cyfarfod y Parchn. John Moses, Olyphant, a John Davies, Blakely, i fyned yno i gyflawni y gorchwyl hwn. Yn y Cyfarfod dylynol, yr hwn a gynaliwyd yn Pittston, Ionawr, 1862, mae y pwyllgor yn gwneyd adroddiad eu bod wedi sefydlu eglwys yn Rushdale, a bod y brawd Jonah Morgan wedi ei ddewis yn flaenor yno, a derbyniwyd ef hefyd i undeb a'r Dosbarth yr un pryd. Am ryw reswm, mae Mr. Williams yn gwerthu ei anturiaeth i John Jermyn, enw sydd yn dra adnabyddus bellach er's blynyddoedd yn Scranton a'i hamgylchoedd, fel dyn cyfoethog. Ar yr anturiaeth a gychwynwyd gan Mr. Williams y gwnaeth ei ar-

ian i ddechreu, ac i gadw ei enw mewn coffadwriaeth y newidiwyd enw y lle yn Jermyn, er na wyddom am ddim arall sydd yn teilyngu cadw ei enw mewn cof ond ei arian. Modd bynag am hyny, bu y cyfnewidiad hwn yn achos i'r Cymry chwalu a symud o'r lle, a darfu yr eglwys oedd wedi ei sefydlu yno ar y pryd. Ni wnaed un cynyg drachefn at hyn hyd 1872, ac erbyn hyn mae y lle wedi newid ei enw o fod yn Rushdale i fod yn Gibsonburg.

Mae y Cyfarfod Dosbarth a gynaliwyd yn Providence, Mehefin, 1872, yn penodi y Parch. B. D. Davies, Hyde Park, a Mr. Thomas L. Jones, Carbondale, i fyned i Gibsonburg i gorffori eglwys. Mae y cenadau yn gwneyd eu hadroddiad yn y Cyfarfod dylynol, yr hwn oedd yn Hyde Park, eu bod wedi sefydlu eglwys yn y lle uchod, a bod y brodyr James Griffiths a Jeremiah Williams wedi eu dewis yn ddiaconiaid yno. Heblaw eraill, yr oedd David Nicholas, Thos. Hopkins a W. F. Davies yno y pryd hwnw, yn nghyd a chynulleidfa weddol dda, yn argoeli y buasai achos yn tyfu yn y lle. Ond mae yr un Cyfarfod yn penodi y Parch. E. J. Hughes a Mr. Thos. Jenkins, Olyphant, i fyned yno i ymdrin ag achos brawd oedd yn ymgeisydd am aelodaeth, a hefyd i ymholi a fyddai yn ddoeth dewis blaenor arall yno; a hefyd i wneyd ymchwiliad am ragolygon y dyfodol, ac am y priodoldeb i fyned i'r draul o adeiladu capel yno ar hyn o bryd. I'r Cyfarfod Dosbarth dylynol, yr hwn a gynelid yn Bellevue, mae yr eglwys hon yn anfon cais am gymorth i ddewis blaenor yn ychwanegol, ond gwrthodwyd y cais, am fod y Cyfarfod yn barnu nad oedd arnynt angen rhagor yn bresenol. Hefyd, rhoddwyd anogaeth i'r brodyr i gasglu gartref tuag at adeiladu y capel, ac i wneuthur ymchwiliad am dir mewn man cyfleus, a dyfod ag adroddiad o'u gweithrediadau i'r Cyfarfod nesaf. Yn Mawrth, 1873, mae y Cyfarfod Dosbarth yn cadarnhau gwaith yr eglwys yn dewis rhagor o flaenoriaid, ac yn derbyn y brawd David Nicholas i undeb a'r Dosbarth, ac yn Nghyfarfod Mehefin yn caniatau rhyddid iddynt i adeiladu capel, a rhyddid

i gasglu ato, o Dan i Beerseba, a bod eu cais am ordeinio y Parch. W. E. Morgans yn cael ei gyflwyno i'r Gymanfa nesaf.

Adeiladwyd yno gapel da, o ran maint yn 25x50, gyda tho llechi arno, ac wedi ei orphen oddifewn yn ddestlus a hardd, ac yn ddigon helaeth i gynwys 250 o wrandawyr; ac yn y blynyddoedd cyntaf yr oedd yn llawn o bobl. Yr oedd y draul o'i adeiladu tua $2,600. Agorodd Mr. Williams y gwaith glo ar yr ochr ddwyreiniol i'r afon, ac yr oedd y lle i gyd yn anialwch y pryd hwnw; ond fel y dechreuodd y lle wisgo gwedd mwy gwareiddiedig, yr oedd yn eglur mai ar yr ochr orllewinol i'r afon y buasai y dref yn debyg o fod. Pan aeth y Methodistiaid i feddwl am adeiladu capel, yr oedd rhai yn awyddus am ei gael lle yr oedd rhagolygon am i'r dref fod; ond yr oedd yn rhaid prynu lot yno. Ar y llaw arall, yr oedd y Glenwood Coal Co. yn cynyg lot ar yr ochr ddwyreiniol i'r afon iddynt am ddim. Ac mae yn sicr fod y gwahaniaeth rhwng derbyn lle i adeiladu yn rhodd, a thalu am dano, yn bwysig yn ngolwg ychydig weithwyr, ac felly derbyniwyd cynyg y Cwmni. Er hyny mae yn sicr eu bod wedi gwneyd camgymeriad wrth adeiladu y capel o'r neilldu, allan o gyraedd y bobl, ac ni bu fawr o lewyrch ar yr achos hwn ar ol y blynyddoedd cyntaf. Enw presenol y lle y saif y capel arno ydyw Mayfield Township; tra mae Jermyn, wrth yr hwn yr ydym yn adnabod y lle yn gyffredin, yr ochr arall i'r afon. Ymddiriedolwyr cyntaf y capel hwn oedd W. E. Morgans, John C. Evans, David Nicholas, John Davies a Jeremiah D. Williams, a'r rhai presenol ydyw Thos. M. Griffiths, Thos. Hopkins, John Evans.

Dichon mai un anfantais i lwyddiant yr achos hwn fu diffyg gofal gweinidogaethol. Nid ydym yn gwybod fod pregethwr na gweinidog wedi bod yn byw yno ond hyny fu y Parch. W. E. Morgans yno. Heblaw hyny, yr ydym yn cael fod y Cyfarfod Dosbarth wedi cymell y Parch. M. A. Ellis i ofalu am y lle yn 1874, a dyna y cwbl. Bu yno lawer o anghydfodion, fel mae cofnodau y Cyfarfod Dosbarth

yn dangos, a phwyllgorau ar ol pwyllgorau yn cael eu hanfon yno ar achlysuron annymunol, ac mae yn sicr fod hyny wedi bod yn atalfa ar lwyddiant yr achos. Mae yn bosibl fod y brodyr oedd yno yn arwain wedi bod yn fwy diymadferth i ddal yr achos i fyny, a sicrhau gweinidogaeth fwy cyson, nag y buasai raid iddynt fod. Rhwng pob peth, diflanodd yr achos, ac mae y capel wedi ei gau er's pedair blynedd bellach. I gwblhau hyn o hanes, dodwn ger bron y darllenydd weithrediadau y Cyfarfod Dosbarth gyda golwg ar derfyniad yr achos yn Jermyn:

Yn Sugar Notch, 1887, mae y cenadwr fu yn Jermyn yn gwneyd adroddiad ei fod wedi llwyddo i gael gan y brawd Thos. Hopkins i addaw gofalu am yr achos yn y lle. Yn Hyde Park, 1890, "Penderfynwyd yn ngwyneb cyflwr isel a darfodedig yr achos yn Jermyn, fod y Parchn. W. R. Matthews ac Abram Edmunds, Olyphant, a D. Williams, Carbondale, i gydweithredu a'r ymddiriedolwyr er diogelu yr eiddo, a'i agdw heb ei anmharu." Yn Sugar Notch, 1891, yn ngwyneb adroddiad Mr. Matthews, "Penderfynwyd (a) Ein bod yn ychwanegu Abram Edmunds a John S. Davies at y pwyllgor ar achos y capel ac eiddo yr eglwys yn Jermyn. (b) Fod yr ymddiriedolwyr i weithredu yn unol a chyfarwyddyd pwyllgor dewisedig y Cyfarfod Dosbarth. Yn Carbondale, 1892, "bu sylw drachefn ar y capel ac eiddo eglwys ddiflanedig Jermyn, a phenderfynwyd fod y pwyllgor yn cael ei anog i werthu y capel i'r Presbyteriaid, os gellir, neu ynte i ryw enwad arall, neu barti arall a'i pryno." Yn yr adeg hon collwyd cyfleusdra i werthu y capel i fasnachwr, er ei droi yn ystordy, trwy i'r Presbyteriaid o Carbondale ddyfod yno i gychwyn ysgol, ond methiant aeth yr ysgol ganddynt hwy, ac ni wnaent un osgo i brynu y capel ychwaith.

Yn 1893 mae y Cyfarfod Dosbarth yn "Penderfynu fod eglwys Carbondale i ymgymeryd ag ail gychwyn moddion crefyddol yn Jermyn, ac i anfon eu pregethwr yno bob Sabboth ag y pregethai yn Carbondale." Ond aeth y mesur

hwn yn fethiant hefyd, ac nid oedd dim bellach i'w wneyd ond anog yr ymddiriedolwyr i ofalu am yr eiddo, yr hyn maent wedi ei wneyd yn ffyddlon hyd yn bresenol.

## XIII.—Grand Tunnel.

Dechreuwyd achos gan y Methodistiaid yn y lle bychan hwn yn y flwyddyn 1871. Yr oedd Mr. David Morgan, sydd yn byw yn bresenol yn Scranton, yn un o'r Cymry cyntaf i sefydlu yno. Dylynwyd ef yno gan Mri. Isaac Rees, E. Evans, Thomas Jones, William Jones, Thos. Davies, David Thomas, Isaac Thomas, David Morris, Lewis Griffiths, David Griffiths, John Griffiths, Dan Evans, John Morgan a Jenkin Lewis, a'u teuluoedd. Symudodd y rhai hyn yno o Scranton a'r amgylchoedd. Daeth John Evans yno o Wanamie (yr oedd ef wedi dechreu pregethu yn Danville), a John R. Matthews o Carbondale. Dechreuwyd cadw ysgol yn nhy Mr. David Morgan, ac yr oedd ynddi o 25 i 30 o blant, a bu argoel am achos blodeuog yno unwaith, ond fel llawer o leoedd eraill yn y gweithfeydd glo, mae y cwbl yn diflanu megys ar unwaith. I'r Cyfarfod Dosbarth gynaliwyd yn Providence, Mehefin, 1872, mae y cyfeillion yn Grand Tunnel yn anfon cais am genadon i ddyfod yno i sefydlu eglwys, a phenodwyd y Parch. E. J. Hughes a Mr. Richard Roderick i fyned yno. Yn Nghyfarfod Hyde Park, Medi, mae y cenadon yn gwneyd adroddiad eu bod wedi cyflawni y gorchwyl a ymddiriedwyd iddynt o sefydlu eglwys yn y lle uchod, a bod y brawd John R. Matthews wedi ei ddewis i flaenori. Ystyrid fod Mr. Matthews yn aelod o'r Cyfarfod Dosbarth o'r blaen, a derbyniwyd yr eglwys i undeb a'r Dosbarth. Yn yr un Cyfarfod mae y brodyr yn gwneyd cais am gael dyfod trwy y Dosbarth i gasglu at adeiladu capel yn Grand Tunnel, a chaniatawyd y cais ar yr amod iddynt gasglu $500 yn eu plith eu hunain. Hefyd, penodwyd y Parch. Thos. J. Phillips a Jonah Lewis o Plymouth yn bwyllgor i gynorthwyo y brodyr i gael tir i adeiladu arno; a hefyd i ymgyngori a hwynt gyda golwg ar

faint a thraul yr adeilad. Ond, fel yr hysbyswyd i ni, ychydig o gymorth estynodd y pwyllgor hwn i'r brodyr. Yn Nghyfarfod Rhagfyr, 1872, mae y Cyfarfod Dosbarth, ar ran yr eglwys, yn gwneyd cais at yr eglwysi ar iddynt anfon pregethwr neu weinidog am Sabboth neu ddau yn ystod y tri mis i Grand Tunnel, neu ynte i estyn iddynt gymorth mewn modd arianol. Tua'r adeg hon y symudodd y brawd John Evans o Wanamie yno, a chan ei fod yn bregethwr, bu ei ddyfodiad yn llawer o help i'r achos yn y lle. Ar y pryd yr oedd pob peth yn ymddangos yn addawol. Yn 1873 dewiswyd Mri. Jenkin Lewis a John B. Davies yn swyddogion yno.

Ond pan oedd y brodyr wedi gwneyd addewidion helaeth at gael capel, a'r cytundeb a'r adeiladydd wedi ei wneyd, a'r gwaith yn myned yn ei flaen, safodd y gwaith, a thaflwyd pob peth i ddyryswch; ac yn raddol ymadawodd y Cymry o'r lle ond Mr. Lewis a Mr. Morgan Thomas, yr hwn sydd yn awr yn byw yn Plymouth, ac ychydig wragedd a phlant. Gorphenwyd y capel yn ol y cytundeb, ac yr oedd y draul o'i adeiladu yn agos i $1,400; ond erbyn ei fod yn barod yr oedd yr amcan o'i adeiladu yn ofer, gan fod y bobl wedi ymadael. Erbyn hyn yr oedd Mr. Lewis wedi ei adael ei hunan i ofalu am yr achos, gan fod Mr. Matthews yn myned i Nanticoke i addoli; a bu yn ffyddlon ac ymdrechgar i gynal Ysgol Sabbothol, a chasglai plant y fro yno i'r ysgol, yn cynwys Gwyddelod ac Ellmyniaid, yn gystal a Chymry, a bu yn dra bendithiol i'r ardal. Rhifai y plant yn fynych o 70 i fyny.

Yn yr adeg hon daeth yr achos i sylw y Cyfarfod Dosbarth, ac yn Wilkesbarre, Rhagfyr, 1875, penodwyd pwyllgor er cario allan yr hyn oedd yn angenrheidiol mewn cysylltiad a'r capel. Yn Nghyfarfod Mawrth, 1876, galwyd am adroddiad y pwyllgor, ond nid oedd dim wedi cael ei wneyd, a phenodwyd iddo barhau. Yr un modd, yn Nghyfarfod Meai; ac archwyd i'r Parch. Thos. J. Phillips alw y pwyllgor yn nghyd yn ddioed, eto ni wnaeth y pwyllgor ddim o'r

gwaith benodwyd iddo. Mae Cyfarfod Rhagfyr, 1876, yn penodi pwyllgor o dri i dynu cynllun i dalu y ddyled arosol ar gapel Grand Tunnel, ac i ddwyn y cynllun i weithrediad, mewn undeb a'r eglwys, sef y Parchn. E. J. Hughes, Thos. J. Phillips a Mr. Isaac Rees. Mae y Cyfarfod dylynol yn penodi Mr. W. T. Smith at y pwyllgor, yn absenoldeb y Parch. Mr. Hughes. Pa faint a wnaeth y pwyllgor i gyraedd yr amcan nis gwyddom, ond trwy ymdrechion y pwyllgor a'r eglwys fechan, fe dynwyd dyled y capel i lawr $500, neu beth yn rhagor. Yr oedd y gweddill yn ddyledus i wahanol fasnachwyr am nwyddau adeiladu, ac yr oeddynt yn gwaeddi am eu harian. Yn y cyfamser, mae boneddwr o'r enw Daniel Spray o Plymouth, yn talu y ddyled, ac yn rhyddhau y capel oddiwrth y gofynwyr hyny; a chan ei fod yn gydnabyddus, ac yn meddu ymddiried yn Mr. Lewis, yr oedd yn hyderus y cawsai ei arian yn ol. Yr oedd y weithred hon yn un o garedigrwydd mawr â'r achos ar ran Mr. Spray.

Wedi bod yno chwe' blynedd, barnodd Mr. Lewis fod yn rhaid iddo yntau ymadael, a rhwng difrawder y pwyllgor a gwendid yr ychydig gyfeillion yn y lle, nid oedd y ddyled yn ddim llai, ac nid oedd bellach ddim i'w wneyd ond gadael y capel fel yr oedd i Mr. Spray, oblegid gwelai nad oedd dim i'w ddysgwyl wedi i Mr. Lewis ymadael. Yr un pryd, cynygiodd ei hawl ynddo i Mr. Lewis am $300, er hyny ni wnaed dim i sicrhau meddiant o hono, a'i werthu er mantais i'r enwad.

Yn y cyfwng hwn mae Cyfarfod Rhagfyr, 1877, yn penodi pwyllgor arall i gymeryd sylw o achos Grand Tunnel, ac mae Cyfarfod Mawrth, 1879, yn penodi i'r pwyllgor barhau; ac yn Mehefin, 1879, derbyniwyd a chymeradwywyd adroddiad y pwyllgor, a phenderfynwyd nad oedd llyfrau yr ysgol i'w dosbarthu i neb hyd y Cyfarfod dylynol, yr hyn sydd yn awgrymu fod achos Grand Tunnel wedi ei restru yn mhlith y pethau a fu.

XIV —BANGOR, NORTHAMPTON CO.

Dechreuodd Cymry ymsefydlu yn y lle hwn tua'r flwyddyn 1866. Yr oedd ychydig Gymry wedi sefydlu yn Spelzburgh (East Bangor) rai blynyddoedd cyn hyn. Y Cymro cyntaf ddaeth i'r ardal hon oedd Mr. Robert Jones, mab i hen bregethwr Methodistaidd yn Sir Gaernarfon, y Parch. Morris Jones. Adnabyddid ef gan ei gydwladwywr wrth yr enw "Yr Hen Broffwyd." Efe a agorodd y chwarel a elwir "Chwarel Bangor." Nid oedd y lle y pryd hwnw ond pentref dinod, gydag ychydig o dai, a gelwid ef Tittsville a New Village. Prynodd Mr. Jones lawer o dir yma, a bedyddiodd y lle yn Bangor, ar ol Bangor, Cymru. Yr oedd Mr. Jones y Cymro mwyaf anturiaethus fu yn y lle o hyny hyd yn awr, ac mae Bangor yn ddyledus iddo ef am ei gychwyniad a'i gynydd yn fwy na neb arall.

Mor agos ag y gellir cael allan, yn y flwyddyn 1867 y dechreuodd Cymry gynal Ysgol Sabbothol yn y lle hwn, mewn ystafell fechan uwchben store William Speer, ond am mai ychydig oedd ffyddloniaid yr achos da, bu yn wan a nychlyd am hir amser; weithiau yn cael ei chynal, ac weithiau ddim. Bu hefyd yn cael ei chynal am beth amser yn Spelzburgh (East Bangor), ac ymddengys ei bod ychydig yn fwy llwyddianus yno nag yn Bangor. Y pregethwr cyntaf fu yn pregethu Cymraeg yma oedd Thomas Williams (Cilfoden), yn y flwyddyn 1859. Ar ol hyny nid oes hanes fod neb wedi bod yma hyd 1866-7. Y pryd hyny ymwelwyd a'r ardal gan Dr. Roberts, a dylynwyd ef gan Henry Roberts (Coed), Iorwerth Callestr, Tafalaw, John Williams, Joseph E. Davies ac M. A. Ellis.

Yn 1870 ymunodd yr ychydig Gymry oedd yn proffesu crefydd a'r Presbyteriaid, ond ni pharhaodd yr undeb hwn yn hir, oblegid yn 1872 daeth y Parch. Howell Powell, New York, yno i sefydlu eglwys undebol, yr hon a barhaodd yn lled lwyddianus hyd 1873. Yn y Gymanfa a gynaliwyd yn West Bangor, 1872, daeth amgylchiadau Cymry Northamp-

ton a manau eraill i sylw. "Cwynid yn fawr o achcs eu sefyllfa wasgaredig, a'u pellder oddiwrth bob sefydiad Cymreig arall, yr hyn sydd yn gwneyd yn anmhosibl lai na'u bod yn amddifad iawn o weinidogaeth yr efengyl, a phenodwyd y Parchn. Dr. Roberts ac E. J. Hughes i ymweled a'r achos yn Bangor."

Yn y Gymanfa ddylynol yn Hyde Park, 1873, gwnaeth y pwyllgor adroddiad, a chyflwynwyd eu hachos i'r Cyfarfod Dosbarth Gogleddol, "Ac anfonwyd llythyr atynt i'w cysuro, a'u hanog i ffyddlondeb a gweithredoedd da." Dyma y rheswm paham y daeth yr églwys hon i undeb a'r Dosbarth Gogleddol, ac mae y Cyfarfod a gynaliwyd yn Wilkesbarre, Mawrth, 1873, yn penodi y Parch. Joseph E. Davies a Mr. David Williams, Plymouth, i fyned yno i sefydlu eglwys, ac yn Nghyfarfod Mehefin gwnaeth y pwyllgor adroddiad eu bod wedi corffori eglwys yno Mawrth 22, a bod rhif yr eglwys ar y pryd yn 34 o aelodau, yn cynwys y rhai canlynol: Thomas Williams, Moses R. Moses a Mrs. Moses, Evan W. Roberts a Mrs. Roberts, Owen Jones, Griffith E. Roberts a Mrs. Roberts, Robert J. Roberts a Mrs. Robetrs, John Thorman a Mrs. Thorman, D. J. Evans, Jabez M. Williams, W. G. Ellis, Edward Jones, Elias G. Williams, Wm. R. Jones, Thos. Parry, Robert G. Roberts, Griff. G. Roberts, Elizabeth Griffiths, John Thomas, Annie Jones, Richard Ellis a Mrs. Ellis, Robert R. Davies. Dywed yr hanesydd mai 10 yn unig o'r rhai oedd yn sefydlu yr eglwys sydd yn aros yno hyd heddyw. Mae y gweddill wedi ymadael, neu wedi meirw.

Dewiswyd tri yn flaenoriaid yr eglwys ar y pryd, Mri. Thos. Williams, Evan R. Moses ac Evan W. Roberts. Efe yn unig o'r tri hyn sydd yn aros hyd heddyw. Bu yr eglwys yn addoli am dymor mewn ysgoldy bychan, yr hwn sydd yn bresenol tu ol i gapel y Lutheriaid. Dechreuwyd adeiladu y capel yn mis Mehefin, 1873, ac yn mis Hydref yr oedd y basement yn barod; ac maent yn symud yno hyd nes gorphen yr adeilad, yr hyn a wnaed yn y flwyddyn

ganlynol, ac agorwyd ef Ebrill, 1874, a gwasanaethwyd ar yr achlysur gan Dr. W. C. Roberts, Elizabeth, N. J., M. A. Ellis, Joseph E. Davies, Hyde Park a Howell Powell, New York. Costiodd yr adeilad $5,000. Yn Awst, 1874, mae yr eglwys yn rhoddi galwad i'r Parch. M. A. Ellis i ddyfod yno yn weinidog, a gwasanaethodd yr eglwys hyd Hydref, 1875. Yn 1877 mae yr eglwys yn gwneyd cytundeb a'r Parch. Joseph E. Davies i ddyfod yno unwaith yn y mis, a bu yntau yn ffyddlon i'r alwad hon hyd ddiwedd 1879; pan y tarawyd ef yn glaf, pan ar ganol pregethu, ac er iddo wella rhyw gymaint, dyma y Sabboth diweddaf iddo bregethu o gwbl. Bu cysylltiad Mr. Davies a'r eglwys o fendith fawr iddi. Cafwyd ganddo gyfres o bregethau gwir dda, ac yr oedd yr eglwys yn gyffredinol yn meddwl yn fawr o hono, ac yntau o'r eglwys. Rhifai yr eglwys ddiwedd tymor Mr. Davies 62; cynydd o 35 mewn pum' mlynedd. O hyny hyd 1887 bu heb fugail, ac eto yn cael gweinidogaeth yn lled gyson. Er fod corff yr eglwys yn hynod weithgar, yr oedd yn anfantais fawr iddi fod heb weinidog. Mae yn anmhosibl i ddynion sydd yn gorfod rhoddi eu holl yni a'u hamser gyda'r byd hwn, wneyd cyfiawnder gyda'r eglwys yn ei gwahanol gangenau, yn enwedig gyda'r plant a'r ieuenctyd. Mae yr hanesydd yn credu fod ôl y cyfnod hwn ar eglwys Bangor eto, a'i bod mewn canlyniad wedi colli ei gafael ar amryw o bobl ieuainc oedd gyda hwynt pan yn blant. Yn Ionawr, 1887, rhoddodd yr eglwys alwad i'r Parch. R. E. Williams, a bu yntau yma hyd 1889, a'i wasanaeth o fendith fawr i'r eglwys, yn neillduol y plant. Yr oedd ef yn gofalu am burdeb yr eglwys, cystal a'i rhif, a chynyddodd yr eglwys yn ystod bugeiliaeth Mr. Williams o 101 i 157.

Yn Mawrth, 1891, daeth y Parch. John Hammond i gymeryd gofal yr eglwys, a bu yntau yn hynod lwyddianus gyda'r ieuenctyd, a chynyddodd yr eglwys yn y tymor hwn o fod yn 157 i 183.

Mewn perthynas i'r eglwys yn bresenol, gellir dweyd ei bod ar y cyfan yn lled lewyrchus, a'r olwynion yn troi yn

lled reolaidd, er mai ychydig o ysbryd y peth byw sydd i'w weled yn symud ynddynt. Wrth gydmaru y presenol a'r gorphenol, fe welir fod yma gynydd mawr, yn neillduol mewn rhif, eto mae lle i ofni fod ei nerth mewn un cyfeiriad wedi troi yn wendid mewn cyfeiriad arall. Mae ei rhifedi yn peri iddi deimlo yn hunan-ddigonol. Mae y cyfraniadau yn llai yn ol y rhifedi, a'r ysbryd cenadol oedd yn ei nodweddu yn y blynyddoedd cyntaf wedi ei golli. Y brodyr sydd yma er y dechreuad sydd wedi bod yn golofnau yr achos ar hyd y blynyddoedd, a'u sel a'u cariad heb oeri eto. Y pryd hwnw yr oedd y brodyr oll yn barod i gymeryd rhan yn y moddion cyhoeddus, ac er eu bod yn lled dda eto, mae rhai yn pallu mewn ufudd-dod.

Deil yr eglwys hon gydmariaeth ffafriol ag unrhyw eglwys yn y cylch, mewn rhai cyfeiriadau. Maent wedi llwyddo i fagu y plant yn Gymry, cystal os nad gwell nag unrhyw ardal, ac wedi gwneyd ymdrech mawr i egwyddori yr ieuenctyd ar hyd y blynyddoedd yn Hanes Iesu Grist, a'r Hyfforddwr, cyn eu derbyn yn gyflawn aelodau; ac fel ffrwyth yr ymdrech hwn mae yno nifer da o ddynion ieuainc wedi eu hegwyddori yn dda yn athrawiaeth yr efengyl.

Yn mis Mawrth, 1888, derbyniwyd yr eglwys hon i undeb a'r Dosbarth Deheuol trwy lythyr cyflwyniad o'r Dosbarth Gogleddol. Oblegid ei saffle ddaearyddol, yr oedd yn cymeryd ei lle yn naturiol yn y Dosbarth hwnw, ac yn gyfnerthiad i'r Dosbarth yn ei wendid. Derbyniwyd y brodyr canlynol i undeb a'r Dosbarth hwnw fel blaenoriaid: Medi, 1889, Mr. David J. Evans; Awst, 1894, John Thomas, W. G. Ellis, Thomas O. Jones, D. W. Jones a W. J. Williams. Hyderwn fod i eglwys Bangor flynyddoedd lawer o lwyddiant a ffrwythlondeb ysbrydol.

## XV.—Slateford.

Mae y lle hwn ar ochr ddwyreiniol afon y Delaware, yn Nhalaeth New Jersey. Yn nghofnodion y Gymanfa a gynaliwyd yn Scranton, Hydref, 1858, cawn y sylw canlynol:

"Anogwyd y brawd Thomas Williams, Slateford, i ymddyddan a'r eglwys yno, yn nghylch iddi ymuno a'r Cyfundeb, ac os byddai y brodyr yn cydsynio, ar iddo ei chyflwyno i undeb a'r Dosbarth Gogleddol." Mae yr awgrym hwn yn dangos fod yno eglwys y pryd hwnw, ond nid ydym yn meddwl ei bod wedi ei sefydlu yn eglwys Fethodistaidd mewn trefn, er mai Methodistiaid oedd ei mwyafrif. Bu yno foddion yn cael ei gynal gyda mesur o gysondeb am flynyddoedd, a brodyr yn galw yno ar eu teithiau yn achlysurol i bregethu. Bu y brawd Thos. Williams, fel y gwelir uchod, a Daniel Jones, yn byw am dymor yn y lle. Ond mae yn debyg na dderbyniwyd yr eglwys i undeb a'r Cyfarfod Dosbarth. Am fod y lle heb fod yn mhell o Bangor, mae Cymry yn myned ac yn dychwelyd yno, a rhai yn byw yno o hyd, ond nid ydym yn deall y cynelir moddicn Cymreig yno er's blynyddoedd bellach.

## XVI.—Warrior Run.

Warrior Run, Peely P. O., sydd fangre wledig wyth milldir i'r de o ddinas Wilkesbarre, ac mae yn ardal ddymunol o ran y golygfeydd sydd yn ei hamgylchynu. Mae prif ffordd y Lehigh Valley R. R. dros y mynydd o Wilkesbarre, yn myned trwy y lle, a hefyd mae cangen o'r Central R. R. o Wilkesbarre i Wanamie yn myned trwy yr ardal. Tua'r flwyddyn 1870 cymerodd boneddwr sydd yn byw yn Wilkesbarre, o'r enw Andrew J. Davies, brydles ar ddarn o dir glo yno am 65 o flynyddoedd, a dechreuwyd agor y gwaith yno mor fuan ag y gallesid cael pethau i drefn. Aeth James Roderick, Wilkesbarre (yn awr o Hazleton) yno i arolygu y gwaith, a bu hyny yn achlysur i Gymry ymfudo i'r lle, ac yn ol eu harfer, lle bynag mae Cymry crefyddol yn sefydlu, maent yn brysio i godi achos crefyddol, ac felly yn y lle hwn hefyd. Dechreuwyd heb olwg ar unrhyw enwad neillduol, ond fod y rhai oedd yn "ofni yr Arglwydd ac yn meddwl am ei enw ef," yn ymgynull at eu gilydd, yn Annibynwyr, Bedyddwyr a Methodistiaid, i alw ar enw yr Ar-

glwydd. Dechreuwyd cynal moddion yn nhy Mr. Roderick, a symudwyd wedi hyny i swyddfa y cwmni, a phan ddeuai pregethwr i'r ardal, yno y byddid yn pregethu hyd nes adeiladu y capel. Yn haf 1871 daeth y Parch. E. J. Hughes, yr hwn oedd yn weinidog yn Wilkesbarre, ar ymweliad a'r lle, a chyngorodd ef hwynt i roddi eu hunain dan nawdd eglwys Wilkesbarre, ac felly y gwnaed. Y pryd hwnw ymadawodd y Bedyddwyr oddiwrthynt i gychwyn achos o'r eiddynt eu hunain. Edward Edwards a'i wraig, James Roderick a'i wraig, Weiryd Thomas a Robert Lloyd, a chwech neu wyth o frodyr eraill na chawsom eu henwau, oedd yn cychwyn yr achos yn ei wedd Fethodistaidd. Y Parch. Joseph E. Davies, Hyde Park, a Mr. Richard Roderick oedd y cenadon fu yn corffori yr eglwys dros y Cyfarfod Dosbarth, a dewiswyd Edward Edwards, Robert Lloyd a Robert Wright yn swyddogion; ac mae y ddau flaenaf wedi gwasanaethu yr eglwys fel blaenoriaid gyda llawer o ffyddlondeb ac ymroddiad o hyny hyd yn bresenol. Ychwanegwyd yn ddiweddar y brawd Evan C. Jones yn gyd-swyddog a hwynt. Yn 1874 adeiladwyd y capel, yr hwn a gostiodd $2,200 ar y cyntaf, ac mae gwelliantau wedi eu gwneyd o'i amgylch wedi hyny gryn lawer. James Roderick, Edward Edwards a Robert Wright oedd yr ymddiriedolwyr cyntaf ar fuddianau yr eglwys hon.

Dibynu ar weinidogaeth deithiol mae yr eglwys wedi wneyd o'r cychwyn cyntaf hyd yn bresenol, gyda'r eithriad o'r flwyddyn 1885, pan y bu y Parch. Hugh Hughes, Ashley, yn ei gwasanaethu. Mae y fechan hon wedi cynyddu cryn lawer er yr amser y dechreuwyd yn swyddfa y cwmni. Mae yno lawer o ddynion da a ffyddlon wedi bod, ac eto hefyd, a lluaws mawr o bobl ieuainc wedi eu magu yno ag sydd yn dra ffyddlon ac ymdrechgar, fel mae yr achos wedi gwisgo gwedd o sirioldeb ar hyd y blynyddoedd. Mae eglwys Warrior Run yn un o'r achosion y dylid gofalu am ei ddyfodol, a darparu ar gyfer yr ieuenctyd mewn iaith y gallant ei deall, a gwerthfawrogi yr efengyl ynddi.

Mae pobl yr ardal hon, ar lawer o achlysuron, wedi bod yn haelfrydig i rai mewn cyfyngderau. Rhifa yr eglwys yn bresenol 110, a'r Ysgol Sabbothol 100, ond dylai yr Ysgol fod yn llawer mwy na hyny. Mae yno hefyd Gymdeithas Ymdrechol, yr hon a gyferfydd ar nos Wener, a chyfarfod gweddi gan y bobl ieuainc am naw boreu Sabboth. Mae y cyfarfod hwn yn un tra dymunol a buddiol. Sylwa Dr. Owen fod dawn gweddi i'w enill a'i gadw trwy ymarferiad, neu ynte i'w golli trwy ddiffyg ymarferiad.

Wedi i ni ysgrifenu yr uchod, mae yr eglwys hon wedi galw gwr ieuanc, Mr. David J. Roberts, yno i bregethu a'i gwasanaethu fel gweinidog. Hyderwn y bydd yr undeb yn un dedwydd a llwyddianus.

### XVII.—Ashley.

O ran safle, mae y lle hwn wrth odreu y mynydd, ddwy filldir i'r de o ddinas Wilkesbarre, ac fel manau eraill yn y Wyoming Valley lle mae gweithfeydd glo, daeth Cymry yma i weithio. Yr ydym yn cael fod yma Ysgol Sabbothol, cyfarfodydd gweddi, a phregethu yn achlysurol, yn y blynyddoedd 1869-1871. Enwir pedair neu bump o ystafelloedd, neu ysgoldai, lle yr oeddynt yn ymgynull i addoli ynddynt. Ychydig oedd nifer y Cymry yn yr ardal ar y pryd, ac o dan nawdd eglwys Wilkesbarre yr oedd yr achos yn cael ei gario yn mlaen. Byddai y brodyr parchedig Edward J. Hughes, W. H. Williams, W. D. Jenkins, L. S. Jones a John J. Hughes yn myned yno yn achlysurol i bregethu yr adeg hon, ac eglwys Wilkesbarre yn anfon brodyr yno ar gylch i gynorthwyo yr achos yn ei wahanol ranau. Hefyd, yr oedd y cymeriad hynod Thos. Leyshon, a'i ysgwydd dan yr arch yno y blynyddoedd hyn, fel wedi hyny yn Rolling Mill Hill.

Yn 1879 daeth Mr. D. R. Roberts i'r lle i fod yn oruchwyliwr gwaith glo y Lehigh & Wilkesbarre Coal Co., yr hyn a fu yn foddion i ddwyn nifer o Gymry crefyddol i'r ardal. Brodor o Cwmyglo, Arfon, Gogledd Cymru, oedd Mr. Roberts, a dyma y rheswm paham mae mwyafrif y boblogaeth

Gymreig yn y lle hwn wedi bod, cystal ag yn awr, yn Ogleddwyr. Yn mhen ychydig wedi iddo ef ymsefydlu yma cawn fod y Cymry crefyddol yn symud at gael achos Cymreig yn yr ardal. Oddeutu diwedd 1879 neu ddechreu 1880 yr oedd yma Ysgol Sabbothol, a changen eglwys o dan nawdd eglwys Wilkesbarre. Nid oes cofnodion y gellir dibynu arnynt am y mater, ond y traddodiad yw mai y Parch. Thos. B. Thomas, Mri. John T. Griffiths a D. R. Griffiths a fuont yno yn sefydlu eglwys dan nawdd eglwys Wilkesbarre. Cafodd y gynulleidfa fechan le i roddi ei throed i lawr ar y pryd yn yr eglwys Esgobaethol, ond yn dra buan hysbyswyd fod yn rhaid iddi ymadael oddiyno, gan nad oedd yn gyfreithlon i'r "Eglwys Lân Gatholig" roddi benthyg ei haddoldy i bobl o gredo gwahanol iddi hi ei hun. Wedi hyn buont yn cyfarfod i addoli mewn hen ysgoldy am ryw dymor, eithr yn mhen ychydig, gan fod llawer o'r aelodau yn Annibynwyr, a rhai o honynt yn awyddus i fyned a'r achos o ddwylaw y Methodistiaid, ac wedi cymeryd pleidlais ar y mater, trowyd yr achos yn Annibynol, a bu yn gwisgo y ffurf hon o rywbryd yn 1880 hyd yn y flwyddyn 1882, ac yr oeddid yn addoli y pryd hwnw yn ysgoldy Newtown.

Yn haf 1882 ail sefydlwyd yr achos yn ei wedd Fethodistaidd fel cangen dan nawdd eglwys Wilkesbarre, mewn lle o'r enw Union Hall. Y Parch. W. D. Jenkins a Mr. Daniel T. Roderick a anfonwyd dros eglwys Wilkesbarre i wneyd y gorchwyl hwn. Nid oedd yr eglwys y pryd hwn ond wyth mewn nifer, sef Ellis D. Williams a'i wraig, Owen Williams a David Williams, meibion yr uchod, Michael Williams a'i wraig, Mrs. G. G. Roberts a Mrs. Prichard. Penodwyd Ellis D. Williams a Michael Williams gan eglwys Wilkesbarre i ofalu am yr achos. Arferid cadw y cyfeillachau a'r cyfarfodydd gweddi wythnosol yn y tai y pryd hwnw. O Union Hall symudwyd i ysgoldy Ashley, ac mae yn gof genym fod amryw weithiau gyda'r cyfeillion yn y lle hwn, a bu graddau o lwyddiant ar yr achos tra yn aros yno. Derbyniwyd

amryw o aelodau oddiwrth yr Annibynwyr, ac amryw o newydd, yr hyn a fu yn gyfnerthiad i'r achos gwan. Gan fod Cymry yn amlhau yn yr ardal, a golwg am achos llewyrchus yno, yr oedd y teimlad i ymryddhau oddiwrth eglwys Wilkesbarre yn ffynu yn mysg y frawdoliaeth, ac i gael capel newydd, ac i fod yn eglwys arnynt eu hunain. Felly yn ngwanwyn 1883 anfonwyd y brodyr Ellis D. Williams a Michael Williams i Gyfarfod Dosbarth Olyphant i'r perwyl hwnw. Gwrandawodd y Cyfarfod ar eu cenadwri, a chaniatawyd iddynt ymryddhau oddiwrth eglwys Wilkesbarre, ac adeiladu capel newydd, ac anfonwyd y Parch. Thos. J. Phillips a Mr. Lewis D. Williams, Plymouth, yno fel cenadon dros y Cyfarfod Dosbarth i'w cynorthwyo i ddewis blaenoriaid, pryd y dewiswyd Mri. D. R. Roberts, G. G. Roberts, Ellis Williams a Michael Williams. Yr oedd rhif yr eglwys y pryd hwnw o 40 i 45. Dechreuwyd adeiladu y capel Ebrill, 1883, a gorphenwyd ef erbyn y cyntaf o Medi yr un flwyddyn. Agorwyd y capel hwn amser Cyfarfod Dosbarth a gymerodd le yno y trydydd Sabboth o'r mis hwnw. Gweinyddwyd ar yr achlysur gan y Parchn. James Jarrett, Hugh Davies, Rowland S. Thomas, W. H. Williams ac E. W. Jones. Derbyniwyd hefyd dri o'r blaenoriaid i undeb a'r Dosbarth yr un pryd.

Maint y capel ydyw 32x45, ac yr oedd y draul o'i adeiladu yn $3,000. Costiodd hefyd i'w adgyweirio yn 1888 tua $150. Yr ymddiriedolwyr cyntaf oeddynt, Mri. D. R. Roberts, G. G. Roberts a Robert J. Prichard, ac ychwanegwyd atynt, fel pwyllgor adeiladu, Mri. Richard Williams, Ellis D. Williams a John W. Owen. Mae yn deilwng o sylw y rhoddwyd y tir i adeiladu y capel hwn gan y Lehigh & Wilkesbarre Coal Co., trwy ddylanwad Mr. Charles Parrish, un o'r dynion mwyaf anturiaethus, ac un a wnaeth fwyaf i ddadblygu adnoddau y parthau hyn yn ddiameuol.

Bu yr achos am flynyddoedd ar ol adeiladu y capel yn llewyrchus a gobeithiol, a gellir enwi llawer o bersonau fu yn ffyddlon a gweithgar gydag ef yn yr adeg hono, megys

Mri. D. R. Roberts, G. G. Roberts, Evan L. Jones, Evan Williams, D. R. Hughes, Ellis D. Williams, Michael Williams, Henry Davies. Gyda'r canu, Jabez Williams, W. Morgan, E. Hughes, yn nghyd ac amryw eraill.

Yn 1888 ac '89 dyoddefodd yr achos hwn lawer oddiwrth symudiadau a newid goruchwylwyr y gwaith glo. Mewn byr amser symudodd tua haner yr eglwys i Audenried ac Avoca, a rhai o honynt yr aelodau mwyaf gwerthfawr. Yr 'oedd y rhai aethant i'r lle cyntaf yn dylyn Mri. D. R. a G. G. Roberts, y rhai oeddynt flaenoriaid yn Ashley, a'r rhai a aethant i'r lle diweddaf yn dylyn Mr. W. T. Smith.

Dyoddefodd yr eglwys hefyd flynyddoedd yn ol gan ymbleidio ac ymrysonau, a dywedir wrthym gan yr hanesydd, nad yw yr ardal erioed wedi bod yn enwog am gariad brawdol. Mae yr eglwys, o ran rhif, yn awr yn debyg i'r hyn ydoedd yn y blynyddoedd mwyaf llewyrchus arni, ond mae gryn lawer yn wanach o ran gallu, gan mai pobl ieuainc a gwragedd gweddwon yw mwyafrif yr aelodau. Er fod yr achos wedi dyfod trwy lawer o gyfnewidiadau a phrofedigaethau, y mae eto yn fyw; ac mae yno eto rai Israeliaid yn y rhai nid oes dwyll, wedi glynu yn ffyddlon wrtho trwy y blynyddau, ac i'r rhai hyny mae bywyd yr achos yn ddyledus.

Y blaenoriaid presenol ydynt, Jabez M. Williams, Robert J. Prichard, Edward Davies a Hugh R. Jones. O ran gweinidogaeth, bu yr eglwys hon yn dibynu ar gyflenwad achlysurol mewn rhan yn y blynyddoedd cyntaf. Bu y Parch. R. F. Jones yn myned yno yn fisol i bregethu, ac yn gwasanaethu mewn angladdau a'r cyffelyb hyd 1885, pan y daeth y Parch. Hugh Hughes yno yn weinidog, ac mae ef wedi aros yn fugail yr eglwys hyd yn bresenol.

Beth fydd dyfodol yr achos, mae yn anhawdd dweyd ar hyn o bryd, gan ei fod yn dibynu ar amgylchiadau y gwaith. Pe byddai y goruchwyliwr yn ddyn crefyddol, gallai fod o fantais i'r achos—tebygol ei fod felly—os amgen, mae ei ragolygon yn dywyll.

## XVIII.—Moosic.

Oddeutu y flwyddyn 1870 mae gweithfeydd glo yr ardal hon yn ail gychwyn, ac mae y diweddar Joseph D. Davies yn cael ei osod yn oruchwyliwr ar y gwaith yn Moosic. Yr oedd Mr. Davies yn ddyn da, ac yn dwyn mawr sel dros athrawiaethau a threfn y Methodistiaid; felly mae efe ac ychydig frodyr eraill yn penderfynu cychwyn achos i'r enwad hwn yn y lle. Heblaw Mr. Davies a'i deulu, yr oedd y brodyr John D. Phillips (Bellevue yn awr), John M. Davies a Jeremiah D. Williams yno, yn nghyd ag amryw eraill o frodyr a chwiorydd. Corfforwyd eglwys yno gan y Parch. Thos. J. Phillips a David Williams, Plymouth, yn y flwyddyn 1873, a dewiswyd y brodyr Jeremiah Williams a John Phillips i flaenori a gofalu am yr achos. Yn y flwyddyn 1881 adeiladwyd capel destlus yno, 25x50 o ran maint, ac yr oedd y draul oddeutu $2,000. Mae yn gapel dymunol i siarad a gwrando ynddo. Oddeutu 1883-4 yr oedd y Parch. Rowland S. Thomas yn byw yno, a'r brawd John M. Evans. Cof genym fod yno yn pregethu ar noswaith waith tua'r adeg hono, ac yr oedd y capel yn llawn o wrandawyr astud a serchog. Yr oedd y brawd Evan L. Evans yno hefyd, ac yn un o'r diaconiaid, ac yn llawn o sel a brwdfrydedd dros yr achos hyd ddiwedd ei oes, ac yno y bu efe farw. Dyma yr adeg fwyaf llewyrchus fu ar yr eglwys hon, fel y tybiwn. Yn fuan wedi hyn llithrodd y brawd J. M. Evans i yfed, yr hyn a arweiniodd i'w ddiarddeliad. Wedi hyn daeth llawer o gyfnewidiadau dros yr achos o herwydd amgylchiadau y gwaith, ar ol marwolaeth Mr. Joseph Davies, fel y symudodd llawer o'r lle. Wedi hyny daeth elfen enwadol arall i fewn i'r eglwys, ac amcanodd y rhai hyny feddianu y capel, ond gofalodd y brodyr arweiniol am freinlen i ddiogelu yr eiddo i'r Methodistiaid. Wedi eu siomi yn eu hamcan, ymadawodd y rhai hyny i le arall, fel erbyn hyn mae yr achos yn wan iawn, dim ond pump o frodyr ac ychydig chwiorydd sydd yn aros yno, yn ffyddlon, gan fyw mewn gobaith am

amser gwell. Ychydig iawn o weinidogaeth maent yn allu gael yno o angenrheidrwydd. Mae y brawd Jeremiah Williams yn byw yno, ac yn ffyddlon i'r eglwys a'r enwad, er fod yr anmhariaeth ar ei glyw wedi ei analluogi i fod yn ddefnyddiol i fesur mawr. Mae y capel yn rhydd o ddyled, a gresyn na buasai yn llawn o addolwyr. Ar ddymuniad yr eglwys, mae y Cyfarfod Dosbarth wedi gwneyd cais ar egflod yr anmhariaeth ar ei glyw wedi ei analluogi i fod yn y presenol.

## XIX.—Avoca.

Wedi i Mr. William T. Smith ymryddhau o wasanaeth y Lehigh and Wilkesbarre Coal Co., tua'r flwyddyn 1889, neu beth yn ddiweddarach, prynodd waith glo yn agos i'r pentref hwn, a symudodd llawer o Gymry o Wilkesbarre, Ashley a Plymouth, a manau eraill yma i fyw. Ar gais eglwys Moosic anfonodd y Cyfarfod Dosbarth ddau frawd yno i gorffori eglwys yn haf 1890, a dewiswyd Evan Williams ac Edward Davies yn ddiaconiaid iddi. Yn ysgoldy y pentref yr oeddynt yn cynal moddion. Ond fe werthodd Mr. Smith ei fuddiant yn y gwaith i gwmni arall, ac mewn canlyniad cychwynodd llawer o'r Cymry ar hynt ymfudol i leoedd eraill, ac mae yr eglwys fechan yn cael ei gadael heb ddiaconiaid. I gyfarfod yr amgylchiadau hyn, mae Cyfarfod Dosbarth Hyde Park, 1893, yn penodi y brawd Zachariah Hughes i ofalu am yr achos ac i wneyd adroddiad yn y Cyfarfod dylynol, yn mhen tri mis. Yr oedd y Cyfarfod hwn yn Plymouth, Mehefin 18, 1893, ac mae Mr. Hughes yn rhoddi adroddiad difrifol a digalon am sefyllfa pethau yno, er hyny penderfynwyd iddo barhau a gwneyd y goreu drosto. O Gyfarfod Medi anfonwyd cenadau yno er cynorthwyo yr eglwys i ddewis blaenoriaid.

Yn Mehefin, 1894, mae Cyfarfod Cymru Newydd yn penderfynu fel y canlyn: "O herwydd eiddilwch y ddwy eglwys (Moosic ac Avoca), ein bod yn galw sylw y ddwy eglwys at y priodoldeb o'u hymffurfiad yn un eglwys, mewn man can-

olog, a bod y Parchn. D. C. Phillips, W, E. Morgans a Mr. L. S. Jones yn bwyllgor i gynorthwyo y ddwy eglwys i gario y penderfyniad i weithrediad." Ond nid ydym yn meddwl y gwnaed un cynyg at hyn, a hwyrach na buasai yn ateb y dyben mewn golwg.

Yn y Cyfarfod dylynol, yn Warrior Run, mae Mr. Hughes yn hysbysu fod y cwbl wedi darfod yn Avoca, a'i fod yn cyflwyno hyny o eiddo oedd yno yn feddiant i'r eglwys, llyfrau, lampau, a'r organ, drosodd i'r Cyfarfod Dosbarth. Diolchodd y Cyfarfod iddo am ei ffyddlondeb a'i ofal yn y mater.

## XX.—Taylorville (Feltsville.)

Wrth yr enw cyntaf yr adnabyddir y lle yn nghofnodion ein Cyfarfodydd, ond yr ail ydyw enw priodol yr ardal, lle yr oedd y capel Methodistaidd. Dechreuad yr achos hwn oedd fel y canlyn: Yn y flwyddyn 1872 adeiladodd yr Annibynwyr gapel ar y bryn a elwir yn awr Taylor, ac yr oedd y Parch. Daniel Davies yn weinidog yr eglwys a'r gynulleidfa hon. Wedi byw yn heddychlon gyda'u gilydd (obegid cynulleidfa gymysg ydoedd) am tua blwyddyn, torodd ymrafael allan, ac ymadawodd rhan o'r eglwys a'r gynulleidfa, a'r gweinidog hefyd, fel yr ydym yn tybied, er nas gallwn sicrhau hyny; ac yr oedd yn eu plith nifer luosog o Fethodistiaid. Adeiladodd yr adran hon gapel ar dir Isaac Felts, a chapel Annibynol oedd hwn hefyd. Wedi bod yno ychydig dros flwyddyn, a'r enwad uchod yn gomedd cydnabod y gynulleidfa hon yn eglwys, penderfynodd gyflwyno ei hun a'i heiddo drosodd i ofal a than nawdd y Methodistiaid Calfinaidd. Pan ddeallodd Mr. Davies fod yr eglwys yn myned i droi yn Fethodistaidd, gwelodd nad oedd ond un o ddau beth iddo yntau wneyd, naill ai ymostwng i reolau y Corff, neu ymadael, a dewisodd ef yr olaf. Anfonodd yr eglwys genadau at Dr. Roberts ac eglwys Bellevue er gwneyd eu dymuniad yn hysbys i'r enwad. Ond ni fuasai yn gyson ag egwyddorion ac arferion y Methodistiaid eu

derbyn heb eu corffori yn drefnus a rheolaidd. Felly mae eglwys Bellevue yn cyflwyno y cais a ddaeth atynt i sylw y Cyfarfod Dosbarth a gynaliwyd yn Wilkesbarre, Rhagfyr, 1875, a phenododd y Cyfarfod y Parch. R. H. Evans a Mr. W. D. Davies, Hyde Park, i fyned yno, a chorffori y gynulleidfa yn eglwys Fethodistaidd, yn ol eu dymuniad. Y blaenoriaid dewisedig, neu ynte a ddewiswyd ar y pryd, oeddynt James Howard, William P. Jones a David J. Edwards. Yr oedd y Cyfarfod dylynol yn Moosic, Mawrth, 1876, ac yno mae y cenadon yn gwneyd eu hadroddiad, eu bod wedi cwblhau y gwaith a ymddiriedwyd i'w gofal. Yr oedd blaenoriaid yr eglwys yn bresenol, ac yn cyflwyno ei chais am gael derbyniad i undeb a'r Dosbarth i sylw y Cyfarfod. Holwyd y brodyr am eu hegwyddorion a'u profiad gan y Parchn. W. H. Williams a Rowland H. Evans, ac am eu hymlyniad wrth y swydd gan y Parch. W. J. Lewis, a derbyniwyd yr eglwys a'i swyddogion i undeb a'r Dosbarth. Yr oedd yr eglwys yn rhifo y pryd hwn tua 55 o rifedi. Yr oedd y draul i adeiladu y capel hwn tua $1,800, ac wedi sefydlu yr eglwys yn Fethodistaidd, gwnaed y weithred am y capel, "To the First Calvinistic Church of Feltsville," yn y flwyddyn 1876. Adgyweiriwyd y capel yn y flwyddyn 1886. Lliwiwyd ef oddifewn ac oddiallan, a phrynwyd dodrefn newydd i'w rhoddi ynddo, chandelier newydd i'w oleuo, a ffwrnes newydd odditano er ei dwymno, ac yr oedd wedi ei gwblhau yn hardd a dymunol iawn. Costiodd yr adgyweiriad $1,100. Casglwyd at ddwyn y draul hon $80 yn mhlith yr aelodau, a gwnaed festival yn Mawrth, 1887, a gwnaed y pryd hwnw agos i $1,200, a thalwyd y draul yn enw y Methodistiaid wrth gwrs, oblegid dyna oedd enw a safle yr eglwys. Wedi ei chorffori yn Fethodistaidd, bu yr eglwys yn cael ei chyflenwi a gweinidogaeth gan y brodyr oedd yn byw o fewn cylch y Dosbarth, hyd 1881, pan y daeth y Parch. John R. Jones, Shenandoah, yno fel gweinidog, a thra yn aros yma yr ordeiniwyd ef, yn Nghymanfa Carbondale, Mai, 1883. Ymadawodd Mr. Jones oddiyma i

Ebensburg yn gynar yn 1884, a dylynwyd ef gan y Parch. Rowland S. Thomas, ac ordeiniwyd yntau yn Nghymanfa Slatington, Hydref, 1884, fel gweinidog yn Taylorville. Y pryd hwnw yr oedd yr achos yn ymddangos yn llewyrchus ac addawol, ac yr oedd yr eglwys yn rhifo 65 yr adeg hon. Yr oedd y Gymanfa yno yn 1880, a chofus genym i ninau fod yno ar noswaith waith yn Hydref, 1882, pan yr oedd yno gynulleidfa dda, yn llawn o fywyd, yn gwrando yn astud ar yr hyn a ddywedid. Yr oedd Mr. Thomas yn Drefnydd egwyddorol, ac yn ddirwestwr selog, ond mae yn debyg nad oedd y pethau hyn yn gymwysderau angenrheidiol yn Taylorville, ac felly ymadawodd ddiwedd 1885. Wedi hyny bu yr eglwys yn dibynu ar gyflenwad achlysurol, ac ni bu yno weinidog sefydlog ar ol Mr. Thomas. Ar ol adgyweirio y capel yn 1886, cynaliwyd cyfarfod agoriadol yno, ac yr oedd yn bresenol ar yr achlysur John Williams, Hyde Park, J. T. Morris, Bellevue, a chasglydd yr hanes hwn, ac yr oedd yno gynulleidfa dda yn llenwi yr adeilad y pryd hwnw.

Ond yr oedd amryw bethau, yn fewnol ac allanol, yn cydweithio yn erbyn llwyddiant yr achos. Mae yr ardal ar gongl anghysbell, ac fel yr oedd Cymry yn symud i'r bryn lle mae Taylor yn sefyll, yr oedd tramoriaid yn symud yno yn eu lle. Nid oedd llawer ag oedd yn proffesu bod yn aelodau yno, mor ffyddlon ac ymdrechgar ag y gallasent fod. Rhwng pob peth, mae y brodyr D. J. Harris a David Lloyd, oedd yn arwain yr achos, yn digaloni yn fawr. Yn y diwedd collodd y Methodistiaid y capel. Yn y flwyddyn 1881 mae yr eglwys hon yn anfon cais at y Cyfarfod Dosbarth am gael sylw ar sefyllfa gyfreithiol ein capelau, ac yn y Cyfarfod dylynol, yr hwn oedd yn Bellevue, Gorphenaf, 1881, anfonwyd anogaeth at yr eglwys hon i gael breinlen iddi ei hun mor fuan ag y byddai modd, a'i chael yn debyg i freinlen Wilkesbarre. Ond rywfodd, esgeuluswyd gwneyd hyny. Heblaw yr esgeulusdra hwn, yr oedd y lot wedi ei rhoddi gan Mr. Felts i gynal addoliad, ac os peid-

iai hyny, fod yr eiddo yn dychwelyd i'r perchenog gwreiddiol, ac wrth gwrs yr oedd y tir yn cario yr hyn oedd ar ei wyneb. Felly yr oedd yn angenrheidiol cadw moddion yno i gadw y weithred mewn grym.

Erbyn 1894 yr oedd y ddau frawd uchod wedi llwyr ddigaloni, ac maent yn dyfod i Gyfarfod Edwardsdale i gyflwyno y cwbl drosodd i swyddogion y Dosbarth. Penodwyd pwyllgor i gydweithio a'r brodyr, gan eu hanog i gadw y lle yn agored, a buwyd yn meddwl am ei symud, ac i hyn yr oedd Mr. Felts yn foddlon. Ond yr oedd y draul i wneyd hyny yn fwy na gwerth yr adeilad. Cafwyd cyfleusdra i'w werthu ar ol hyn, a phan aethpwyd i wneyd trefniadau i'r perwyl hwnw, wele rai oedd wedi bod yn aelodau ac ymddiriedolwyr, eto heb fod yn agos i'r lle er's tair blynedd, yn dyfod yn mlaen ac yn honi mai hwy oedd bia y capel, a rhoddwyd terfyn ar y drafodaeth o'i werthu. Ac maent yn galw am gyngor i'w cynorthwyo i gychwyn achos Cynulleidfaol Seisnig yno.

Cyfaddefir fod yr organization Methodistaidd wedi terfynu, mae yn wir, ond nid oedd swyddogion yr eglwys wedi rhoddi eu hawl yn y lle i fyny, a phe buasai genym y charter y pryd hwnw buasai y Dosbarth wedi cymeryd gafael cyfreithiol yn y mater. Mae Mr. Felts yn cymeryd gafael yn y ffaith fod yr organization cyntaf wedi terfynu, ac yn trosglwyddo yr hawl oedd ganddo ef i'r lleill. Nis gallwn byth edrych ar y mater ond fel gweithred anonest ac annheilwng o Gristionogaeth, ac mae yn esiampl y dylai yr holl eglwysi dalu sylw iddi, a rhoddi eu hunain dan nawdd y charter cyffredinol, er diogelwch iddynt eu hunain a'r enwad.

## XXI.—Nanticoke.

Yn nghofnodion Cymanfa 1845 gelwir ein sylw at y lle hwn fel lle o dan ofal ac arolygiaeth y Gymanfa, yr hyn sydd yn dangos fod arweinwyr yr achos yn feddylgar a gofalus i lwyddo yr achos yn mhob man. Yr oedd yma rai

Cymry yn byw yn 1843-4. Mae un o'r enw Edward Morgan yn byw yn y lle yn awr fu yn gweithio yno bedwar mis yn y flwyddyn 1844. Yr oedd yno dri o deuluoedd eraill yn byw tua'r un amser, sef eiddo Mr. Owen Richards, Mr. Beynon, a Mr. Richards. Nid oedd yma ond un gwaith glo y pryd hyn, sef Tunnel No. 1, a'r glo yn myned o enau y tunnel ar y car i'r bad.

Gallai fod yma bregethu Cymraeg yn achlysurol, ond ni sefydlwyd yma yr un achos Cymreig y pryd hwnw, nac wedi hyny am flynyddoedd lawer. Y capel cyntaf a adeiladwyd yn y fro hon oedd yn Newport yn 1826, ac yn Hanover Green yr un flwyddyn. Ond Saesneg oedd trefn y gwasanaeth yn y rhai hyn. Y capel cyntaf a godwyd yn Nanticoke yn briodol oedd y Capel Du (Black Church), yn 1836, ac yn Saesneg yr oedd y gwasanaeth yn cael ei gario yn mlaen yn hwnw. Felly prospective yn unig oedd arolygiaeth y Gymanfa dros y lle hwn yr amser a nodwyd. Yn 1867 daeth ychydig Gymry yno i weithio, a dechreuwyd achos Cymreig gan y Methodistiaid Calfinaidd, ond er mai hwy oedd yn cychwyn y symudiad, yr oedd Annibynwyr a Bedyddwyr gyda hwynt. Yn mhlith y Cymry hyn yr oedd dau frawd o'r enw Edward Mason ac Edward Powell yn Fethodistiaid selog ac ymdrechgar gyda'r achos er ei gario yn mlaen. Mewn ysgoldy yn ymyl y Capel Du yr oeddynt yn cynal moddion. Ni sefydlwyd yno eglwys, ac nid ymddengys y bu yno fawr o lewyrch ar y symudiad, ac ymadawodd Mason a Powell i Sugar Notch, a diffoddodd y ganwyll yn hollol.

Yn 1872 dechreuodd y Methodistiaid Calfinaidd achos drachefn, ar gongl Market a Main Streets, yn nhy Mr. Isaac Rees, ac wedi bod yno am dymor, aethant i'r ysgoldy i gynal moddion, ac oddiyno drachefn i'r Capel Du. Yr oedd hyny yn amser Morgan Lewis a John T. Jones. Nid ces dim yn y cofnodion yn dangos fod eglwys wedi ei sefydlu yno y pryd hwn, eto ymddengys fod y Cyfarfod Dosbarth yn ystyried Isaac Rees yn swyddog eglwysig, oblegid mae y

pwyllgor ar achosion eglwysig yn dwyn adroddiad ar ei achos i Gyfarfod Warrior Run, Medi, 1876, "fel blaenor eglwys y T. C. yn East Nanticoke," ac yn penderfynu nad ydoedd i gael ei ystyried yn swyddog eglwysig hyd nes ei ail ddewis. Ar ol hyn fe drengodd y symudiad hwn eto. Yn 1874 mae y Methodistiaid yn corffori eglwys ac yn adeiladu capel yn Grand Tunnel, yr ochr arall i'r afon o Nanticoke, ac mae y Cyfarfod Dosbarth a gynaliwyd yn Nghymru Newydd, yr un flwyddyn, yn penodi y Parch. W. Mathews i fyned i Nanticoke i sefydlu yr ychydig Fethodistiaid oedd yno yn eglwys, dan nawdd eglwys Grand Tunnel. Yn y Cyfarfod dylynol mae Mr. Mathews yn adrodd nad oedd wedi gwneyd dim, ac fod yr ychydig oedd yno yn penderfynu myned ac aros gyda'r Annibynwyr, ac oblegid hyny trodd yr ymgais hwn yn fethiant hefyd.

Yn 1879 daeth Mr. John L. Griffiths a'i deulu yno, a'r pryd hyny yr oedd y Methodistiaid oedd yn y lle yn addoli gyda'r Annibynwyr, ac felly aeth yntau yno hefyd, a buont yn dal eu haelodaeth yno hyd 1883. Mae y Cyfarfod Dosbarth a gynaliwyd yn Mawrth y flwyddyn hono, yn penodi y Parch. James Jarrett a Mr. Lewis D. Williams o Plymouth i fyned yno i sefydlu eglwys, yr hyn a wnaed ganddynt Mawrth 31, 1883, yn addoldy y Bedyddwyr ar West Main Street, yr hwn le a brynwyd ganddynt wedi hyny am $260. Dewiswyd yn swyddogion yr eglwys ar y pryd, Mri. David L. Davies, J. L. Griffiths ac Ebenezer D. Williams. Dewiswyd Mr. Williams yn Ysgrifenydd, a Mr. Griffiths yn Drysorydd. Rhif yr aelodau cyflawn y pryd hwnw oedd 26, a 6 ar brawf. Derbyniwyd yr eglwys i undeb a'r Dosbarth, Medi, 1884. Bu yr eglwys yn addoli yn y capel uchod hyd nes adeiladu capel newydd, mewn lle mwy cyfleus i'r boblogaeth, yn 1887. Ei faint ydyw 70x40, gyda basement da odditano, a lle cyfleus i gynulleidfa dda ar y lan, a gresyn na byddai yn llawn o addolwyr. Mae baich trwm o ddyled ar y lle; ac mae y gallu sydd yno yn wan iawn, ac mae yn rhyfedd pa fodd maent yn gallu cadw i nofio ar hyd y blynyddoedd.

Yn Ionawr, 1886, aeth y Parch. Rowland S. Thomas yno yn weinidog. Efe a gymerodd lawer o drafferth, ac a wnaeth ymdrech galed i adeiladu capel newydd. Agorwyd y capel yn Mawrth, 1888, ac yr oedd y gweinidogion canlynol yn gwasanaethu ar yr achlysur: Y Parchn. Thomas Roberts a Thos. J. Phillips, Plymouth; Hugh Davies, Wilkesbarre; Hugh Hughes, Ashley; a John T. Morris, Bellevue. Gwasanaethodd Mr. Thomas yr eglwys hyd ddiwedd y flwyddyn 1889, pan yr ymadawodd i Gymru. Wedi hyny bu yr eglwys yn dibynu ar gyflenwad achlysurol hyd Mehefin, 1891, pan ddaeth Ellis Roberts o Utica, N. Y., yno, ac arosodd hyd Mehefin, 1895. Wedi hyny bu David Dyfri Davies, Annibynwr, yn pregethu iddynt hyd ddiwedd y flwyddyn uchod. Ar ol hyn buwyd yn dibynu ar gyflenwad achlysurol drachefn hyd Hydref, 1895, pan y daeth John Elias Jones o Ddeheudir Cymru yno; ac efe sydd yno yn bresenol.

### XXII.—Sugar Notch.

Saif yr ardal hon tua chwe' milldir i'r de o Wilkesbarre, ar y ffordd i Warrior Run a Nanticoke. Tua'r flwyddyn 1878 neu '79 mae y Lehigh & Wilkesbarre Coal Co. yn agor gwaith glo yn y lle, ac fel mae yn arfer gan lawer i symud i le newydd, hyd yn nod pe bai yn waelach, felly symudodd amryw Gymry i'r lle hwn mor fuan ag yr agorwyd y gwaith glo. Mae yr argraff ar ein meddwl fod llawer o'n cenedl ni yn symud i gilfachau newyddion er mwyn cael llonydd gan yr efengyl mewn mwy nag un wedd. Ond yr oedd eglwys Wilkesbarre yn cadw ei llygaid yn agored, ac yn dal ar bob cyfleusdra i fyned a'r efengyl ar ol ein cydgenedl lle bynag yr oedd gwaith newydd yn agor, ac felly hefyd gyda golwg ar yr ardal hon.

Yn mis Medi, 1879, dechreuwyd cynal Ysgol Sabbothol yn y lle, yr hyn oedd dechreuad yr achos yno, a dewiswyd y brawd Thos. W. Morgans yn Arolygydd, Mr. Daniel R. Jones yn Ysgrifenydd, a Mr. Eleazar Jenkins yn Drysorydd. Rhanwyd yr ysgol yn bump o ddosbarthiadau, a gos-

odwyd y personau canlynol yn athrawon: Dosbarth 1, Mr. John D. Humphreys; Dosbarth 2, Mr. James Davies; Dosbarth 3, Mr. Watkin Watkins; Dosbarth 4, Mr. Phillip Williams; Dosbarth 5, Mr. John F. Jones. Yr oedd graddau o lewyrch ar y symudiad hwn, fel y barnwyd yn ddoeth i symud yn mlaen ac adeiladu achos yn y lle. Tua dechreu 1880 maent yn dechreu cynal cyfarfod gweddi yn y tai, ond mae y rhai hyny yn myned yn rhy fach, a symudwyd uwch store y Cwmni, lle yr oedd pob achos crefyddol yn y lle yn cael ei gynal y pryd nwnw; ac yma hefyd bu y Methodistiaid yn cynal moddion hyd nes adeiladu capel.

Yn nechreu 1881 mae y brodyr a'r chwiorydd crefyddol oedd yn y lle yn ymgorffori fel cangen o eglwys Wilkesbarre, ac mae y brawd Thos. W. Morgans yn ymgymeryd a'r flaenoriaeth, yn rhinwedd ei swydd fel blaenor o eglwys Wilkesbarre cyn ei ddyfodiad i'r lle hwn. Dewiswyd hefyd y brawd John D. Hopkins i'w gynorthwyo, a Mr. David K. Jones yn Ysgrifenydd yr eglwys, a rhifai y frawdoliaeth ar y pryd 12 o aelodau cyflawn. Buwyd yn cario yr achos yn mlaen fel cangen ac o dan arolygiaeth eglwys Wilkesbarre hyd Mawrth, 1855, pryd y penderfynodd yr eglwys anfon cais at y Cyfarfod Dosbarth ei bod yn dewis tori ei pherthynas a'r fam eglwys, ac i'r Cyfarfod anfon cenadon yno i'w chorffori yn eglwys Fethodistaidd ar ei phen ei hun; a hefyd ei chynorthwyo i ddewis blaenoriaid. Mae y Cyfarfod yn derbyn eu cais, ac yn penodi y Parch. Hugh Davies a Mr. John T. Griffiths, Wilkesbarre, i fyned yno i gyflawni y gwasanaeth hwn. Yn y Cyfarfod dylynol, yn Moosic, Mehefin 20, mae y pwyllgor yn rhoddi adroddiad o'u gweithrediadau, a'u bod wedi dewis tri yn flaenoriaid i'r eglwys, ond erbyn hyn yr oedd un o honynt wedi marw, sef Mr. D. R. Jones. Derbyniwyd yr eglwys i undeb a'r Dosbarth, ac anogwyd yr Ysgrifenydd i anfon llythyr o gydymdeimlad a'r frawdoliaeth. Yr un amser a'r pwyllgor uchod, penodwyd y Parch. William H. Williams a Mr. Robert Lloyd, Warrior Run, i fyned i Sugar Notch i ymddydd-

an a'r brawd Mr. Morgan J. Morgan fel ymgeisydd am y weinidogaeth, a gwnaeth y pwyllgor hwn adroddiad eu bod wedi cael boddlonrwydd yn yr ymgeisydd, a bod pleidlais yr eglwys yn unfrydol drosto.

Yn mis Rhagfyr y flwyddyn hon (1885), bu y frawdoliaeth yn ymddyddan am y priodoldeb o adeiladu capel newydd yn gartref i'r achos yn y lle, ac yr oedd hyn yn gam yn yr iawn gyfeiriad. Ond nid oedd digon o addfedrwydd i basio unrhyw benderfyniad ar y pryd, ac felly gohiriwyd hyd y gwanwyn canlynol, ac anogwyd pob un i fwrw y draul, ac ystyried beth ellid ei wneyd hyd hyny.

Ar ddechreu y flwyddyn 1886 rhifai yr eglwys 32 o aelodau cyflawn, heblaw lluaws o wrandawyr, a phlant dan oed, ac yr oedd yr argoelion am gynydd yn addawol. Yn mis Mai y flwyddyn uchod, yn ol y penderfyniad, dygwyd y mater o adeiladu capel drachefn i sylw y gyfeillach, ac erbyn hyn yr oedd y frawdoliaeth yn unfrydol yn teimlo fod arnynt angen un, ac y dylasent roddi eu holl egni ar waith i gael un, eto yr oeddynt yn anaddfed i ddyfod i un penderfyniad y pryd hwn, a gohiriwyd am wythnos yn mhellach. Yn mhen yr wythnos (Mai 20), dygwyd y mater i sylw drachefn, ac erbyn hyn yr oedd pawb yn addfed o ran barn a theimlad, a phenderfynwyd yn unfrydol eu bod yn ymgymeryd a'r anturiaeth o adeiladu capel. I gychwyn ar y gwaith, nodwyd Mri. Thos. W. Morgans a Morgan J. Morgans i ohebu a'r Lehigh & Wilkesbarre Coal Co. o barthed cael tir i adeiladu arno. Aeth y brodyr hyn at y gorchwyl yn ddiymdroi, ac erbyn Mehefin y 10fed yr oeddynt yn barod i hysbysu i'r eglwys fod y Cwmni yn caniatau y cais, ac yn rhoddi ar Mr. Downing, eu goruchwyliwr, eu cynorthwyo, ac yn addaw ei drosglwyddo mewn deed i'r eglwys i'r perwyl hwnw. Penderfynodd yr eglwys yn unfrydol fod y pwyllgor yn cydnabod y Cwmni yn ddiolchgar am eu haelfrydedd.

Yn y gyfeillach a gynaliwyd Mai 17, nodwyd Mri. Thos. W. Morgans, Jonathan Evans a Morgan J. Morgans i'w

cynrychioli yn y Cyfarfod Dosbarth a gynelid yn Plymouth y 19eg, er hysbysu eu bod yn penderfynu adeiladu capel, ac i ofyn cydymdeimlad a chefnogaeth y Dosbarth iddynt gyda'r anturiaeth. Felly wedi gwneyd pob rhagbarotoadau, dechreuwyd ar y gwaith o adeiladu, a phenodwyd Awst 23 yn ddydd i osod y gareg sylfaen. Yr oedd hwnw yn ddiwrnod mawr yn nghyfrif yr eglwys a'r ardal, ac yr oedd lluaws mawr o bobl wedi ymgynull yn nghyd, a gosodwyd y gareg gan Mrs. Morgan B. Williams, Wilkesbarre, yn ngwydd tyrfa luosog o edrychwyr, yn gystal a charedigion yr achos. Aed trwy amryw seremoniau eraill priodol i'r amgylchiad, a derbyniwyd symiau da o arian at adeiladu yr un pryd. Felly dybenwyd y dydd dyddorol hwn yn hanes yr eglwys fechan hon.

Ymddiriedolwyr cyntaf yr eglwys oedd, Mri. Thos. W. Morgans, Owen Roberts, W. J. Williams a Rees Morgan. Mawrth 19, 20, 1887, yr oedd Cyfarfod y Dosbarth i fod yno, a dyna yr adeg oedd y frawdoliaeth wedi ei benodi i agor y capel. Gan ragori ar lawer o ardaloedd, agorwyd y capel hwn yn ddiddyled, ac yr oedd hyny yn ddyledus i ymdrechion y chwiorydd, yn enwedig Mrs. Thos. W. Morgans. Gweinyddwyd ar yr achlysur gan y Parchn. Thos. Roberts, Plymouth; John T. Morris, Bellevue; R. E. Williams, Bangor; W. H. Williams, Wilkesbarre, a W. E. Morgan, Scranton, a'r Parchn. Day a Peck o Ashley yn Saesneg.

Y bugail cyntaf fu yn gwasanaethu yr eglwys hon oedd y Parch. John W. Morgans o South Dakota. Yr oedd Mr. Morgans wedi ei godi i bregethu yn Ohio. Dechreuodd ar ei weinidogaeth yno Gorphenaf 1, 1888, ac yr oedd yr achos bychan mewn gwedd lewyrchus y pryd hwnw. Gorphenaf 10 cynaliwyd cyfarfod i'w sefydlu yn weinidog yno, a chymerwyd rhan yn y gwasanaeth hwnw gan y Parch. Hugh Davies, Wilkesbarre, mewn cyngor i'r eglwys, a'r Parch. Thos. Roberts, Plymouth, mewn cyngor i'r gweinidog. Gwasanaethodd Mr. Morgans yr eglwys hyd Gorphenaf, 1890, pryd y dychwelodd yn ol i Dakota. Dylynwyd ef gan

y Parch. Ellis R. Roberts, a bu yntau yn llenwi y swydd o 1893 hyd 1895.

Tua'r amser yr ymadawodd Mr. Morgans o'r lle cymerodd llawer o gyfnewidiadau le yn arolygiaeth gweithfeydd y Lehigh & Wilkesbarre Coal Co., ac yn mhlith eraill rhoddodd Mr. Thos. W. Morgans ei swydd i fyny yn y lle hwn. Yr oedd ef wedi bod yn arweinydd doeth, ac wedi noddi yr achos o'i gychwyniad cyntaf, ac mae yn ddiameu fod adeiladu y capel a chael Mr. Morgans yno yn weinidog yn ddyledus i'w ymdrechion ef yn fwy na neb arall. Teimlodd y cymydogaethau hyn yn fawr oddiwrth y cyfnewidiadau uchod, a niweidiwyd yr achosion Cymreig yn fawr iawn, ac felly Sugar Notch. Llesgaodd yr achos wedi i Mr. Morgans ymadael, ac nid ydyw eto wedi enill ei safle gyntefig. Er hyny mae yr ychydig gyfeillion sydd yno yn ffyddlon ac ymdrechgar hyd eithaf eu gallu i gadw yr achos yn fyw.

## XXIII.—Rolling Mill Hill.

Yn wladwriaethol mae y lle hwn yn rhan ddeheuol dinas Wilkesbarre, a gelwir y rhan hon yn South Wilkesbarre. Mae ei safle ar godiad tir uwchlaw gwastadtir dyffryn y Susquehanna. Rhoddwyd yr enw uchod i'r lle, am mai islaw y bryn hwn y cychwynwyd melin rolio rhwng 1844 a '46, a bu yma lawer o Gymry yn byw y pryd hyny. Ond yr oedd preswylwyr y ddinas yn bobl o nodwedd geidwadol, ac yn anffafriol i anturiaethau o'r fath ag oedd yn dwyn tramorwyr i'r lle, a dyma fu yn achos i symud y felin i Scranton, yr hyn a fu yn llwyddiant mawr i'r lle diweddaf, ac nid oes yn aros yn Wilkesbarre fel adgofion am yr anturiaeth hon ond yr enw uchod yn mhlith y Cymry. Ond mae a fynom ni ag ymgais eglwys Wilkesbarre, yn benaf, i sefydlu achos Methodistaidd yn yr ardal hon.

Yn 1871 dechreuwyd cynal moddion undebol yn ysgoldy y rhanbarth. Am fod cyfarwyddwyr yr ysgol yn Babyddion, gyrwyd hwy allan yn 1872, a chauwyd y drws yn eu herbyn. Yna aeth Mri. John T. Griffiths a Lewis S. Jones at y cyf-

arwyddwyr i ymbil drostynt, a chydag ychydig gyfrwystra a doethineb caniatawyd yr ysgoldy drachefn at eu gwasanaeth.

Wedi hyny ymadawodd y Bedyddwyr a'r Annibynwyr i sefydlu achosion eu hunain, a gadawyd y Methodistiaid yn unig mewn meddiant o'r hen ysgoldy. Ar ol hyn y dechreuwyd yr achos yno yn ei wedd Fethodistaidd, o dan nawdd eglwys Wilkesbarre. Y personau oedd yno yn dechreu sylfaenu yr achos yn ei wedd bresenol oeddynt, Mr. D. R. a Mrs. Griffiths, Thomas a Mrs. Leyshon, Mr. Joseph Lloyd, Mrs. Lewis a Mrs. Thomas, ac fel cangen o'r eglwys hono y buwyd yn dwyn yr achos hwn yn mlaen am flynyddoedd. Yr oedd eglwys Wilkesbarre yn eu cyflenwi a gweinidogaeth, a hwythau yn anfon eu cyfraniadau yno. Yn y flwyddyn 1876 yr oedd nifer yr aelodau yn 24, a swm eu casgliad yn $177.75.

Yn 1880 cymellwyd hwynt i gerdded eu hunain, ac i ofalu am eu cyflenwad mewn gweinidogaeth, yr hyn a wnaethant mewn rhan, beth bynag, eto nid oeddynt wedi eu corffori yn eglwys, nac arolygiaeth eglwys Wilkesbarre wedi darfod, oblegid bu yr achos yn wan ar adegau, a bu eglwys Wilkesbarre yn penodi brodyr i fyned yno ar gylch i'w cynorthwyo i gynal yr ysgol a chyfarfodydd gweddio, a'r gweinidog oedd yno ar y pryd i gyngori ychydig, yn ol fel yr oedd amgylchiadau yn caniatau.

Yn 1883 penderfynodd cyfarwyddwyr yr ysgol werthu yr hen ysgoldy, a'i symud o'r lle er gosod adeilad newydd ar y lot, a phrynodd ymddiriedolwyr eglwys Wilkesbarre un adran o hono, a rhoddwyd lot yr ochr arall i'r heol gan Mr. David R. Griffiths at wasanaeth yr achos, a symudwyd yr adeilad ar hono, ac adgyweiriwyd ef yn addoldy destlus yn gwynebu ar Parish Street, ac yno mae y gynulleidfa yn addoli hyd yn bresenol. Ar gais y cyfeillion mae eglwys Wilkesbarre yn rhoddi cefnogaeth foesol i'r symudiad, ac yn ddiweddarach mae, trwy yr ymddiriedolwyr, yn ymgymeryd a thalu mwy na haner y ddyled oedd yn aros, tua $700, mor agos ag yr ydym yn cofio.

Medi 13, 1885, agorwyd y capel hwn, a'r brodyr canlynol fu yn gwasanaethu ar yr achlysur: Y Parchn. Thomas B. Thomas, Monroe, N. Y.; Rowland Thomas, Nanticoke; W. D. Jenkins a William H. Williams, Wilkesbarre. Yn 1886 anfonwyd cais i'r Cyfarfod Dosbarth am genadau i fyned yno i gorffori yr eglwys, ac anfonwyd y Parch. Thos. J. Phillips, Plymouth, a Mr. Robert Lloyd, Warrior Run, yr hyn a wnaethant Gorphenaf 25 y flwyddyn uchod, ac etholwyd y brodyr Dayid R. Griffiths, Thomas Leyshon, Jenkin Lewis, Lewis Jones a Rees D. Roderick yn ddiaconiaid. Derbyniwyd yr eglwys a'r tri blaenaf o'r diaconiaid i undeb a'r Dosbarth yn Wilkesbarre, yn Medi, 1886. Medi 27, etholwyd Daniel Thomas, John Lloyd a Rees D. Roderick yn ymddiriedolwyr yr eglwys, ac ar y 9fed o Ragfyr darllenwyd a chymeradwywyd breinlen yr eglwys.

Rhagfyr 2, yr un flwyddyn, gwnaeth yr eglwys gytundeb a'r Parch. Hugh Hughes i'w gwasanaethu fel gweinidog am gyfran o amser rhwng yno ac Ashley, ac mae y cytundeb hwnw yn aros hyd yn bresenol. Rhif yr eglwys y pryd hwnw oedd 46; ar ddiwedd 1896, 113.

Mae y cyfeillion oedd yno yn dechreu yr achos wedi bod yn coleddu gobeithion am achos cryf yn y lle hwn pan agorid gwaith glo South Wilkesbarre, ac mae hyny wedi ei wneyd bellach er's cryn amser, ond mae dygwyddiadau anffodus wedi bod yn nglyn a'r gwaith, fel nad yw y gobeithion hyny wedi eu sylweddoli eto. Hyderwn fod dyfodol llewyrchus yn aros yr achos ar Rolling Mill Hill.

Wedi i ni ysgrifenu yr uchod bu farw y brawd ffydd awn Mr. David R. Griffiths, yr hwn oedd wr da, a llawn o ffydd; ei feddwl a'i ysbryd yn iraidd, ac achos yr Arglwydd yn agos at ei galon.

## XXIV.—Miners Mills.

Gwnaed llawer cynyg teg gan y Trefnyddion Calfinaidd i sefydlu eglwys berthynol i'r enwad yn y lle hwn, rhwng y blynyddoedd 1868 a 1880, ond bob tro yn aflwyddianus, o

herwydd ansefydlogrwydd y boblogaeth; a chan fod y lle yn dibynu yn hollol ar y gweithfeydd glo, nid peth hawdd oedd cael pobl sefydlog i'r lle i aros. Pan ddeuai ychydig nifer yno, yn meddu tuedd at ein henwad ni, byddai eglwys Wilkesbarre, yr hon sydd tua thair milldir islaw, yn gwneyd ymdrech er cael pregethu yn nghyd ag ysgol yno ar y Sabbothau, a moddion wythnosol hefyd. Ond pan fyddai pethau yn ymddangos yn ffafriol, a gobaith am eglwys yno, cyfodai cwmwl du a thymestlog o'r naill gyfeiriad neu y llall, nes chwalu y cyfan, a byddai yn rhaid rhoddi yr ymdrech i fyny drachefn a thrachefn. Tua'r flwyddyn 1883 sefydlodd yno amryw deuluoedd oedd wedi arfer bod yn aelodau gyda'n henwad ni yn Nghymru a manau eraill, gan aelodi eu hunain gyda'r Annibynwyr, gan y rhai yr oedd eglwys barchus a sefydlog yn yr ardal. Ond nid oeddynt yn teimlo yn gartrefol a hapus yno, oblegid eu sel enwadol, a rhai pethau eraill, er eu bod yn cael pob chwareu teg gan yr eglwys a'i gweinidog.

Yn y cyfwng hwn cyfarfyddodd rhai o honynt â Mr. John T. Griffiths, yr hwn oedd bob amser yn llawn teimlad crefyddol a sel Fethodistaidd, ac wedi ei fedyddio yn helaeth ag ysbryd cenadol, a phob amser yn teimlo yn ofidus am nad oedd eglwys gan yr enwad yn Miners Mills. Wedi ymddyddan personol ag ef daeth nifer o honynt i'r gyfeillach i Wilkesbarre, gyda'r amcan o osod ger bron yr eglwys y priodoldeb o gychwyn achos Methodistaidd yn Miners Mills dan nawdd eglwys Wilkesbarre. Ond methwyd yn yr amcan i gael cydymdeimlad yr eglwys â'r symudiad y tro hwn, am fod y profiad o fethiant blaenorol yn deimlad dolurus yn meddyliau rhai o'r brodyr mwyaf ymdrechgar. Wedi methu yn y cyfeiriad hwn, dygwyd y mater i sylw y Cyfarfod Dosbarth a gynaliwyd yn Wilkesbarre, Mawrth 14, 15, 1885, a dewiswyd pwyllgor i arolygu y mater, mewn undeb a'r brodyr yno, Mri. J. T. Griffiths, Wilkesbarre; David Roberts, Ashley; a'r Parch. Thos. J. Phillips, Plymouth. Yn Nghyfarfod mis Mehefin mae y pwyllgor yn gwneyd ad-

roddiad fel y canlyn: "Fod yno lawer iawn o Fethodistiaid yn byw yn y cylchoedd—rhai wedi bwrw eu coelbren yn mhlith enwadau eraill am dymor, ac eraill heb wneyd. Hefyd hysbyswyd nad oedd modd cael lle i addoli yno heb adeiladu capel, a hysbyswyd fod tir mewn lle hynod o gyfleus wedi ei sicrhau i'r perwyl hwnw." Wedi llawer o siarad, derbyniwyd adroddiad y pwyllgor a rhyddhawyd ef. Yna penodwyd pwyllgor drachefn i edrych i'r mater, a ellid hwylysu y ffordd i adeiladu capel yno:—Mri. J. T. Griffiths, David Roberts, John M. Jones, a'r Parch. R. S. Thomas. Fel hyn daeth yr achos hwn i sylw y Cyfarfod Dosbarth i ddechreu. Yn y Cyfarfod a gynaliwyd yn Warrior Run, Medi, 1885, hysbysodd y pwyllgor fod trefniadau wedi eu gwneyd i adeiladu y capel, ac y dysgwylid iddo fod yn barod erbyn y Cyfarfod nesaf. Felly penderfynwyd fod Cyfarfod mis Rhagfyr i fod yn y lle hwn amser agoriad y capel, a hefyd gwnaed cais at y pwyllgor cenadol am $50 i gynorthwyo yr eglwys i gynal gweinidogaeth yn Miners Mills.

Yn y Cyfarfod canlynol hysbyswyd fod yr eglwys yn rhifo 24 o aelodau cyflawn, a'r capel bron a chael ei orphen, a rhoddwyd amcan-gyfrif o'r draul; ond am fod pethau yn anorphenedig, gohiriwyd adroddiad cyflawn hyd y Cyfarfod dylynol. Yr oedd Cyfarfod Mawrth, 1886, yn Carbondale, ac yn hwnw mae y pwyllgor yn rhoddi adroddiad llawn o'u gweithrediadau, yn nghyd ag adroddiad yr olrheinwyr, fod y cyfrifon yn gywir; a datganodd y Cyfarfod ddiolchgarwch i'r pwyllgor am eu ffyddlondeb yn dwyn y gwaith oddiamgylch. Yr oedd yr adeilad wedi ei adeiladu yn dda a destlus o ran celfyddydwaith, ac yn sefyll ar lanerch ddymunol, ar y brif ffordd rhwng Miners Mills a Wilkesbarre. Ond nid oedd hyn ond dechreuad gofidiau i'r Cyfarfod Dosbarth, a phersonau unigol, am rai blynyddoedd. Nid oedd yr eglwys ond ychydig mewn nifer, ac yn dlawd eu hamgylchiadau—yn gofyn am gymorth cenadol wrth gychwyn, heb allu, nac wedi gwneyd fawr at adeiladu capel, a gwaeth

na hyny, yr oeddynt yn llesg a diymdrech i wneyd fawr eu hunain, gan ddysgwyl wrth y Cyfarfod Dosbarth i wneyd y cwbl drostynt. Cyngorwyd llawer ar Mr. Griffiths, gan amryw frodyr, i fod yn bwyllog; ac nad oedd yno y defnyddiau angenrheidiol i adeiladu eglwys, ond yr oedd ei ffydd ef yn ddiysgog y dylynid yr ymdrechion a llwyddiant.

Nid ydyw swm y draul ar y cofnodion, ond can belled ag yr ydym yn cofio, costiodd yr adeilad tua $1,800, heblaw gwerth y tir; ac yr oedd yn rhaid cael arian i dalu yr adeiladydd, ac nid oedd dim mewn llaw gan yr eglwys mwy na digon i sicrhau y tir. Benthyciwyd yr arian hyn gan amryw o frodyr perthynol i'r Cyfarfod Dosbarth, a rhoddodd Mr. Griffiths a'r Parchn. W. H. Williams a R. S. Thomas "personal notes" am danynt, ac yr oedd y notes hyny ar record y Sir yn erbyn eu heiddo. Yr oedd hyn yn gosod y brodyr dan gyfrifoldeb personol, mwy nag oedd angen am dano; ond yr oeddynt hwy yn ystyried fod y Cyfarfod Dosbarth wrth eu cefn, ac yn gyfrifol am y ddyled. Felly mae y Cyfarfod uchod yn penodi Mr. Griffiths a'r Parch. W. H. Williams yn bwyllgor i gynorthwyo yr eglwys i dynu rhyw gynllun i symud y ddyled oddiar y capel mor fuan ag y byddai hyny yn gyfleus. Ond nid oedd y brodyr yn barod nac yn awyddus i wneyd dim, ac mae Cyfarfod Rhagfyr, 1886, yn anfon y Parch. W. D. Jenkins a Mri. John Roberts, Wilkesbarre, a D. R. Griffiths, Rolling Mill Hill, i fyned yno er eu symbylu i fwy o weithgarwch, a threfnu rhyw gynllun i leihau dyled y capel. Ond ni ddaeth dim daioni o'r ymdrech hwn chwaith. Erbyn Cyfarfod mis Mawrth, 1887, mae rhyw anghydfod wedi tori allan rhyngddynt, fel mae y pwyllgor ar Achosion Eglwysig yn cael ei anfon yno, yr hyn a fu yn rhy fynych yn nodweddu yr eglwys hon wedi hyn. Yn mhen rhyw gymaint o amser aeth rhai o'r brodyr oedd wedi rhoddi benthyg yr arian i deimlo yn anesmwyth, am nad oedd fawr o obaith y buasai yr eglwys yn talu y ddyled, am nad oeddynt yn gallu gwneyd nemawr mwy na thalu y llogau, a thalodd Mr. Griffiths rai o hon-

ynt allan, ac felly yr oedd y baich yn drwm arno ef. Gwñaeth hefyd amryw gynygion, mewn amrywiol ffyrdd, yn Wilkesbarre i gasglu arian i gynorthwyo Miners Mills, ond yr oedd pob cynyg yn troi yn fethiant, a hyny tebygol, am nad oedd yn y gymydogaeth gydymdeimlad a'r symudiad. Nid yw yn debyg fod y pwyllgor chwaith wedi cynyg un cynllun i sylw y Dosbarth i gynorthwyo er lleihau y ddyled, eithr yn hytrach dyoddef dan y baich. Rywbryd yn y cyfnod hwn mae eglwys Miners Mills yn ethol ymddiriedolwyr, ac mae y pwyllgor adeiladu yn rhoddi deed iddynt am y tir a'r capel, ac ar yr un pryd yn gadael y ddyled ar eu "personal notes," yr hyn oedd yn gamgymeriad mawr, from a business point of view. Hyd yma yr oedd yr eiddo ganddynt wrth gefn am y ddyled, ond yn awr maent yn gollwng gafael o'r cwbl, ac ar yr un pryd yn cael eu dal yn gyfrifol am y ddyled, a dim mewn gafael er eu digolledu. Am hyny mae Cyfarfod Providence, Mawrth, 1888, yn penodi pwyllgor o dri er cynorthwyo ymddiriedolwyr eglwys Miners Mills er codi arian er talu y notes angenrheidiol, ac hefyd er gosod yr oll o'r ddyled sydd ar bersonau unigol yn erbyn y capel mewn modd cyfreithiol a rheolaidd fel y cyfryw, sef Mri. John T. Griffiths, John W. Jones ac L. S. Jones. Ond gwrthododd yr ymddiriedolwyr wneyd dim o'r fath. Ni chymerent y baich eu hunain, ac ni roddent eu henwau wrth y notes fel ymddiriedolwyr. Er nad oes neb yn gyfrifol fel ymddiriedolwr, ddim pellach nag mae gwerth yr eiddo sydd wedi ei ymddiried i'w ofal, eto yr oedd arnynt ofn am eu meddianau personol. Felly wedi hysbysu yn y Cyfarfod dylynol nad oedd dim wedi ei wneyd, penodwyd i'r pwyllgor barhau, gan hyderu y byddai wedi ei derfynu yn foddhaol erbyn y Cyfarfod nesaf, a neillduwyd y brawd L. S. Jones i gymeryd lle Mr. Griffiths ar y pwyllgor, a hefyd pasiwyd i Miners Mills gael anfon rhyw frawd i fyned trwy y Dosbarth i gasglu at y capel.

Yn Cymru Newydd, Medi, 1888, gwnaeth y pwyllgor adeiladu gais at y Cyfarfod Dosbarth am eu rhyddhau hwy

o'r helbul, a rhoi eraill yn eu lle. Er fod pawb yn teimlo oblegid eu helbul, nid oedd neb yn barod i gymeryd eu lle; ac yr oedd yn gwestiwn yn meddyliau llawer a oedd yn gyfreithlon newid enwau ar y notes heb ganiatad y gofynwyr, ac fel hyn y safodd y mater, heb un sylw pellach hyd Gyfarfod Mehefin, yn Carbondale, 1892, pan y penderfynwyd trwy bleidlais gyflwyno diolchgarwch i eglwys Wilkesbarre am eu gofal parhaus am achos Miners Mills, a dymuno ar iddi barhau am dri mis yn mhellach. Hefyd, i'r brawd John T. Griffiths am ei ymdrech parhaus a diflino i geisio lleihau y ddyled ar y capel. Hefyd, fod y Cyfarfod dylynol i gymeryd i sylw, a dyfeisio rhyw ffordd i dalu y gweddill o'r ddyled ar y capel. Yr oedd y Cyfarfod hwnw yn Providence, mis Medi, 1892, a phenodwyd y Parchn. W. H. Williams, W. E. Morgans ac R. S. Thomas, a'r brodyr Mri. J. T. Griffiths a John S. Davies yn bwyllgor i ystyried beth oedd oreu ei wneyd, ac arfer eu barn a'u doethineb yn ol yr awdurdod a roddwyd iddynt gan y Cyfarfod Dosbarth. Am ryw achosion ni allodd y pwyllgor gyfarfod a'u gilydd i ymgyngori yn ysbaid y tri mis, ac yn Nghyfarfod Rhagfyr, yn Nanticoke, ychwanegwyd y brodyr D. T. Roderick a W. R. Jones, Wilkesbarre, at y pwyllgor. Yr unig beth a ddaeth oddiwrth y pwyllgor i Gyfarfod Hyde Park, Mawrth, 1893, oedd cynygiad i'r eglwysi wneyd casgliad yn ystod y chwe' mis dyfodol at gynorthwyo Miners Mills i dalu y ddyled. Ni ddaeth ond ychydig o arian i law fel ffrwyth y cynygiad hwn, ac mae Cyfarfod Blakely yn estyn y cynllun hwn dri mis yn mhellach. Erbyn hyn yr oedd y Parch. R. S. Thomas wedi ymadael o'r wlad, i gartrefu yn Nghymru, ac mae yn anfon llythyr i ofyn i'r Cyfarfod ei ryddhau o'r cyfrifoldeb oedd arno ef yn nglyn a'r achos, a hefyd dalu yr arian oedd yn ddyledus iddo ef yn bersonol. Yn ngwyneb hyn penderfynwyd fod eglwys Miners Mills i ymgymeryd â gwaith a chyfrifoldeb y pwyllgor, a darparu personau cyfrifol fel securities am y ddyled; a nodwyd Mri.

L. S. Jones a James B. Davies i fyned yno i geisio cario allan y penderfyniad hwn.

Yn Nghyfarfod Olyphant, Rhagfyr, 1894, gwnaeth y pwyllgor adroddiad, eu bod wedi llwyddo i gael yr eglwys yn foddlon i fyned dan y cyfrifoldeb am y ddyled, a rhyddhawyd yr hen feicheion, a chyfarwyddwyd hwythau i wneyd yn ol gofynion y gyfraith, a dwyn y mater i derfyniad boddhaol. Wedi hyn mae Cyfarfod a gynaliwyd yn Rolling Mill Hill yn penderfynu anfon cais at yr holl eglwysi i gefnogi ac addaw gwneyd eu goreu gyda symudiad i gael excursion er cynorthwyo eglwys Miners Mills i ymryddhau oddiwrth y ddyled ar y capel, a bod swyddogion eglwys Wilkesbarre i ofalu am a chynorthwyo yr eglwys yn ei gwendid. Gwnaed yr excursion yn yr haf canlynol i Fairview, a throdd allan yn llwyddiant, a rhwng yr ymdrech hwn ar ran y Dosbarth, ac ymdrech y cyfeillion yn y lle, llwyddwyd i dynu y ddyled i lawr i saith gant o ddoleri. Felly yn Nghyfarfod Hyde Park, Mawrth, 1896, gwnaed hysbysiad gan y pwyllgor fod yr ymddiriedolwyr wedi ymgymeryd a'r gweddill o'r ddyled, a Mr. John T. Griffiths a'r Parchn. W. H. Williams ac R. S. Thomas wedi eu llwyr ryddhau oddiwrth bob cyfrifoldeb pellach; ac yr oedd hyn yn newydd da, oblegid fod Mr. Griffiths bellach wedi marw, Mr. Thomas wedi gadael y wlad, a Mr. Williams yn hynod wael ei iechyd, a bu yntau farw yn fuan ar ol hyn. Wedi cael yr amgylchiadau i well trefn, gallesid dysgwyl y buasai yr achos yn sefyll ar ei draed, ac yn cerdded bellach; ond trodd y dysgwyliad hwn allan yn siomedig. O herwydd annhrefn, musgrellni a chwerylon, mae yr achos yn gwanhau, fel ar ddechreu y flwyddyn 1897, mae yr ychydig oedd yno yn penderfynu rhoddi i fyny, a throi yr eiddo i ofal ymddiriedolwyr y Gymanfa. Felly mae Cyfarfod Dosbarth Olyphant yn penodi pwyllgor i roddi llythyrau rheolaidd i'r rhai oedd am ymadael, a chododd yr oll eu llythyrau ond dau. Gwnaed ail gynyg i agor y capel wedi hyn, ond methiant fu hwnw hefyd. Ni wyddom am un achos y

cymerwyd mwy o drafferth gydag ef, a chyn lleied o lwyddiant, a lle i feddwl fod daioni wedi ei wneyd, i ateb i'r llafur. Mae y capel yn adeilad da a destlus, ac wedi ei gadw yn lan a threfnus, tu fewn ac allan, ac mewn safle ddymunol, ac mae yn resyn na buasai yn bosibl adeiladu achos yn y lle.

Yr ydym wedi manylu cymaint ar amgylchiadau allanol yr achos, fel nas gallwn roddi ond crynhoad bychan o'i agweddau tufewnol. Y personau oedd yn aelodau pan sefydlwyd yr eglwys oeddynt y rhai canlynol: David James a'i dair merch, William Lacey a'i wraig ac un ferch, Thos. J. Hughes, David Lloyd a'i wraig ac un ferch, John D. Hopkins a'i wraig, William S. Morgan a'i wraig, Thos. J. Davies a'i wraig, Thos. M. Evans, Leyshon Davies. Y blaenor cyntaf oedd David James, a David Lloyd a William Lacey yn ei gynorthwyo. Y blaenoriaid fu yno wedi hyny oeddynt, Thos. M. Evans a W. S. Morgans. Y gweinidogion fu yn gofalu am yr eglwys am dymorau oeddynt, y Parchn. John J. Hughes, Joseph Rees, D. C. Phillips ac R. R. Jones. Ni bu arosiad y naill na'r llall yn faith yno, am eu bod yn cael eu galw yn anhymyg, ac yn cael eu troi oddiyno yr un modd. Yr ymddiriedolwyr cyntaf, yn ol y charter yn 1896, oeddynt William T. Lacey, David Lloyd, Thos. M. Evans, Ismael Williams a John D. Hopkins.

Bu yr eglwys ar rai adegau yn ymddangos yn ffafriol i gynydd a llwyddiant; ond gyda hyny byddai rhwystrau yn codi, o fewn neu o faes, fel na bu ond ar adegau byrion iawn yn alluog i gynal ei chyfarfodydd heb gynorthwy brodyr o Wilkesbarre; ac er ei bod yn cael cymorth oddiwrth y Bwrdd Cenadol yn flynyddol, a llawer o bregethu rhad gan y gwahanol weinidogion, gwywo wnaeth y cwbl. Yr oedd yno lawer o wendid, mae yn ddiau, ond mwy o annhrefn ac anfedrusrwydd, a diffyg bod o'r un feddwl a'r un farn. Er hyn oll hyderwn y dengys y dydd a ddaw fod yno les i eneidiau wedi cael ei wneyd, fel ad-daliad am y llafur mawr.

## XXV.—EDWARDSDALE.

Mae y lle hwn i'r gorllewin o bentref Kingston, ac mewn rhan yn barhad o hono. Yn y llanerch hon mae gweithfeydd ein cydwladwr Daniel Edwards, Ysw., oddiwrth yr hwn y rhoddwyd yr enw i'r lle, Edwardsdale.

Cychwynwyd achos gan y Methodistiaid yn y lle hwn, Hydref 7, 1888, mewn lle a elwid Ysgoldy y Grove, ar ochr orllewinol yr ardal. Pregethwyd am 2 o'r gloch gan y Parch. Hugh Davies, a'r nos gan y Parch. W. J. Lewis, yr hwn oedd y pryd hwnw yn byw yn Plymouth. Bu Mr. Lewis yn gefn i'r achos hwn ar ei gychwyniad am gryn dymor, a'r brodyr David J. Evans a John F. Jones oedd yr arweinwyr hyd nes i'r eglwys ddewis swyddogion rheolaidd i arwain yr achos. Rhagfyr 15, 16, mae y Cyfarfod Dosbarth gynaliwyd yn Sugar Notch yn penodi y Parch. W. H. Williams a Mr. Lewis S. Jones i fyned i Edwardsdale i sefydlu eglwys Fethodistaidd yno. Yn Nanticoke, Mawrth, 1889, mae y cenadon yn hysbysu eu bod wedi corffori yr eglwys, a'r brodyr David J. Evans, Isaac Jones a John Pugh wedi eu dewis yn flaenoriaid. Derbyniwyd yr eglwys a'r ddau flaenaf o'r swyddogion, i undeb a'r Dosbarth y pryd hwnw; ond gwrthododd Mr. Pugh gydsynio â rheolau y Dosbarth hyd amser diweddarach.

Wedi i'r cyfeillion fod yn yr ysgoldy hwnw am dymor symudwyd i ysgoldy y plwyf, am ei fod yn fwy cyfleus o ran lle iddynt; ond oblegid fod y gynulleidfa yn cynyddu, aeth yn rhy fychan, a symudwyd drachefn i Hoover's Hall. Yr oedd yno ddigon o le, ond yr oedd yr ardreth yn uchel. Yn ysbaid y tymor hwn yr oedd y teimlad yn ffynu yn mysg yr aelodau fod arnynt angen capel i addoli ynddo. Am fod yr arian a delid am y neuadd bob mis yn gryn swm, penderfynwyd dychwelyd yn ol i ysgoldy y plwyf, a dyoddef yr anghyfleusdra yno, er mwyn cynilo yr arian ar gyfer y draul o adeiladu capel. Yn yr adeg hon aed o amgylch yr aelodau er gweled faint o addewidion ellid gael er

prynu tir, &c. Yr oedd yr addewidion i'w cael yn rhwydd, ond mewn festivals y casglwyd llawer o honynt i fewn yn y diwedd. Yn yr adeg hon etholwyd dau flaenor yn ychwanegol, sef Mri. William Davies ac Evan Price.

Yn y flwyddyn 1893 aed yn nghyd ag adeiladu capel, a chyfodwyd adeilad helaeth, a'r celfyddydwaith yn dda a destlus, a gorphenwyd ef yn brydlon, fel yr oedd yn barod i'w agor ar yr ail Sabboth yn Rhagfyr. Cymerwyd rhan yn yr agoriad gan y gweinidogion canlynol: Parchn. William J. Lewis, William H. Williams, R. E. Williams, J. T. Morris, a T. C. Edwards (Cynonfardd). Yr oedd rhif aelodau yr eglwys y pryd hwn yn 75, a'r blaenoriaid oeddynt y brodyr Isaac Jones, Evan Price a William Davies, ac yr oedd y Parch. R. E. Williams mewn cysylltiad gweinidogaethol a'r eglwys ar y pryd.

Yn nghorff y flwyddyn 1894 ymadawodd y brawd William Davies a'r lle, felly aed at y gwaith o ddewis blaenoriaid drachefn, pryd yr etholwyd y brodyr Robert S. Jones a Robt. Richards. Wedi hyny dewiswyd dau yn ychwanegol, sef Mri. John Pugh a John O. Jones, ond wedi gwasanaethu am dymor ymadawodd Mr. John O. Jones a'r ardal, a bu farw Robert Richards, ac ymddiswyddodd y brawd Robert Jones. I lanw y bylchau hyn etholwyd William H. Jones a William S. Davies yn 1896, ac wedi gwasanaethu yn ffyddlawn ymadawsant hwythau, gan adael ond un blaenor, ac un o'r rhai cyntaf, sef Isaac Jones. Etholwyd Robert S. Jones drachefn, a hwy yw y ddau swyddog sydd yn aros ar yr eglwys hon yn bresenol.

Mae yr eglwys yma, yn gystal a manau eraill, wedi dyoddef yn fawr oddiwrth gyfyngderau gweithfaol, a symudiadau o'r lle mewn canlyniad. Gobeithiwn y gall adenill y tir mae wedi golli eto yno yn y dyfodol. Maent wedi bod yn ffyddlon i dalu am y capel, fel mae yn awr bron yn glir.

# PENOD VIII.

## Y DOSBARTH DEHEUOL.

## EGLWYSI.

### I.—Pottsville, Minersville, a St. Clair.

PA bryd y dechreuwyd cynal cyfarfodydd rheolaidd yn y cylch hwn, a elwir y Dosbarth Deheuol, mae yn anhawdd i ni bellach benderfynu. Yn y flwyddyn 1846 mae y Gymanfa yn rhanu yr eglwysi yn ei chylch yn ddau ddosbarth, a nodir y lleoedd canlynol: Pottsville, Minersville, Summit Hill, Beaver Meadow, Hazleton ac Allentown fel yn cyfansoddi y Dosbarth uchod. Trwy amryfusedd, ond odid, mae eglwys St. Clair wedi ei gadael allan. Yn Nghymanfa Summit Hill, 1849, gwneir sylw, "Fod gwerthiant y tir perthynol i achos Pottsville i fod dan ofal cyfarfod chwech wythnosol y Dosbarth hwnw." Gwneir sylw cyffelyb yn Nghymanfa Danville yn 1850, yn nglyn ag achos Philadelphia, gan anog y cyfeillion yn y ddinas i roi eu hunain mewn undeb â chyfarfod chwech wythnosol Pottsville. Eto yn 1852 rhanwyd cylch y Gymanfa yn dri dosbarth:

1. Pottsville, Minersville a St. Clair.
2. Summit Hill, Tamaqua a Lehigh Gap.
3. Carbondale, Scranton a Danville.

Oddiwrth yr awgrymiadau hyn, gellid casglu fod Cyfarfod rheolaidd wedi ei sefydlu, eto nid oes genym hanes ys-

grifenedig nac argraffedig i ddangos fod hyny wedi cymeryd lle hyd y flwyddyn 1853, pan y dechreuwyd cyfres newydd o gyfarfodydd. Yn absenoldeb unrhyw gofnodion, ymddengys mai y peth cyntaf sydd genym mewn llaw ydyw bwrw golwg ar yr eglwysi a'r lleoedd oedd yn ffurfio cnewyllyn y Dosbarth, a'r Gymanfa yn cadw arolygiaeth drostynt cyn bod Cyfarfod wedi ei sefydlu. Oddieithr cofnodion y Gymanfa, mae y defnyddiau yn brin, ac yn rhy brin i wneyd dim tebyg i hanes dyddorol ac adeiladol i'r darllenydd o'r hen sefydliadau cyntaf: (a) Am na chadwyd dim cofnodion o weithrediadau yr eglwysi. Ymddengys nad oedd dim yn mhellach oddiwrth feddwl llawer o'r hen dadau na chadw coffadwriaeth o'r hyn oeddynt wedi ei wneyd gydag achos yr Arglwydd. (b) Mae y genedlaeth hon wedi myned i ffordd yr holl ddaear, oddieithr ychydig iawn o bersonau ag sydd eto yn aros fel dolen gysylltiol rhyngom ni a'r oes hono, fel nad oes neb braidd i ddweyd yr hanes. Mae yn Scranton eto dair o chwiorydd, sef Mrs. Jennet Davies, oedd yn Pottsville tua 1837; a Mrs. Joshua Williams, oedd yn St. Clair tua 1839; a Mrs. Walter Phillips, oedd yn bur foreu yn Minersville; ond mae henaint wedi eu gorddiwes, a'r cof wedi ei wanhau, fel mae yn anhawdd cael dim sicrwydd trefnus am symudiadau yr achos ar y cychwyn.

Mae Pottsville, Minersville a St. Clair yn sefyll yn eu perthynas a'u gilydd fel tair ongl. Pottsville ydyw prif dref Swydd Schuylkill, a phrif gainc yr afon yn myned heibio i'r ddinas, ac mae St. Clair tua dwy filldir i'r gogledd-ddwyrain oddiyno, ar waelod dyffryn prydferth, ac aber o ddwfr gloew yn rhedeg trwy ei ganol a elwir gan rai North Schuylkill; ac mae Minersville tua thair milldir i'r gogledd-orllewin o Pottsville, a thua'r un faint o St. Clair. Yn y fangre hon dechreuwyd agor gweithfeydd glo tua'r flwyddyn 1820, ac o hyny allan dechreuodd Cymry ymfudo yma. Yn 1842 dywedid fod yma 400 o Gymry yn aelodau o'r gymdeithas ddirwestol. Yn 1825, swm y glo a an-

fonwyd o Schuylkill County i gyd oedd 5,300 tunell; yn 1830, 89,984 tunell; ond yn 1844 yr oedd y swm a allforiwyd o Pottsville yn unig, yn 327,526 tunell. Ac mae y ffigyrau hyn yn egluro cynydd a dadblygiad yr adnoddau mwnawl yn y parthau hyny.

Yn 1842 yr agorwyd y rheilffordd gyntaf yno, ac yr oedd hyny yn ychwanegu yn fawr at eu cyfleusderau teithiol a masnachol. Agorwyd y ffordd Ionawr 10fed o'r flwyddyn uchod; ac mae y cwmni yn rhoddi cludiad rhad i'r mwnwyr a'u cyfeillion i ymweled â Philadelphia. Cychwynasant o Pottsville am 8 yn y boreu, a chyraeddasant i'r ddinas erbyn saith yn yr hwyr. Ystyrid y buasai y glo a dorid yn Pottsville y boreu hwnw yn New York erbyn yr 11eg, ac yn Boston erbyn y 12fed. Yr oedd cyraedd o Pottsville i Philadelphia mewn diwrnod yn beth mawr iddynt hwy; ond erbyn hyn gellir cyraedd oddiyno i Boston mewn llai o amser. Bellach, cymerwn sylw mwy neillduol o'r lleoedd hyn yn eu gwedd grefyddol.

Pottsville.—Ymddengys fod y Methodistiaid wedi bod ar ol yr enwadau eraill yn cychwyn achos crefyddol, am eu bod yn llai eu nifer, neu yn fwy hwyrfrydig na'r lleill. Cynaliodd y Bedyddwyr Gymanfa yma yn y flwyddyn 1838 —math o Gymanfa undebol, ac yr oedd y Parchn. William Owen, Pittsburg; William Richmond, Carbondale; William Harris, a William Rowlands (T. C.), a Lewis Williams, Beaver Meadow (A.), yn pregethu yno, a rhanwyd y gwasanaeth rhwng y gwahanol gapelau.

Pa bryd y dechreuodd y Methodistiaid nid ydym yn sicr, ond yn 1832 mae'r ychydig oedd yno yn anfon am y Parch. John Davies, Carbondale (yr unig weinidog ordeiniedig yn y Dalaeth y pryd hwnw), i ddyfod yno i'w corffori yn eglwys. Aeth yntau yno, a chyflawnodd y gorchwyl hwnw yn mis Awst y flwyddyn hono. Yn fuan wedi iddo ddychwelyd mae "rhyw bregethwr Annibynol yn myned yno, ac yn chwalu y ddeadell fechan a gesglais i," meddai Mr. Davies, a dychwelodd yno drachefn yn Hydref y flwyddyn hono,

i'w casglu yn nghyd, a buont yn cynal moddion gras mewn tai anedd, ac yn ysgoldai Bellemonte a Bear Ridge, a phan ddeuai pregethwr heibio iddynt, yr oeddynt yn cael benthyg capelau yr Annibynwyr neu y Bedyddwyr.

Teimlai y brodyr yn fawr yr angen am le i addoli fel cartref iddynt eu hunain, ac wedi llawer o ymddyddan ar y mater yn eu cyfeillachau, maent, yn y flwyddyn 1837, yn ymysgwyd o'r llwch, ac yn gwneyd symudiad i gael capel iddynt eu hunain. Aed at wr boneddig i ofyn gwerth darn o dir fel lle i adeiladu, ac mae rhagluniaeth yn agor y drws, ac yn eu cymell i fyned yn mlaen, trwy roddi yn nghalon y boneddwr hwnw i wneyd rhodd o'r tir iddynt i'r amcan mewn golwg. Aed wedi hyny at Gymry, Saeson ac Ellmyniaid, i ofyn eu hewyllys da at adeiladu, a rhwng caredigrwydd cyfeillion, a haelfrydedd eu cymydogion, casglwyd agos ddigon i ddwyn y draul. Mrs. Jennet Davies (yn awr o Scranton), gasglodd y $60 cyntaf at adeiladu y capel hwn. Ei faint oedd 30x32, wedi ei adeiladu o briddfeini cochion. Tachwedd 4, 5, 1837, trefnwyd i'w agor, a'i gysegru i wasanaeth yr Arglwydd, ac yr oedd y gweinidogion canlynol yn gwasanaethu ar yr achlysur: Y Parchn. John O. Davies, Drinkard's Beach; John Davies, Carbondale; Owen Jones, Philadelphia; William Rowlands, New York. Yr oedd yn bresenol hefyd y Parchn. Jenkin Jenkins, Beaver Meadow (A.) (Dundaff wedi hyny), a Shadrach James (B.). Ystyrid fod y cynulliadau yn lluosog, ac na welwyd cynifer o Gymry yn nghyd ar un achlysur blaenorol yn y lle, a chasglwyd y Sabboth hwnw at ddileu y ddyled $60, yr hyn oedd yn swm mawr y pryd hwnw. Yr oedd yn mysg y frawdoliaeth fechan amryw o ddynion rhagorol yn yr adeg hon. Yr oedd Mr. Thomas Griffiths, tad Mr. John T. Griffiths, Wilkesbarre, yma yr adeg hon. Ymfudodd i'r wlad yn 1831, ac wedi bod rhyw gymaint yn New York symudodd i Bellemonte yn ymyl Port Carbon. Yr oedd yn wr o wybodaeth ysgrythyrol helaeth, a duwioldeb hynod, a bu yn dra defnyddiol i adeiladu achos y Methodistiaid yn y lle.

Bu ei wraig farw yn 1841, a bu yntau farw yn 1845. Mr. Edward P. Thomas, brodor o Ferthyr Tydfil, daeth yntau i'r lle yn 1831. Yr oedd yntau yn dduwinydd ac yn llenor rhagorol. Ysgrifenodd gryn lawer i'r "Cyfaill" yn y blynyddoedd cyntaf, a bu yn canlyn Dr. Rowlands ar ei daith trwy Pennsylvania ac Ohio yn 1837, am dri mis. Yr oedd hefyd yn ddirwestwr trwyadl. Bu ef farw oblegid damwain yn y gwaith yn 1845. Yr oedd Mr. Griffiths yn flaenor cyn dyfod i'r wlad, ond nis gallwn ddweyd pa un a oedd Mr. Thomas felly ai peidio. Mri. Lewis Thomas, John Thomas, Henry Jones, W. H. Davies hefyd, oeddynt wyr rhagorol a defnyddiol, a buont yn golofnau yr achos yn y blynyddoedd hyn. Yr oedd y cynulleidfaoedd yn lluosog, a'r canu o dan arweiniad John Thomas yn rhagorol. Mri. Howell Davies, Timothy Davies, a David Davies ei frawd, fuont yn wasanaethgar i'r achos y pryd hwnw.

Aeth yr adeilad hwnw ar Norwegian Street yn rhy fychan neu yn rhy anghyfleus, a phenderfynwyd ei werthu, a chael lle mwy cyfleus i adeiladu yn y dref. Prynwyd y tir, ar gongl Laurel a Third Street, a gwnaed cais am freinlen, gyda'r brodyr canlynol fel aelodau: Mri. W. H. Davies, Henry M. Jones, Evan Peters, Edward Thomas a Howell Davies. Adeiladwyd y capel yn 37x25, ac agorwyd hwnw Hydref 30 a Tachwedd 1, 1847, a gweinyddwyd ar yr achlysur gan y Parchn. John Davies, Carbondale; John G. Jones, Allentown; Joseph E. Davies a Thomas Phillips. Ymddengys fod y brodyr wedi tynu arnynt eu hunain faich trwm wrth adeiladu y capel hwn, oblegid mae Cymanfa Danville, Ebrill, 1848, yn rhoddi caniatad iddynt fyned allan i gasglu at ddileu y ddyled, ond eu bod i gwblhau hyny erbyn y Nadolig canlynol. I Gymanfa Summit Hill, 1849, mae eglwys Pottsville yn gofyn am ganiatad i fyned i gasglu lle nad oeddynt wedi bod o'r blaen. Caniataodd y Gymanfa eu cais, ac yn ychwanegol, "Fod rhyddid ac anogaeth iddynt i werthu y tai perthynol i'r capel, ond nid y tai dan y capel, er eu cynorthwyo i dalu y ddyled, ac fod y

gwerthiant i fod dan arolygiaeth cyfarfod chwech wythnosol y Dosbarth hwnw. Cydnabyddir derbyniad casgliad at y capel hwn gan y brawd W. H. Davies fel Ysgrifenydd yr eglwys, o Summit Hill, $43.25; chwarelau llechi, $32.62; Slateford, $8.50; Jersey, $10; Welsh Co., $3; Catasauqua, $46; Phenixville, $8. Ymddengys i ni yn hynod fod y brodyr yn y fath benbleth gyda'r capel, gan nas gallai y draul fod yn fawr; ond fe ddichon fod amgylchiadau nad ydym ni yn brofiadol o honynt, yn esbonio eu trafferth. (a) Yr oedd y gelfyddyd o godi glo, a'i barotoi i'r farchnad, yn anmherffaith, fel nad oedd eu henillion ond ychydig. (b) Am eu bod yn dibynu ar y gamlas i'w gludo i'r farchnad, nid oedd nemawr ddim gwaith yn y gauaf. (c) Nid oeddynt yn cael dim arian i'w llaw am weithio gan y cwmnioedd, store pay oedd y cwbl; ac nid oedd fawr o arian mewn cylchrediad yn y wlad, felly nid oedd y gweithwyr yn gweled arian braidd byth y pryd hwnw, ac o dan yr amgylchiadau hyn yr oedd yn anhawdd iddynt gyfranu.

Yn y flwyddyn 1871 gwnaed cyfnewidiadau, ac adgyweiriwyd y capel, gyda thraul o $1,000, a gwnaed ymdrech neillduol i dalu y ddyled hon, gan fod nifer yr eglwys erbyn hyn wedi lleihau yn fawr. Drachefn, yn 1890, yr oedd yr adeilad wedi ei niweidio yn fawr gan wlawogydd trymion, fel yr oedd yn angenrheidiol ei godi a'i adgyweirio, ac yr oedd y draul i hyny yn $900. Nid oedd nifer yr aelodau erbyn hyn ond pump, dau frawd a thair chwaer. Yn y gobaith y buasai adfywiad mewn masnach yn dwyn rhagor o Gymry i'r lle, ac y buasai hyny yn foddion adfywiad ar yr achos, yr ymgymerwyd a'r anturiaeth hon. Wrth weled eu gobeithion a'u dysgwyliadau yn pallu, gwerthwyd y capel yn y flwyddyn 1895. Wedi talu y ddyled oedd arno, gofalwyd gan Mr. David Williams am ddiogelu y gweddill o'r arian at adeiladu capel arall, os byddai galw am hyny, neu ynte fod yr arian yn myned at wasanaeth y Cyfundeb yn mhen pum' mlynedd. Bu Pottsville am flynyddoedd yn lle enwog yn hanes Methodistiaeth. Cynaliwyd yma lawer o

Gymanfaoedd grymus, yn enwedig pan ddeuai Dr. Rowlands yno. Sonir hyd heddyw am rai oedfaon grymus a gafodd yn y parthau hyn. Yr oedd eglwys Pottsville yn dangnefeddus a heddychlon, ac nid oes dim yn ei hanes wedi galw am ymyriad y Cyfarfod Dosbarth a'r Gymanfa mewn ffordd o ddysgyblaeth.

Mae adegau o gyfyngder masnachol yn y wlad wedi gwneyd difrod mawr ar ein heglwysi Cymreig, ac felly yn Pottsville. Yr oedd panic 1857 yn neilltuol felly, ac yn 1874-5 yr oedd y gynulleidfa bron yn cael ei gwneyd i fyny o ddau deulu, sef eiddo Mr. Lucas a Mr. Williams, yr hwn sydd eto yn fyw. Bu mwy o bregethwyr a gweinidogion Methodistaidd yn cartrefu yn Pottsville nag un lle arall braidd yn y blynyddoedd cyntaf.

Y cyntaf mae genym hanes am dano ydoedd y Parch. John O. Davies, yr hwn a symudodd o Drinkard's Beach, ac a fu farw yno yn 1838. Dylynwyd ef gan y Parch. David Davies yn 1841. Daeth John Griffiths hefyd yma yn yr adeg hon. Y Parch. David Williams rhwng 1841 a '43. Mae petrusder ar ein meddwl i roddi enw Mr. Williams i lawr yma, gan y tybiem mai yn Danville y buodd yn byw, ond mae yr hanesydd oddiyno yn ymwrthod a'r syniad iddo fod yno; gan hyny nid oes genym ond ei osod yn y cysylltiad hwn. Daeth i'r wlad yn 1841, a buwyd yn meddwl am ei ordeinio yr un amser a'r Parch. R. Williams, Minersville, ond am ei fod yn anmhenderfynol ei feddwl i aros yma gohiriwyd. Yr oedd y Parch. Joseph E. Davies yno rhwng 1843 a 1846; y Parch. Enoch Samuel, 1847; y Parch. Thos. Phillips, 1849-51; y Parch. Daniel J. Morgans, 1854-60; y Parch. Thomas James, 1854 a '55; y Parch. Eleazar Evans, 1868; a'r Parch. Ebenezer Evans, 1873 hyd 1877. Nid ydym yn gwybod am neb arall a fu yn byw yn Pottsville heblaw yr uchod. Nid ydym yn gwybod chwaith pa nifer o honynt fu yn dal cysylltiad a'r eglwys fel bugeiliaid heblaw y Parchn. David Davies, Joseph Davies a Thomas Phillips.

Heblaw Mr. Thomas Griffiths, oedd yno yn ddiacon am-

ser sefydliad yr eglwys, derbyniwyd i undeb a'r Gymanfa fel diaconiaid yr eglwys hon yn 1848, Mri. W. H. Davies, Henry M. Jones, a David Jones yn ddiweddarach. Mr. Richard Jenkins yn 1854. Derbyniwyd i undeb a'r Dosbarth yn Minersville, Ionawr, 1856, Mri. John Thomas a David Griffiths. Eto, Chwefror, 1858, Mri. John Lucas, David Williams ac Ebenezer Evans.

Minersville.—Mae y Parch. Joseph E. Davies, D. D., yn ein hysbysu fod yr eglwys Fethodistaidd yn y lle hwn wedi ei sefydlu yn mis Tachwedd, 1832. Gan bwy y sefydlwyd yr eglwys yno, nis gwyddom, heblaw y gellir casglu, gan fod y Parch. John Davies wedi ymweled a Pottsville yr ail waith y flwyddyn hon, mai efe fu yno hefyd yn cyflawni y gwaith hwn. Deallwn mai pedwar oedd yno yn dechreu yr achos, a daliodd yr ychydig hyny yn mlaen, ac ychwanegwyd at eu nifer o bryd i bryd, "o'r rhai a fyddent byth yn gadwedig." Cofnodir hefyd am adfywiad crefyddol a fu yno yn 1840, a chynyddodd yr eglwys i fod yn 24 o rifedi. Yn mhlith y rhai oedd yno amser dechreuad yr achos, ac wedi hyny, cawn yr enwau canlynol: Mri. Owen Hughes a David Davies, 1837; Mr. Edward Blunt, pregethwr, 1842; Mri. Thomas Davies a J. R. Davies, brawd Mrs. Janet Davies, Scranton. Treuliodd J. R. Davies weddill ei oes yno, ac mae y llall yn fyw eto. Mri. Walter Phillips, Robert Hughes, Hugh T. Davies. Cawn yr enwau hyn yn Summit Hill wedi hyn. Mr. William Williams, y boss, fel yr adwaenid ef, a Mri. Hugh Williams a David Howells.

Adeiladwyd y capel cyntaf yno yn y flwyddyn 1839, ac agorwyd ef Awst y 4ydd a'r 5ed. Pregethwyd y noson gyntaf gan y Parch. William Rowlands, New York, 2 Tim. 2: 20. Dranoeth, am fod y gynulleidfa yn ormod i'r capel, pregethwyd yn yr awyr agored, gan y Parchn. W. Rowlands, W. H. Thomas, Utica (B.), E. B. Evans, Pottsville (A.), ac Edward Blunt, pregethwr cartrefol.

Gwelsom y weithred a wnaed am y capel hwn, ac mae mewn ysgrifen dda, ac yn gynllun rhagorol o weithred am

gapel. Ond am ryw reswm ni weinyddwyd hi yn gyfreithiol, ac felly nid oes grym nac awdurdod yn perthyn iddi.

Yn 1842 mae Mr. Thomas Griffiths, Pottsville, yn myned allan i gasglu at y capel hwn trwy Sir Oneida, dinasoedd New York a Philadelphia, a chasglodd $215.17. Arwyddwyd hyn gan Mr. Edward P. Thomas dros y cyfarfod a'r eglwys. Gwerthwyd y capel hwn yn fuan wedi hyny, ac adeiladwyd un arall yn 1844. Mae y deed am y capel hwn wedi eu gwneyd i David Davies, Edward Blunt, Robert Williams a John Rees, Trustees, Ionawr 26, 1844, a hwn yw y capel sydd yn sefyll yno yn bresenol. Agorwyd hwn mewn undeb a Chymanfa Gorfforedig Pottsville, 1846. Yr oedd y Gymanfa yn cael ei chynal Gorphenaf 5-8, a nos Sabboth yr 8fed, dechreuwyd y gwasanaeth agoriadol yn Minersville, a phregethodd y Parchn. Joseph E. Davies a John Davies. Am 10 ddydd Llun pregethodd y Parchn. John Griffiths, Danville, a John Jones, Utica. Am 2, y Parchn. Thomas R. Jones, Wilkesbarre, a W. Rowlands yn Saesneg. Am 6, y Parchn. John Jones a W. Rowlands. Cydnabyddir casgliad at y capel hwn o Summit Hill, $18; Carbondale, $33.51; Nanticoke, $11; Danville, $28; Hyde Park, $6.75.

Bu amryw weinidogion yn cartrefu yn Minersville hefyd. Yr oedd y Parchn. Edward Blunt a Robert Williams yno cyn amser agoriad y capel cyntaf. Yn 1846 mae y brawd Richard Jones yn cael caniatad gan y Gymanfa i bregethu yn y tri lle. Yno hefyd y dechreuodd y brawd David W. Howells bregethu, fel y tybiwn. Yr oedd y Parch. R. Williams a Mr. John R. Davies yn bartneriaid mewn masnach, ac yr oedd y brawd Howells yn ysgrif-was iddynt. Am ryw achos nad ydym yn gwybod, mae eglwys Minersville yn ei ddiarddel, ac mae Cymanfa Danville yn cadarnhau eu gweithrediadau. Yma hefyd yr oedd y Parch. John L. Jeffreys yn cartrefu tra yn y fangre hon. Yma y dechreuodd y brawd John Anwyl bregethu, ac yma hefyd y terfynodd ei daith. Yma hefyd y dechreuodd y brawd John Morgans bregethu yn 1866, ac oddiyma hefyd y der-

byniwyd y brawd W. R. Thomas i undeb a'r Dosbarth yn 1866. Yr oedd y Parch. Robert Williams mewn cysylltiad gweinidogaethol a'r eglwys, ac felly Mr. Jeffreys, ond nid ydym yn gwybod fod neb o'r brodyr eraill fu yn byw yma felly.

Enw y diacon oedd yma amser sefydliad yr eglwys oedd Mr. William Roberts, a derbyniwyd ef i undeb a'r Gymanfa yn 1846. Yn 1849 derbyniwyd Mri. William Williams a Walter Phillips i undeb a'r Gymanfa fel diaconiaid yn Minersville. Yn Chwefror, 1858, derbyniwyd Robert Wright i undeb a'r Dosbarth, ac yn ddylynol i hyny Mr. Jonah Richards. Yn y Cyfarfod a gynaliwyd yno, Hydref, 1863, derbyniwyd Mr. John R. Davies. Gorphenaf, 1868, Morgan H. Harries; Mai, 1870, Mr. Thos. Morgan; ac yn Pottsville, Medi, 1873, Edward Anwyl.

Bu amgylchiadau gwasgedig masnach o bryd i bryd yn niweidiol iawn i'r achos yn Minersville, ac nid oedd ei gyfleusderau ychwaith cystal a'r lleoedd eraill. Bu marwolaeth Mr. John R. Davies yn golled anadferadwy i'r eglwys fechan; o ran hyny, bu ei angeu ef yn angeu i'r achos yn y lle. Mae y capel wedi ei gau i fyny bellach er's rhai blynyddoedd, ac nid oes neb o'r Methodistiaid yn aros yn y lle ond y brawd Joseph Turner.

St. Clair.—Dechreuwyd cynal Ysgol Sabbothol yn y lle hwn yn y flwyddyn 1838, pan oedd nifer y Cymry yn y lle yn ychydig, ond yr oedd nifer yr Ysgol o 40 i 50. Yr oedd yr ieuenctyd yn trysori gair Duw yn eu cof, ac yn cael pleser wrth ei ddysgu. Cynelid hefyd ysgol egwyddorol ar nos Fawrth, yn yr hon yr oedd athrawon yr Ysgol yn egluro egwyddorion crefydd, ac yn trafod pynciau duwinyddol. Yn un o'r cyfarfodydd cyntaf, y pwnc a benodwyd i'w drafod oedd y "Bod o Dduw," yr hyn sydd yn dangos nad oedd arnynt ofn pynciau mawr y pryd hwnw. Sefydlwyd achos y Methodistiaid yn y lle yn 1845, yn cynwys tua deuddeg o aelodau. Yn eu plith yr oedd Mr. W. Williams, a ddaeth yma yn 1832, a Mr. John Rees, a ddaeth yma yn

1837. Ond un o'r rhai blaenaf yn cychwyn yr achos oedd Mr. Joshua Williams (mae ei weddw yn fyw eto yn Scranton). Cydnabyddid gan bawb a'i hadwaenai ei fod yn weithiwr rhagorol, ac yn garedig i'r achos yn ei holl gysylltiadau. Mae yn debyg iddynt ddechreu adeiladu capel yr un flwyddyn, yr hwn a agorwyd Mehefin 20, 21, 1846, mewn undeb ag agoriad capel y Cynulleidfaolion, ac yr oedd y gwasanaeth yn cael ei gynal yn y capel hwnw. Nos Sadwrn pregethodd y Parch. Daniel Daniels, Beaver Meadow. Am 10 y Sabboth, Parchn. R. R. Williams, Minersville (A.), a Daniel Daniels. Am 2, Parch. David Williams, Pottsville, yn Saesneg, a J. B. Cook o Danville. Am 6, yn nghapel y T. C., D. Daniels ac R. R. Williams. Felly nid oedd yma ond un pregethwr Methodistaidd, nac ond un gwasanaeth yn y capel Methodistaidd. Maint y capel ar y cyntaf oedd 22x26, ond helaethwyd ac adgyweiriwyd yr adeilad wedi hyny, fel y gellid eistedd ynddo yn rhwydd tua 250 o bobl, a bu ar rai adegau yn llawn o wrandawyr. Cyflwynwyd y weithred am y tir a'r capel hwn i ofal a meddiant y Cyfundeb, yn Nghymanfa Pottsville, 1848. Yn 1849 rhoddwyd caniatad y Gymanfa iddynt i werthu rhan o'r tir perthynol i'r capel, a phenodwyd Mri. Joshua Williams, Henry Jones, Pottsville, a Hugh Davies, Minersville, i arolygu y gwerthiant. Yn y lle hwn y dechreuodd y Parch. John Adams bregethu, ac yma yr oedd y Parch. B. D. Davies pan dderbyniwyd ef yn aelod o'r Dosbarth. Yma hefyd yr oedd y Parch. Edward J. Hughes yn cartrefu tra bu yn gwasanaethu yr eglwysi yn y cylch. Mr. Joshua Williams oedd y diacon cyntaf a ddewiswyd amser sefydlu yr eglwys; wedi hyny, Mri. David Jones a Watkin Powell, y rhai a dderbyniwyd i undeb y Gymanfa. Yn Pottsville, Chwefror, 1856, derbyniwyd Mri. Thos. J. Evans a Howell Davies i undeb a'r Dosbarth fel diaconiaid St. Clair. Ionawr, 1860, Mr. Jonathan Jones; Gorphenaf, 1866, yn Nghyfarfod St. Clair, David Davies; yn Danielsville, 1872, y brawd John Roberts.

Dyoddefodd y lle hwn oblegid cyfyngderau masnach ar wahanol adegau, ac oblegid un achos yn fwy nag un lle arall braidd. Aeth y bwrdeisdref i wrthdarawiad a Frank McGowen, President y Reading Railroad, oblegid pont yn croesi y rheilffordd rhwng Pottsville a St. Clair. Mynai ef iddynt hwy brynu y bont, a mynent hwythau iddo ef adeiladu pont haiarn yn lle un goed, a methwyd a dyfod i gytundeb. Penderfynodd yntau y gwnai i'r glaswellt dyfu ar heolydd y dref; ac i roddi ei fygythiad mewn gweithrediad, tynodd i lawr y breakers, a symudodd i ffordd bob peirianau perthynol i'r cwmni. Safodd yr olwynion, a diflanodd pob trafnidiaeth o'r lle am rai blynyddoedd. Yr oedd y glaswellt yn tyfu ar yr heolydd, oblegid yr oedd corff mawr y preswylwyr wedi ymadael. Dyma engraifft nodedig o drahausder a gormes corfforiaethau mawrion. Eto trwy ffyddlondeb a dyfalbarhad ychydig frodyr a chwiorydd, daliodd yr achos bychan yn St. Clair heb lwyr ddiffodd, ac yn y noswaith dywyll a hirfaith, cadwyd y drws yn agored, a goleuni yn y ffenestri. Yn bresenol mae ychydig o adfywiad masnachol yn y lle, a Chymry yn cyrchu yno eto. Gan fod adnoddau naturiol lawer yno eto, gresyn na welid gwawr ar achos crefydd yno hefyd.

Mae genym i sylwi hefyd fod undeb a brawdgarwch wedi ffynu rhwng y tri lle yma ar hyd y blynyddoedd, mewn amrywiol ystyriaethau.

(a) Undeb Ysgolion Sabbothol.—Yn y flwyddyn 1843 cychwynwyd cyfres o gyfarfodydd a elwid ganddynt, "Cymanfa Ysgolion Sabbothol Pottsville, Minersville a St. Clair," yr hon a gynelid bob tri mis ar gylch. Rhoddwn grynodeb o'r drydedd, yr hon a gynaliwyd Rhagfyr 25 y flwyddyn hono, fel engraifft o gynllun y cyfarfodydd:

Yn Minersville, mae y brawd Thomas Griffiths yn holi yr ysgol hono yn y chweched benod o'r Hyfforddwr, a'r Parch. Robert Williams yn holi ysgol Pottsville yn y bedwaredd benod o'r Hyfforddwr. Cynelid hefyd gyfarfod ath-

rawon yn nglyn a'r cyfarfodydd hyn, i ymdrin â gwahanol faterion, ac yn y cyfarfod uchod ymdrinid a swydd athraw, fel y canlyn: (a) Beth a ddylai fod. (b) Beth na ddylai fod, o ran ei fuchedd. (c) Y wybodaeth a ddylai fod ganddo. (d) Medr i drosglwyddo y wybodaeth hono i eraill. (e) Yr angenrheidrwydd am ei fod wedi ei dymeru yn drwyadl mewn ufudd-dod a gostyngeiddrwydd. (f) Yr angenrheidrwydd am ffyddlondeb.

Erbyn 1844 mae y Parch. Joseph E. Davies wedi dyfod i Pottsville, ac am y blynyddoedd y bu ef yn byw yno mae Mr. Williams ac yntau yn cymeryd rhan neillduol yn nygiad yn mlaen y cyfarfodydd hyn, ac mae yn sicr eu bod wedi profi yn fendithiol iawn i'r meddyliau oedd yn ymchwilgar am y gwirionedd. Yn y flwyddyn hon cawn fod y Parch. Hugh Rees, Newark, O., yn bresenol yn un o'r Cymanfaoedd yn pregethu, a'r brodyr eraill yn holi y gwahanol ysgolion, ac wedi hyn cawn fod Mr. Williams a Mr. Davies yn pregethu neu yn areithio ar fater neillduol yn mhob un. Yr oedd cangen yn perthyn i ysgol Minersville, mewn lle a elwid Potter's Valley, am rai blynyddoedd. Yn 1845 cawn fod cyfrifon y Dosbarth fel y canlyn: Swyddogion, 26; ysgolheigion, o 78 i 104; llafur mewn penodau, 934; adnodau, 8,398; y deg gorchymyn wedi cael ei adrodd 78 o weithiau; Hyfforddwr, 18; Rhodd Mam, 62; pynciau ysgrythyrol, 83.

Yn 1849 cawn hanes cyfarfod a gynaliwyd yn Pottsville y Pedwerydd o Orphenaf. Adroddwyd y 3ydd o Genesis i agor y cyfarfod, a gweddiodd y Parch. Thos. Phillips, ac wedi hyny holodd ysgol y lle yn y drydydd benod o'r Hyfforddwr, a'r Parch. John Adams yn holi ysgol St. Clair yn y bedwaredd benod. Am 1 o'r gloch, cyfarfod athrawon, i lunio y mesurau goreu i lwyddo yr ysgol. Am 2, dechreuwyd gan Mr. Adams, a holwyd ysgol Minersville gan y Parch. R. Williams ar y 15fed benod o'r Hyfforddwr; wedi hyny areithiau gan Mr. D. W. Howells ar ragoriaethau yr Ysgol Sabbothol, a Mr. Adams ar y ddyledswydd o addoli

trwy ganu mawl, a Mr. Phillips ar ddirwest. Ac am 5 o'r gloch cyfarfod i'r dyben i drefnu y moddion goreu i lwyddo yr Ysgol Sabbothol. Crybwyllid fod y cyfarfodydd yn dda, a gobeithid am rai cyffelyb iddynt yn y dyfodol.

(b) Undeb Cerddorol.—Rhagfyr 25, 1846, cynaliwyd cyfarfod cyhoeddus yr undeb yn Pottsville y tro hwn. Dewiswyd Mr. Henry Jones yn Llywydd, a dechreuwyd gan Mr. W. Davies. Arweinwyr y canu oedd Mri. John G. Thomas a Thomas Howells, a chafwyd areithiau grymus gan Mri. Moses Evans a John Adams, a therfynwyd gan Mr. Joshua Williams, St. Clair.

(c) Undeb Dirwestol.—Ar y 4ydd o Orphenaf, 1842, cynaliwyd gwyl ddirwestol yn Pottsville. Saith o'r gloch yn y boreu cychwynodd cymdeithas Minersville yn llu banerog, dan ganu emynau dirwestol, i gyfarfod cymdeithasau Pottsville a St. Clair, a'r rhai hyny gyda'u gilydd i gyfarfod cymdeithas Bellemonte. Yr oedd yr orymdaith yn cynwys tua 1,500 o bobl, yn y drefn ganlynol: (a) Pregethwyr a gweinidogion. (b) Banerau. (c) Cantorion. (d) Aelodau y gymdeithas yn gyffredinol. Yr oedd y faner Gymreig yn gampwaith celfyddyd, yn cynwys naw o arluniau, yn dynodi Diwydrwydd, Rhyddid, Digonedd, Callineb, Iechyd, Cyfoeth, Gobaith, Cred, Undeb. Wedi myned yn orymdaith trwy brif heolydd y ddinas, i'r lle priodol, galwyd Mr. Thomas Griffiths i fod yn Llywydd y cyfarfod, a galwodd yntau ar Mr. Wm. Jones (B.), Mr. John Jones (T. C.), Parchn. E. B. Evans (A.), a David Davies (T. C.) i anerch y cyfarfod, a dybenwyd trwy ganu gan gor Minersville a St. Clair. Cyfarfod campus meddir.

(d) Undeb Llenyddol.—Gorphenaf 5, 1841, cynaliwyd cyfarfod cyhoeddus y Cymreigyddion yn Pottsville. Dewiswyd Mr. Rees Thomas yn Llywydd, yr hwn a ddarllenodd reolau y Gymdeithas. Wedi hyny cyfarchwyd yr Undeb gan fardd y Gymdeithas, Mr. Thos. Williams. Yna galwyd ar

yr areithwyr i gyfarch yr Undeb. (a) Y Parch. E. B. Evans, ar ragoriaethau yr Omeraeg. (b) Y Parch. S. James, ardderchawgrwydd yr iaith, ei phrydferthwch, a'i gallu gweithiol. (c) Parch. W. Morgans, daioni rhyddid. (d) Parch. D. Davies, y ddyledswydd o fyw yn sobr. Penderfynwyd cael cyfarfodydd cyffelyb i hwn yn flynyddol.

(e) Undeb Gweinidogaethol.—Ystyrid y tri lle yn daith Sabboth, ac yr oedd y Parch. Robert Williams yn arolygu y tri lle—felly y Parch. Joseph Davies o 1843 hyd 1846, a'r Parch. Thomas Phillips o 1849 hyd 1853. Yn 1858 mae y Parch. E. J. Hughes yn symud o St. Clair, ac yn gweinidogaethu yn y tri lle hyd 1865. Dylynwyd ef gan y Parch. John L. Jeffreys o 1866 hyd 1869. Yn y flwyddyn 1878 mae y Parch. E. C. Evans yn cymeryd gofal y tri lle, yn nghyd a Shenandoah. Yn 1885 mae y Parch. E. W. Jones yn gofalu am y tri lle hyn, ac yn byw yn Shenandoah, am tua thair blynedd. Cyflenwyd y bylchau rhwng tymorau y brodyr uchod gan weinidogaeth brodyr eraill, yn ol y cyfleusdra i'w cael; ond ar ol tymor bugeiliaeth Mr. Jones mae y tri lle yn adfeilio yn fawr, nes diffodd y cwbl yn Minersville, ac wedi gwerthu capel Pottsville ymunodd yr ychydig oedd yno a'r Annibynwyr; St. Clair yn unig sydd yn aros heb lwyr ddiffodd.

## II.—Summit Hill.

Mae Dr. Davies yn rhoddi amser sefydliad eglwys yn y lle hwn yn y flwyddyn 1872. Ond yn ol pob hanes ydym wedi ei gael, yr ydym yn dra sicr fod eglwys a chynulleidfa Fethodistaidd yno yn 1846, neu cyn hyny. Nid oes genym hanes pa bryd na chan bwy y sefydlwyd yr eglwys chwaith. Yr oedd y Parch. J. G. Jones, Allentown, yn myned yno yn fynych i bregethu. Bu amryw frodyr yn cartrefu yn Pottsville yn yr adeg hon, ac yn eu plith Dr. Davies. Hefyd, yr oedd Dr. Rowlands yn ymweled a'r Dalaeth yn fynych yn y blynyddoedd hyn, ac yn cael ei anfon

weithiau gan y Gymanfa i sefydlu achosion crefyddol. Yr ydym yn awgrymu hyn i ddangos fod yn bosibl i'r naill neu y llall o'r brodyr hyn fod yno yn sefydlu eglwys, ond rywfodd fod y cofnodiad o hyny wedi myned yn ddisylw gan Dr. Davies pan yn gwneyd y rhestr i fyny. Nid eglwys undebol oedd hon ychwaith, oblegid yr oedd Summit Hill, Coal Dale a Spring Tunnel yn agos at eu gilydd fel tair ongl. Sefydlodd yr Annibynwyr eglwys yn Coal Dale yn agos yr un amser, ac adeiladasant gapel yno, ac mae yr achos yn aros hyd heddyw, ond Summit Hill oedd cynullfan y Methodistiaid. Eto nid adeiladwyd capel yno; ond yn ol arfer yr adeg hono, yr oeddynt yn ymgynull yn yr ysgoldy, oddieithr ar achlysuron neillduol, pan y gofynid am fenthyg un o'r capelydd yn y dref. Cofnodir fod yr eglwys hon wedi ei derbyn i undeb a'r Gymanfa a gynelid rhwng Scranton a Carbondale, Hydref, 1850. Nid oedd y tadau mor annhrefnyddol, fel y gallem ddychymygu iddynt dderbyn eglwys i undeb a'r Gymanfa heb ei bod wedi ei chorffori yn rheolaidd yn ol arfer yr enwad. Rhwng y blynyddoedd 1846 a 1853 bu yno lawer o ddynion galluog a thalentog, lawn cymaint felly ag un o'r hen sefydliadau. Yr ydym yn ddyledus i Mrs. John T. Griffiths, Wilkesbarre, am enwau rhai o honynt—Mr. David Williams, yr hwn a ddaeth yma o Ferthyr Tydfil yn 1830, ac a ddewiswyd yn arolygydd cyffredinol y Lehigh Co.—dyn da, crefyddol, ond bu farw yn 1848. Yr oedd Mr. Thos. Phillips yn arolygu gwaith Coal Dale. Er mai Annibynwr oedd Mr. Phillips, yr oedd yn ddyn da, haelfrydig ei ysbryd, ac yr oedd llawer o Fethodistiaid yn gweithio dano. Symudodd ef i Hyde Park, ac yno bu farw. Yr oedd Mr. John S. Roberts a'i wraig, tad a mam Mrs. Griffiths, yno yn 1846, a symudasant hwythau i Wisconsin. Mr. Robert Hughes, yr hwn a symudodd yno o Minersville, a dewiswyd ef yn Ysgrifenydd Cymanfa Pottsville, 1848, a symudodd yntau i Wisconsin. Cawsom y fraint o'i adwaen pan oedd yn byw yno, a symudodd wedi hyny i Minnesota, lle y bu farw. Cydnabyddid

ei fod yn ddyn o allu a thalent anghyffredin, fel duwinydd a cherddor. Yr oedd Mri. Thomas a Rees Leyshon, meibion Shon Leyshon, Ynysgeingion, un o hen breswylwyr Cwmtawe, a ymfudodd i Drinkard's Beach, ac a fu farw yn 1849, yno yn yr adeg hon. Symudodd Thomas i Pittston, ac oddiyno i South Wilkesbarre, lle bu farw. Yr oedd i Rees ei frawd 12 o blant, a symudodd yntau i Shawnee, Illinois. Yr ydym yn cofio ei weled unwaith yn Chicago. Yr oedd Mr. Walter Phillips yno hefyd yn y cyfnod hwn, a symudodd yntau i Bellevue. Mr. Hugh T. Davies, dewiswyd ef yn Ysgrifenydd y Gymanfa a gynaliwyd yn Lehigh Gap, 1851, ond symudodd yntau i California. Cyfrifid ef yn ddyn o dalent uwchraddol, ac ysgrifenodd lawer o lythyrau i'r "Cyfaill" am California a Vancouver's Island. Mr. Hugh L. Davies a Rees ei frawd, a theulu ei wraig, Misses Mary a Gwennie Johns; symudodd yntau yn ddiweddarach i Slatington, lle y treuliodd y gweddill o'i oes, a symudodd Rees ei frawd i Elmira, N. Y. Dewiswyd Mr. Davies yn Ysgrifenydd y Gymanfa gynaliwyd yno yn 1849, a'r Gymanfa ganlynol yn Minersville. Mr. David Howells a gyfrifid yn bregethwr galluog, a derbyniwyd ef i undeb a'r Gymanfa yn Lehigh, 1851. Aeth yntau hefyd i California, a machludodd ei haul dan gwmwl. Bu Mr. John T. Griffiths yno hefyd yr un adeg. Yr oedd y rhai hyn i gyd yn ddynion o allu a chyneddfau cryfion, yn ddynion crefyddol, ac yn Fethodistiaid egwyddorol, a sonid llawer wrthym am yr hyfrydwch crefyddol a fwynheid yn Summit Hill gan rai o'r hen bobl yn y cyfnod hwn.

Yn 1851 cynaliwyd cyfarfod yno yn nglyn a'r gofgolofn genedlaethol yn Washington, a chawn yr enwau canlynol yn nglyn a'r achlysur: Hugh Davies, Isaac P. Owens, Evan Phillips, Thomas Hughes, Zorobabel Thomas, John Leyshon, David Powell a John Thomas. Yr ydym erbyn hyn yn teimlo yn ofldus na buasem wedi ymholi a rhai o honynt am fwy o fanylion, yn enwedig Mri. Hugh L. Davies a Thos. Leyshon. Heblaw y brawd David Howells, bu y

Parch. John Adams yn byw yno, ac oddieithr y ddau frawd hyn, dibynu ar weinidogaeth deithiol yr oeddynt. Ymwelid â hwynt yn achlysurol gan y Parchn. Thos. R. Jones, yr hwn oedd yn byw yn Wilkesbarre yn pryd hwnw, Robert Williams, Minersville, a John G. Jones, Allentown; ac yn y blynyddoedd hyny ymwelid yn fynych a'r ardaloedd hyn gan Dr. Rowlands. Yn 1849 yr oedd y Gymanfa Dalaethol yno, a chynelid y gwasanaeth cyhoeddus yn nghapel y Presbyteriaid, ac yr oedd y gwasanaeth hwyrol i gyd yn Saesneg, y Parchn. John G. Jones a Thos. Phillips yn pregethu, yn gystal ag oedfa Dr. Rowlands yn y prydnawn. Yn y Gymanfa hono yr oedd Mrs. Griffiths yn ferch ieuanc, yn adrodd yr ail benod o Joel ar ddechreu un o'r oedfaon, yr hyn oedd yn beth cyffredin y pryd hwnw.

Yn 1852 yr oedd y Gymanfa yn cael ei chynal ar hyd y Dosbarth, gan ddechreu yn Lehigh Gap, Gorphenaf 8, 9, ac yn Summit Hill y 10fed. Yn hono yr oedd y diweddar John R. Williams yn pregethu, ac mewn hwyl cyfeiriai at ryw adar oedd tu hwnt i Genesis, a chyfododd rhyw frawd i'w argyhoeddi ei fod yn cyfeiliorni, pryd mae Dr. Rowlands gyda'i hynawsedd boneddigaidd yn taflu gorchudd cariad dros amryfusedd Williams, gan ddweyd "Mai ychydig o gamgymeriad oedd y brawd wedi ei wneyd, mai tu hwnt i Tennessee oedd ef yn feddwl."

Yn mhen enyd ar ol hyn ymwasgarodd y Cymry o'r lle, a diflanodd yr eglwys Fethodistaidd yn llwyr, hyd pan wnaed ail gynyg yno yn 1872, dan nawdd y Cyfarfod Dosbarth Gogleddol. Anfonwyd y Parchn. Dr. Davies, Scranton, a W. H. Williams, Wilkesbarre, yno o Gyfarfod Providence i gorffori eglwys, ond nid ymddengys fod y cynyg hwnw wedi troi yn llwyddiant. Gwnaed cais gan y cenadon dros yr eglwys at yr eglwysi cryfion, i anfon eu gweinidogion yno un Sabboth, a chyda hyn mae Summit Hill yn diflanu oddiar gofnodion Methodistiaid.

### III.—Buck Mountain.

Symudodd amryw o Summit Hill i'r lle hwn; lle unig, mynyddig, anghysbell, dair neu bedair milldir oddiyno. Yn mhlith eraill yr oedd Mr. Walter Phillips a'i deulu, Mr. John T. Griffiths a'i deulu, ond achos cymysg oedd yno, a Methodistiaid yn arwain y blaen, a buont yn cael pregethu yno unwaith yn y mis. Ond ni pharhaodd y lle hwnw yn hir, can belled ag yr oedd a fynai y Methodistiaid ag ef. Nodwedd y gweithfeydd glo, yn gystal a mwngloddiau eraill, ydyw achos anwadalwch, ac mae hyn i'w weled yn eglur yn hanes y sefydliadau Cymreig cyntaf.

### IV.—Tamaqua.

Nodir y lle hwn ar lyfr y Gymanfa fel lle ag yr oedd yn cymeryd arolygiaeth drosto, ond yr oll ydym ni wedi ei gael allan, ydyw fod yno achos cymysg o 1848 hyd 1854, dan ofal Methodistiaid, ac i hwnw hefyd ddarfod yn dra buan ar ol hyn. Bu yr argyfwng arianol yn 1856-7 yn chwalfa ddinystriol i lawer o leoedd gweiniaid o'r fath.

### V.—Beaver Meadow.

Yr hanes cyntaf a welsom am y lle hwn oedd gwaith y Cymry yn cadw Gwyl Dewi yn 1838. Wedi cyfarfod yn nhy un Morgan Price i drefnu ymarferiadau y dydd, maent yn myned i le o addoliad i wrando pregeth gan un Parch. Benjamin Davies ar y testyn, "Nac ymrysonwch ar y ffordd." Oddiyno maent yn myned i westy un Mr. M. A. Decker i giniawa a chanu, a dybenwyd y dydd trwy gyfarfod gweddi. Yr oedd pregethwr i'r Annibynwyr yn byw yno yn yr adeg hono o'r enw Parch. Lewis Williams, ac yr ydym yn tybied mai yr un ydyw a Lewis Williams, Carbondale, wedi hyny.

Yn Nghymanfa 1845 nodir yr ardal hon fel un o'r lleoedd oedd dan ei harolygiaeth y pryd hwnw. Pa un ai fel lle i bregethu, neu ynte a oedd gan y Methodistiaid eglwys yn y lle, sydd anhawdd ei benderfynu. Mae ymddyddanion a

fu rhyngom a rhai hen bobl, sydd bellach wedi meirw, wedi ein harwain i'r casgliad cadarnhaol, eto nid oes gair o son am dani fel y cyfryw ar gofnodion y Dosbarth na'r Gymanfa. Bu yno lawer o Gymry ar un adeg, a byddai y Parch. John Davies, Carbondale, yn ymweled a'r lle ar ei deithiau; a bu Dr. Rowlands yno ar ei ffordd o Hazleton i Pottsville, yn 1840, ac yr oedd pregethwyr eraill i'r Methodistiaid yn ymweled a'r lle. Yn y flwyddyn 1856 anfonwyd Dr. Rowlands, pan yn byw yn Scranton, yno i sefydlu eglwys. Yr oedd yno 14 o aelodau y pryd hwnw, ac yn eu plith yr oedd Mri. Jenkin Reinallt, John M. Jones, Jonah Lewis, W. J. Lewis, Griffith Williams, George Heycock, William Hughes, yn nghyd a'u teuluoedd. Y swyddogion a ddewiswyd amser corfforiad yr eglwys oeddynt Mr. John M. Jones, Blaenor; Ysgrifenydd, Jonah Lewis; Trysorydd, Jenkin Reinallt. Byddai y Parch. E. F. Jones ac eraill yn myned yno i bregethu yn yr adeg hon; ond ni dderbyniwyd yr eglwys i undeb a'r Dosbarth, am mai byr fu parhad ei bodolaeth. Pan ddaeth y panic yn 1857-8, ymwasgarodd y Cymry, ac aeth Jonah Lewis a'i frawd, y Parch. W. J. Lewis, i Bellevue, Mri. J. M. Jones a George Heycock i Pittston. Fel hyn darfyddodd son am Beaver Meadow yn ei gysylltiad a Methodistiaeth.

## VI. – Hazleton.

Mae y lle hwn, bellach, yn ddinas boblogaidd, ar ben y mynyddoedd, tua 60 milldir i'r de o Wilkesbarre, yn Swydd Luzerne. Ond yn 1840 nid oedd ond lle bychan, a gwaith glo newydd gael ei agor yno. Sefydlodd yno luaws o Gymry tua'r adeg hono. Yn 1841 yr oedd Cymanfa y Bedyddwyr yn cael ei chyhoeddi i fod yn Carbondale, Hazleton a Pottsville, ac mae y Parchn. Morris J. Williams, Trenton, a W. H. Thomas, Utica, yn pregethu yn Wilkesbarre ar y ffordd yno, a chorfforwyd eglwys i'r enwad hwnw y pryd hyny yn Hazleton. Ond nid oes genym hanes sicr fod y Methodistiaid wedi corffori eglwys yno, eto mae awgrym-

iadau yn arwain i'r casgliad hwn, oblegid fod y Gymanfa yn cadw ei golwg ar y lle, ac fe fu yno bregethwr Methodistaidd o'r enw J. G. Jones yn byw yno, ac yr ydym yn tybied mai y Parch. John G. Jones, Allentown, wedi hyny, ydoedd y gwr parchedig. Crybwyllir hefyd am farwolaeth Mrs. Eleanor Jones yno yn 1840, a dywedid ei bod yn aelod ffyddlon yn Nghyfundeb y Methodistiaid yr ugain mlynedd diweddaf o'i hoes; ond nid ydym yn gweled pa fodd y gallai fod felly, os nad oedd eglwys yn y lle. Pregethwyd yn yr ysgoldy ddydd ei hangladd gan y Parch. M. Boston, oddiar Ezeciel 24: 16.

Cawn hefyd lafur yr Ysgol Sabbothol yr un flwyddyn: penodau, 174; adnodau, 967; yn nghyd ag adroddiad o'r Rhodd Mam a'r deg gorchymyn bob Sabboth, wedi ei arwyddo gan Rees Leyshon, Ysgrifenydd. Ymwelwyd a'r lle gan Dr. Rowlands yn mis Chwefror y flwyddyn uchod, a phregethodd un noswaith, ac areithiodd ar ddirwest y noson ganlynol, ac ymunodd amryw a'r gymdeithas ddirwestol, fel yr oedd ei nifer yn 30 o aelodau.

Ar ol hyn nid ydym yn cael gair o grybwylliad am achos Cymreig yn y lle. Mae llawer o Gymry yn byw yno yn bresenol, a dylasai fod yno achos Cymreig, a gwasanaeth crefyddol yn un o'r ddwy iaith; ar yr un pryd mae yr adeg i wneyd un symudiad o'r fath wedi myned heibio, mae'n debyg, yn Hazleton.

## VII.—Bloomsburgh.

Yn nghofnodion y Cymanfaoedd cyntaf, gwneir sylw o'r lle hwn fel lle ag yr oedd y Gymanfa yn cadw arolygiaeth arno. Ond deallwn mai achos cymysg neu undebol ydoedd, rhwng Methodistiaid ac Annibynwyr. Yn Nghyfarfod Danville, Ebrill, 1864, gwnaed slyw ar amgylchiadau yr addoldy bychan yn Bloomsburgh, yr hwn a feddienid gan y Methodistiaid a'r Annibynwyr gyda'u gilydd, a "Phenderfynwyd na chaniateid i William Price lawnodi hawl y Methodistiaid i'r Annibynwyr, ond ar yr amod iddynt dalu

haner ei werth i'r Methodistiaid, a bod swyddogion eglwys Danville i ofalu am hyn." Ymofynwyd am hyn drachefn yn y Cyfarfod dylynol yn St. Clair, Gorphenaf, 1864, a chafwyd fod cyfeillion Danville yn gofalu am i bethau gael eu dwyn i drefn, ac anogwyd hwy i beidio oedi. Gwaith haiarn oedd wedi casglu Cymry i'r lle hwn, ond ni pharhaodd yr achos crefyddol yno yn hir.

## VIII —Janesville.

Nid ydym wedi gallu lleoli y fangre uchod, ond yn unig ei fod yn amgylchoedd Hazleton. Rhoddwyd ar Dr. Rowlands i fyned yno i sefydlu eglwys, pan ar ymweliad a'r eglwysi yn nghylchoedd Pottsville, yn ol penderfyniad Cymanfa Danville yn 1857. Yn St. Clair, Mai, 1859, galwyd sylw y Cyfarfod at yr achos yn y lle hwn, a phenderfynwyd "Fod y brodyr at eu rhyddid i arfer eu doethineb, yn ol fel y byddo amgylchiadau yn galw." Mae yn debyg na dderbyniwyd yr eglwys i undeb a'r Cyfarfod Dosbarth, ac nid oes mwyach son am dani ar y cofnodion. Nid ydym ychwaith wedi dygwydd cyfarfod a neb sydd yn cofio dim am y lle hwn, ac fel llawer o leoedd eraill, chwalwyd y Cymry oddiyno gan amgylchiadau masnach, a diflanodd yn ei berthynas a Methodistiaeth.

## IX —Allentown.

Fel y gwelir, mae y Gymanfa yn cadw arolygiaeth ar y lle hwn, a gellid casglu fod achos Methodistaidd wedi bod yn y lle, ac mae enw y Parch. John G. Jones wedi ei restru fel gweinidog oedd yn byw yn y lle. Ond mae y dybiaeth hon yn sicr o fod yn gamsyniol. Rhoddwn ger bron y darllenydd gymaint o hysbysrwydd ydym wedi ei gael am y lle. Yn y flwyddyn 1839 daeth boneddwr o'r enw David Thomas o Ddeheudir Cymru i'r wlad hon. Ganwyd ef yn agos i Gastellnedd, Morganwwg, yn 1794. Bu am flynyddoedd yn arolygydd gwaith haiarn Ynyscedwyn a Defynog, ac oddiyno yr ymfudodd ef a'i deulu i America yn y flwydd-

yn uchod, dan gytundeb a chwmni o Philadelphia i gychwyn ffwrneisiau toddi. Yn y flwyddyn uchod dechreuwyd adeiladu ffwrnes, dair milldir o dref Allentown, a galwyd y lle Craneville y pryd hwnw, a'r un ydyw a Catasauqua yn bresenol. Gorphenwyd y ffwrnes yn 1840, a'r pryd hwnw yr oedd yma gryn 30 o Gymry yn y lle, ond gan mai Ellmyniaid oedd y brodorion, nid oedd y Cymry yn deall eu hiaith, nac yn hoffi byw yn eu mysg, ac felly yr oeddynt yn ansefydlog, ac ni chwanegasant o ran rhif yn y blynyddoedd hyn.

Yn 1840 adeiladwyd addoldy bychan, 32x36, gan y Parch. E. Landis (Pres.), ond cymysg oedd yr eglwys o wahanol enwadau a gwahanol ieithoedd, dan nawdd yr enwad hwn. Yno y byddai y Cymry crefyddol yn ymgynull, ac yn yr adeg hon ymwelid a'r lle gan weinidogion gwahanol enwadau Cymreig, ac yn y capel hwn y pregethwyd ar y cyfryw achlysuron. Cynelid hefyd gyfarfodydd gweddi Cymreig yn wythnosol o dy i dy ar nos Wener, a hefyd bryd-nawn y Sabbothau, ac mae yn debyg mai yn y wedd yma yr oedd Cymanfa y Methodistiaid yn bwrw golwg dros y lle. Mae Mr. W. G. Lewis, yr hwn sydd wedi byw yno am lawer o flynyddoedd, yn ein sicrhau na bu yno un achos Cymreig hyd y flwyddyn 1865. Wedi cychwyn y rolling mill, yn 1863, daeth llawer o Gymry i'r lle, ac yr oedd y rhai crefyddol yn ymaelodi gyda'r Presbyteriaid, lle yr oedd Mr. Thomas yn Henadur; ac yr oedd ef yn hollol wrthwynebol i gychwyn achos Cymreig yno, ond wedi llawer o siarad a dadleu yn erbyn y symudiad gan Mr. Thomas, cododd 44 eu llythyrau o'r eglwys Bresbyteraidd, a ffurfiwyd eglwys Gymreig gan y Parchn. R. D. Thomas (Iorthryn Gwynedd) a S. Roberts, Tennessee. Annibynwyr gwreiddiol oedd y mwyafrif, rhai Bedyddwyr, ac ychydig Fethodistiaid, a gelwid hi yn eglwys undebol. Aeth yr achos hwn yn mlaen yn llwyddianus hyd nes y daeth sefyll allan yn y rolling mill, yna ymwasgarodd y Cymry o'r lle, a diflanodd yr achos. Gwnaed ail gynyg gan y Bedydd-

wyr yn 1871 neu '72, ac adeiladwyd capel da yno, ond aeth y mudiad hwn yn fethiant, ac mae y capel hwnw yn Hungarian barracks. Gwnaed y trydydd cynyg i gael yr achos sydd yno yn bresenol, yn 1882, ac adeiladwyd yno un o'r capeli tlysaf yn y wlad; ond yn fuan aeth amgylchiadau yn dlawd, ac yn awr mae yr eglwys dan ofal gweinidog Annibynol Slatington, yr hwn sydd yn pregethu yno un Sabboth o bob mis, a chynelir cyfarfodydd gweddiau yno Sabbothau eraill. Yr oedd D. Thomas, Ysw., yn Fethodist o ddygiad i fyny, yr hwn a ddewiswyd yn flaenor yn Nghymru (hysbyswyd ni wedi hyn, naddo)—nis gwyddom. Bu yn llwyddianus iawn yn y gweithiau haiarn hyn, a diameu mai iddo ef y perthyn y teitl, "Pioneer of the iron trade." Adeiladodd ef a'i feibion, yr hynaf o'r rhai sydd yn aros eto, y "Thomas Iron Works," ac mae y rhai hyny yn mhlith goreuon gweithiau haiarn America, "a gwnaeth hyny heb gymorth king alcohol." Buodd fyw i fyned yn 88 oed, a mwynhaodd ffrwyth ei lafur, a bu farw yn 1882. Yr oedd wedi bod yn athraw i'r Parchn. Howell Powell, diweddar o New York, a Thos. Levi, Aberystwyth.

Am y Parch. John G. Jones, gweithio fel saer yr oedd ef yma, ac nid gweinidogaethu. Dywed Mr. Lewis iddo glywed son am dano lawer gwaith gan yr hen sefydlwyr, ond nad yw yn debyg ei fod wedi pregethu fawr, os dim, yno, ond äi ar ei draed boreu Sabboth i Slatington, Summit Hill, &c., a dychwelai at ei waith boreu Llun, ac o dan yr amgylchiadau hyn y llanwodd efe gylch o ddefnyddioldeb yn mysg ei genedl a'i enwad, a bu farw yn 1853. Yr oedd iddo amryw o blant, ac enwogodd un o honynt ei hun fel Superintendent gweithfeydd mawrion Carnegie, yn agos i Pittsburg. Cymerodd ffrwydriad ofnadwy le yn un o'r ffwrneisiau, a llosgodd yntau mor ddrwg fel y bu farw yn fuan mewn canlyniad. "Yr oedd Captain Jones yn adnabyddus trwy yr holl fyd haiarnyddol."

Mewn un ystyr, nid oes angen y sylwadau hyn yn yr hanes hwn, eto yn gymaint ag fod Mr. Jones wedi llenwi

cylch o ddefnyddioldeb yn ein Cymanfaoedd am rai blynyddoedd, mae hyn yn ein cymell i'w dodi i fewn. Mae yn ymddangos i ni yn hynod na buasai y Gymanfa wedi gwneyd rhyw sylw am ei farwolaeth, ond nid oes gair o son am yr amgylchiad yn y cofnodion.

## X.—Slatington (Lehigh Gap).

Dyma yr enw yr adnabyddid yr ardal hon amser dechreuad ein hanes, ac wedi hyny am flynyddoedd lawer, "Lehigh Gap." Felly y gelwid y lle gan lawer a adwaenem yn dda o'r rhai a fu yn byw yno yn y blynyddoedd cyntaf. Mae yr ardal yn gorwedd wrth droed y Mynyddoedd Gleision, sydd yn rhedeg o'r gogledd i'r deau, yn Swydd Lehigh.

Dechreuodd Cymry ymsefydlu yma yn 1846. Yr hyn a fu yn achlysur o hyny ydoedd i Gymro o'r enw Owen Jones, Gwredog, ddyfod ar ei hynt ymchwiliadol am y llech faen. Y lle cyntaf y darganfyddodd y maen oedd yn y lle a adnabyddir yn awr wrth yr enw Welsh Town. Wedi cael ei foddhau yn ei ddarganfyddiad, aeth drosodd i Gymru er ceisio dylanwadu ar ei gyfeillion i ymfudo i'r lle; ac yn hyn fe lwyddodd. Felly dyfodiad y cwmni hwn drosodd oedd dechreuad y sefydliad Cymreig yn Slatington. Cychwynwyd achos crefyddol ganddynt yn bur fuan ar ol eu sefydliad yn y lle, oblegid yr oedd ffurf reolaidd o eglwys yn eu plith yn 1847. Y rhai mwyaf blaenllaw yn cychwyn yr achos hwnw oeddynt, Mri. William Evans (Y Celyn), John Davies (Ty'n Drwfwl), William Griffith (Pen Llyn), ac yr oedd eraill heb fod yn proffesu crefydd yn awyddus iawn i weled yr achos yn cael ei gychwyn. O dan enw y Methodistiaid y cychwynwyd yr achos yn yr ardal hon, ac ni buwyd yn hir cyn ei chorffori a'i sefydlu fel y cyfryw. Yr aelodau cyntaf, amser y corfforiad, oeddynt: William Evans a'i fab John Evans, John Davies a'i briod, William Griffiths, John Thomas a'i briod, gwraig Ellis Moses, a dwy chwaer arall o'r enwau Williams a Mossa. Dywed ein hanesydd, "Cafodd yr eglwys ei chorffori gan weinidogion

a diaconiaid y corff Methodistaidd yn Nghymanfa Pottsville, ddiwedd y flwyddyn 1847, ac mai cynrychiolwyr eglwys Slatington oeddynt William Evans, John Davies a William Griffiths." Ond mae y cofnodion yn dangos mai yn St. Clair yr oedd y Gymanfa yr Hydref hwnw, ac nid oes un gair o son am anfon cenadau i Lehigh Gap, er y gwneir hyny am leoedd eraill, eto gallasai fod hyny wedi ei adael allan yn ddifwriad gan y cofiadur. Dewiswyd dau o ddiaconiaid amser y corfforiad, sef Mri. John Davies a William Griffiths. Yn Hydref, 1848, yr oedd y Gymanfa yn Pottsville, ac yr oedd y brawd William Griffiths yn bresenol, ac wedi ei arholi yn y drefn arferol derbyniwyd ef yn aelod rheolaidd o'r Gymanfa, a phenodwyd i'r Parch. John G. Jones, Allentown, "I fyned i Lehigh Gap i ymddyddan a'r brawd arall" (John Davies), a'i sefydlu fel diacon yr eglwys, trwy awdurdod y Gymanfa, mae yn debyg.

Yn yr adeg hono yr oeddynt yn ymgynull at eu gilydd i addoli i hen felin lechau oedd wedi ei gosod i fyny, a buont yn ymgynull yno am bedair blynedd. Yn y cyfamser yr oedd yr eglwys wedi cynyddu cryn lawer mewn rhif. Adeiladwyd y capel cyntaf fel yr oedd yn barod i'w agor amser y Gymanfa a gynaliwyd yno Ebrill 11-13, 1851. Dyma enwau y gweinidogion a threfn y gwasanaeth ar yr achlysur: Nos Wener am 6, y Parchn. John Adams a Thos. R. Jones. Dydd Sadwrn, am 4, dechreuodd Mr. John Adams, a phregethodd y Parchn. David Davies, Carbondale, a Thos. Phillips, Pottsville. Am 6½, dechreuodd Mr. Davies, ac areithiodd Thos. R. Jones ar ddirwest, a phregethodd y Parch. D. Williams, Remsen. Am 10, Sabboth, dechreuodd D. W. Howells, a phregethodd Thos. R. Jones (Saes.) a Thos. Phillips. Am 2, dechreuodd Mr. Davies, a phregethodd Thos. Phillips (Saes.), a David Williams. Am 6 dechreuodd Mr. Adams, a phregethodd Mr. Howells a Mr. Williams. Y Parch. John G. Jones oedd Llywydd, a Mr. Hugh T. Davies, Summit Hill, oedd Ysgrifenydd y Gymanfa hon. Mewn ymdrinaeth ar sefyllfa yr achos yn y lle, dangoswyd nad

ydoedd mor ddymunol ag y caresid iddo fod, eto fod undeb a brawdgarwch yn ffynu yn mysg y rhan luosocaf o lawer o'r aelodau. Ymddengys nad oedd yno ond un blaenor ar y pryd, a sylwyd fod angenrheidrwydd ar yr eglwys i neilldduo un neu ddau at yr un oedd yno eisoes.

Ymddiriedolwyr y capel cyntaf oeddynt, Mri. John Davies, John Evans, William Williams, ac Evan Williams. Nid oes genym ddim manylion am faint na gwerth y capel hwn i'w rhoddi, ond gellir tybied mai bychan mewn cydmariaeth ydoedd, a digon diaddurn, fel pobpeth yr oes hono. Nid oes genym ddim cofnodion yn awgrymu dim am sefyllfa yr eglwys chwaith, canys yr oedd hyny cyn dechreu y gyfres bresenol o Gyfarfodydd Dosbarth, ac nid oes dim o hanes y gyfres gyntaf ar gael. Ond mae yn eglur fod yr achos yn myned ar gynydd, a bu hyny yn foddion iddynt benderfynu gwerthu yr hen gapel ac adeiladu un helaethach, ac o well defnydd. Adeiladwyd hwnw yn y flwyddyn 1859; ei fesur dros y muriau oedd 34x28. Cynwysai 37 o eisteddleoedd, ac eisteddai yn hwylus 200 o ddynion. Ei gynllunydd a'r adeiladydd oedd Mr. Henry Williams, perchenog un o'r cloddfeydd helaethaf yn y lle.

Y pryd hwnw dywedid fod gweinidogaeth y brawd Thos. Williams yn gymeradwy a bendithiol yno. Agorwyd hwn Rhagfyr 31, 1859, a Ionawr 1, 1860. Edwards, Pottsville, Harris, Minersville (B.), Harned (P.), E. F. Jones, Danville, E. J. Hughes (M. C.) oedd y gweinidogion fu yn gwasanaethu ar yr amgylchiad; ac nid oedd ond ychydig o ddyled yn aros arno ddydd yr agoriad.

Llosgodd y capel hwn yn fuan wedi ei gwblhau, Mawrth 30, 1863, ac mae Cyfarfod Dosbarth yn Danielsville, yn mis Ebrill, yn awdurdodi Wm. Parry i fyned allan i gasglu at ail adeiladu y capel, ac yn rhoddi llythyr cymeradwyaeth iddo i'r gwahanol sefydliadau. Mae Cymanfa Pottsville, y mis Mai canlynol, yn amlygu cydymdeimlad a'r brodyr yn y lle, ac yn anog y brawd Parry i ymdrechu myned yn mlaen i gasglu at adeiladu capel newydd. Gorphenwyd

hwnw fel yr oedd yn barod i'w agor Ionawr 30, 31, 1864. Dyma hefyd drefn gwasanaeth yr agoriad hwn. Nos Sadwrn, y Parchn. E. F. Jones ac M. A. Ellis. Am 8½ boreu Sabboth, cyfarfod eglwysig. Mater, yr angenrheidrwydd am ffyddlondeb gyda moddion gras. Am 10, pregethodd y Parchn. E. J. Hughes ac E. F. Jones. Am 2, Parchn. Jeremiah Shendel yn German, ac A. G. Harned yn Saesneg. Yr un amser, yn nghapel yr Annibynwyr, y Parchn. M. A. Ellis ac E. J. Hughes. Am 6, y Parchn. E. F. Jones ac E. J. Hughes; a'r Parch. Mr. Jones y nos Lun canlynol.

Yr oedd yr eglwys yn parhau i fyned ar gynydd mewn rhifedi, a gwelwyd ganddynt fod yn rhaid iddynt "helaethu lle eu pabell, ac estyn cortynau eu preswylfeydd;" ac yn y Cyfarfod Dosbarth a gynaliwyd yno Gorphenaf, 1882, maent yn gofyn caniatad i adeiladu capel newydd yno. Caniatawyd y cais, a rhoddwyd cyngorion iddynt i fod yn bwyllog, ac unol, ac ymdrechgar i gasglu cymaint ag a ellid o arian i law ar y dechreu, yn nghyd a gweithio er arbed traul. Felly dechreuwyd adeiladu yr addoldy presenol yn y flwyddyn uchod. Nid ydym yn gwybod a fu agoriad ar hwn ai peidio. Aeth o dan ychydig o adgyweiriadau, ac am fod y gynulleidfa yn cynyddu, bu gorfod rhoi darn newydd helaeth ato, fel mae yn awr yn un o'r capelau harddaf a helaethaf yn y dref hono.

Bendithiwyd yr eglwys hon â gweinidogaeth nerthol ar adegau, a bu am adegau meithion heb neb. Y cyntaf mae genym son am dano ydyw y Parch. J. G. Jones, Allentown. Bu ef yn gwasanaethu yr eglwys hon ar gais y Gymanfa y cyfeiriwyd ati yn y dechreu, ac ymwelai a'r lle bob pythefnos. Bu ef farw yn 1853. Yn 1853 yr oedd y Parch. Thos. H. Roberts yno, a rhoddwyd llythyr ymadawol iddo yn Nghymanfa Mehefin, 1854. Yr un pryd derbyniwyd y brawd W. E. Jones (Middle Granville), yr hwn oedd wedi dechreu pregethu yno, i undeb a'r Gymanfa.

Crybwylla ein hanesydd fod y Parch. Thos. Phillips wedi bod yn gwasanaethu yr eglwys hon, ond yr ydym yn methu

a gweled pa fodd y gallai hyny fod. Nid oes dim yn y cofnodion, nac yn ei gofiant, yn cysylltu ei enw a Slatington. Os oedd y Gymanfa wedi cymell gofal yr eglwys ar Mr. Jones, Allentown, nis gallai fod Mr. Phillips yn ei gwasanaethu, ac mae genym sicrwydd ei fod yn Pottsville yr adeg hono, o 1849-51, pan ymadawodd i Wisconsin. Yn 1854 yr oedd y Parch. John J. Evans yno, ac ymadawodd i Wisconsin trwy lythyr o Gyfarfod mis Mai, ac yr ydym yn cofio ei weled a'i wrando ar y daith i'w gartref yn Welsh Prairie yn yr adeg hon. Yr oedd tymor Griffith Davies o 1849 yn mlaen, oblegid diarddelwyd ef gan y Gymanfa, 1850, oblegid ei fod yn gwrthod ymostwng i farn y Gymanfa hono. Bu sylw drachefn ar ei achos yn Nghymanfa Danville, 1851, a phenderfynwyd nad ellid ei ystyried yn bregethwr na swyddog mwy. Yr oedd tymor y Parch. Ebenezer T. Jones rhwng 1862-4, oblegid yn 1860 y derbyniwyd ef i undeb a'r Dosbarth, o Baltimore, a bu wedi hyny yn St. Clair neu Minersville, ac ymadawodd o gylch y Gymanfa yn 1864. Yn yr ysbaid hwn yr oedd y Parch. E. F. Jones yn wasanaethgar gyda'r achos, o pan ganiatawyd iddo ddechreu pregethu yn 1854 hyd nes yr ymadawodd i Danville, yn 1859. Yn 1869 neu '70 symudodd y Parch. J. L. Jeffreys yno, ac arosodd i wasanaethu yr eglwys hyd nes iddo symud i Ohio yn 1871. Wedi hyn bu am dymor maith heb neb sefydlog, hyd nes y symudodd y Parch. Thos. B. Thomas i Wilkesbarre, a bu ef yn rhoddi rhyw gyfran o'i amser yno am ysbaid pedair blynedd. Bu y Parchn. Hugh Hughes, Ashley, Peter Gray Evans, ac eraill yn ei gwasanaethu am dymorau. Yn y flwyddyn 1890 rhoddwyd galwad i'r Parch. R. E. Williams i weinidogaethu yno, ac ymadawodd Mai, 1893. Yn niwedd y flwyddyn hon rhoddwyd galwad i'r Parch. J. W. Morris, yr hwn sydd yn parhau yn weinidog yr eglwys hyd yn bresenol, ac yn ddefnyddiol a chymeradwy yno.

Yr ydym wedi anghofio crybwyll yn ei le priodol, am Mr. Thos. Williams, yr hwn y dywedid ei fod yno amser agor-

iad yr ail gapel, ond yr ydym yn cael fod y Gymanfa yn 1861 wedi penderfynu ei ddiarddel, oblegid amryw resymau a nodir yn y cofnodion.

Cyfododd amryw bregethwyr yn yr eglwys hon, fel y canlyn: William E. Jones, 1853; E. F. Jones, 1854; J. R. R. Jones, 1869; J. W. Morris, yn 1885; a John J. Williams yn 1891.

Gwnaeth yr eglwys hon aml gais at y Cyfarfod Dosbarth am gymorth i ddewis blaenoriaid; ac ni a ddodwn y rhestr ger bron y darllenydd mor gyflawn ag yr ydym wedi gallu cael hyd iddi, o'r rhai a dderbyniwyd i undeb a'r Gymanfa a'r Cyfarfod Dosbarth.

1. Mri. William Griffiths a John Davies, y rhai a dderbyniwyd yn aelodau o'r Gymanfa yn Pottsville, 1849.

2. Derbyniwyd dau frawd arall nad yw eu henwau ar gael yn aelodau o'r Gymanfa yn 1854, yr un amser ag y derbyniwyd Mr. W. E. Jones fel pregethwr.

Derbyniwyd i Undeb a'r Dosbarth.

3. Yn Minersville, Awst, 1855, Mr. John Roberts.

4. Yn Pottsville, Awst, 1856, Mr. John G. Thomas.

5. Yn Minersville, Awst, 1858, Mr. James Roberts.

6. Yn Slatington, Gorphenaf, 1858, Mr. William Parry.

7. Yn Danville, Ionawr, 1861, Mri. John Hughes, John Williams a John Evans.

8. Yn Slatington, Hydref, 1865, Mr. William Williams.

Yn y cyfnod rhwng y flwyddyn uchod a'r flwyddyn 1880, nid oes hanes fod neb o Slatington wedi eu derbyn i undeb a'r Dosbarth ar y cofnodion, ond mae yr hanesydd yn nodi dau sydd yn dyfod i fewn yn y cyfnod hwn, sef Mri. Robert Roberts a Hugh L. Davies, ond nis gallwn nodi yr amser.

9. Yn St. Clair, Medi, 1880, Mri. John W. Morris a William Thomas Owens.

10. Yn Slatington, Medi, 1885, Mr. James Owens.

11. Yn Slatington, Medi, 1886, Mr. Evan Williams.

12. Minersville, Rhagfyr, 1886, Mri. Joseph Roberts a William J. Jones.

13. Danielsville, Medi, 1888, Mr. Robert Roberts.

14. Philadelphia, Mawrth, 1893, Mri. Michael Roberts a William E. Roberts.

Dichon fod eraill wedi bod yn gwasanaethu yr eglwys, ond yr uchod yw yr oll y cawsom hanes am danynt.

Cyfarfyddodd yr eglwys a llawer o brofedigaethau oedd yn galw am sylw y Cyfarfodydd Dosbarth a'r Gymanfa, yn enwedig yn nghylch y ddau bregethwr, Griffith Davies a Thomas Williams, a William Parry y blaenor, ar ol bod yn casglu at y capel. Yn awr mae yr eglwys mewn gwedd lewyrchus, ac arwyddion amlwg o fywyd a gweithgarwch Cristionogol i'w weled ynddi. Y weinidogaeth yn gryf a nerthol, ac arwyddion amlwg eu bod yn derbyn gwenau yr Arglwydd—yr Ysgol Sul yn allu pwysig iawn yn eu plith, yn llawn gweithgarwch, ac yn cael ei dwyn yn mlaen yn drefnus; dynion yn teimlo yn fraint cael ei gwasanaethu fel athrawon. Bydded i Haul cyfiawnder lewyrchu arnynt yn hir, a'r achos lwyddo yn eu dwylaw. Y mae yma hefyd Gymdeithas Ymdrechol nerthol yn gwneyd llawer o ddaioni.

## XI.—Danville.

Mae y ddinas hon yn gorwedd ar waelod dyffryn y Susquehanna, yn nghanol golygfeydd hynod o brydferth a rhamantus, tua 40 milldir i'r deau o Wilkesbarre. Ar y cyntaf yr oedd o fewn terfynau Columbia County, prif ddinas yr hon oedd Bloomsburgh. Yn 1850 rhanwyd y Sir yn ddwy, a daeth Danville yn brif ddinas y Sir newydd, sef Montour County. Bu unwaith yn lle pwysig, oblegid y gweithfeydd haiarn oedd yno, a dyna fu yn atdyniad i'r Cymry ddyfod i'r lle. Yr oedd cyflawnder o fŵn haiarn yn gyfagos, ac adeiladwyd ffwrneisiau a melinau haiarn mawr yno i weithio y mŵn. Bu yno lawer iawn o Gymry unwaith, ac ar un adeg yr oeddynt yn ddigon lluosog a dylanwadol i reoli y lle fel yr oeddynt yn dewis.

Heblaw cwmnioedd y melinau cyntaf, ffurfiwyd cwmni cydweithredol (co-operative association) o'r gweithwyr, yr hwn a adeiladodd felin rolio newydd, a bu yn gwneyd masnach dda am flynyddoedd, ond wedi i'r gelfyddyd o weithio dur dyfod i ymarferiad, esgeulusodd y cwmni gyfnewid y felin i ateb i'r amgylchiadau, a chollodd ei masnach mewn canlyniad. Gwerthwyd y meddianau i gwmni cyfoethog yr hwn a wariodd $500,000 i gyfnewid a gosod pob gwelliantau diweddar yn y felin, ond am ryw reswm ni wnaed un diwrnod o waith gyda'r peiriannau costfawr, ac mae y cwbl yn sefyll ac yn rhydu er's dros ddeng mlynedd. Oblegid y dirywiad masnachol hwn ymadawodd y Cymry o'r lle, fel nad oes ond ychydig yn aros yno erbyn hyn. Mae y mwn haiarn hefyd, er fod digon o hono, wedi myned yn rhy gostfawr i'w weithio i dalu y draul, yn ol sefyllfa y fasnach yn y blynyddoedd hyn.

Mae Danville bellach yn hen ddinas wedi cyraedd terfynau ei thyfiant er's llawer dydd, oblegid nad ydyw o ran safle yn ffafriol i fod yn ganolbwynt masnach cyffelyb i Scranton neu Wilkesbarre. Mae gwychder a threfn ei hadeiladau yn dangos fod rhan fawr o'r trigolion yn meddu cyfoeth, ac yn mwynhau cysuron llwyddiant masnachol y blynyddoedd sydd wedi myned heibio. Am mai Danville yw prif ddinas y Sir, mae llawer yn byw yno er mwyn cyfleusdra i fod yn bresenol yn eisteddiad y llysoedd cyfreithiol. Yno hefyd mae nawddle y gwallgofiaid yn y rhan hon o'r Dalaeth, lle mae llawer iawn yn cael eu hanfon i gael triniaeth feddygol i wella eu hanhwylderau meddyliol. Ond mae a fynom ni a'r Cymry, ac yn neillduol a'r achos Methodistaidd fu yn Danville.

Dechreuad Achos Crefyddol yn y Lle.—Mae hwn i'w briodoli i Mr. David Williams a Mary ei wraig, a Mrs. Gwenllian Jones. Hwy oedd y Cymry cyntaf sefydlodd yn y lle, tua'r flwyddyn 1840, neu cyn hyny. Yr oedd hefyd yn perthyn i'r ddau deulu bump o blant, tri i Mr. Williams, a dau

i Mrs. Jones. Yr oedd y ddau deulu hyn yn Fethodistiaid egwyddorol a thrwyadl. Ysgol Sabbothol oedd y cyfarfod crefyddol Cymreig cyntaf a gynaliwyd yn y lle, ac yr oedd hyny yn mis Hydref, 1840. O hyny allan aed yn mlaen yn gyson gyda'r Ysgol, a chyfarfodydd eraill yn achlysurol. Yn y tai y cynelid y cyfarfodydd. Wedi peth amser daeth llawer o Annibynwyr i'r lle, ac yn eu plith yr oedd pregethwr o'r enw John B. Cook, yr hwn a sefydlodd eglwys Annibynol yno, ac adeiladwyd capel i'r enwad hwnw, yr hwn a agorwyd ar y 15fed o Ragfyr, 1844, ac ordeiniwyd Mr. Cook yn weinidog yr eglwys yr un pryd. Am ryw dymor, oblegid eu bod yn fwy lluosog, mae y Methodistiaid yn cyd-addoli â hwynt. Sefydlodd y Bedyddwyr hefyd eglwys yn Danville yn agos yr un amser.

Dechreuad Achos Methodistaidd.—Mae y Parch. J. E. Davies, D. D., wedi cofnodi corfforiad yr eglwys yn 1842, a thebygol mai efe neu y Parch. John Davies fu yno yn ei sefydlu, a neillduwyd Mr. David Williams yn flaenor yr eglwys yr un pryd. Yn 1845 cafodd Mr. Williams dir i adeiladu capel arno, gan un Mr. Montgomery, Henaduriaethwr o ran ei gredo crefyddol. Maint y lot oedd 60x110, ac ysgrifenodd ar y deed * * * "And have agreed to deed to the Welsh Whitefield congregation, for a place of worship, and none other for ever, a certain lot in North Danville." Eglur yw mai "Deed of gift" oedd ef wedi roddi iddynt. Yn Mawrth, 1846, yr oedd y Gymanfa yno, a chaniatawyd "iddynt fod at eu rhyddid i adeiladu capel, os gallent rwyddhau y ffordd i hyny;" ac adeiladwyd y capel yn y flwyddyn hono. Ei faint oedd 28x27, a'r draul o'i adeiladu oedd $336. Cysegrwyd yr adeilad i fod yn dy i addoli yr Arglwydd yn mis Hydref, 1846, y Parchn. John Davies, Joseph E. Davies, John Griffiths, Thos. Phillips a Dr. Yeoman (Pres.), a John B. Cook (A.) fu yn gweinyddu ar yr achlysur. Rhif yr eglwys y pryd hwnw oedd 21, a'r Ysgol Sabbothol o 40 i 50. Wedi hyn aeth yr eglwys ar gynydd graddol, a daeth Danville yn ei wedd Gymreig a Meth-

odistaidd yn lle o gryn bwysigrwydd am lawer o flynyddoedd. Yr oedd Danville yn enwog yn y cylchoedd Cymreig pan nad oedd son am Scranton na Wilkesbarre. Yn mhen rhai blynyddoedd wedi y dygwyddiadau uchod, bu farw Mr. Montgomery oedd wedi rhoddi y tir i adeiladu y capel arno, a daeth y mab i'w etifeddiaeth, ac yn mhen ychydig anfonodd am Mr. Williams i ddyfod i'w weled mewn cysylltiad a thir y capel, ac meddai wrtho, "Mr. Williams, my father gave you that lot to erect a church on it. In the settlement of the estate, we cannot give you a clear deed, which we want to do. Now I will sell the church that lot for one dollar, and I will donate that dollar to the Sabbath School, and you will have a clear deed now and forever." Ac mae yr amgylchiad hwn yn adlewyrchu anrhydedd ar etifeddion y boneddwr parchus Mr. Montgomery.

Gweinidogion fu Mewn Cysylltiad a'r Eglwys.—Mae anhawsder i nodi hyn allan gyda chywirdeb, am fod anghysondeb rhwng dyddiad yr hanesydd am Danville ac awgrymiadau y cofnodion. Ond ymddengys mai y Parch. John Griffiths oedd y pregethwr Methodistaidd cyntaf fu yn Danville. Mae cofnodion Cymanfa 1845 yn rhoddi ei enw i lawr fel pregethwr o Danville, ac nid 1850, fel y tybia ein hysbysydd. Yn 1846 daeth y Parch. Thomas Phillips yno, ac nid yn 1853. Yn y flwyddyn uchod ysgrifenodd erthygl i'r "Cyfaill" yn rhoddi ychydig o hanes am Danville, ac adeiladu capel Methodistaidd yn y lle. Dyma hefyd y dyddiad a ddyry ei fywgraffydd o Wisconsin. Heblaw hyny, o Danville yr ordeiniwyd ef yn 1848, yr hyn nis gallasai fod pe buasai ei ddyfodiad yno mor ddiweddar ag 1853.

Yn 1852 dechreuodd y Parch. Joseph Rees bregethu yno, a derbyniwyd ef i undeb a'r Gymanfa yn 1853. Er nad oedd perthynas neillduol rhwng y brodyr hyn a'r eglwys fel gweinidogion—dibynu ar eu galwedigaeth yr oeddynt am gynaliaeth—eto gwnaethant eu rhan i ofalu am yr achos gyda ffyddlondeb ac ymroad mawr. Yr oedd Mr.

Phillips, fel yr oeddym yn ei adwaen, yn ddyn o egni ac ymroad anghyffredin, ac yn llawn o ysbryd gweithio. Yr ydoedd yn llawn o sel a brwdfyrdedd dros burdeb mewn athrawiaeth a dysgyblaeth.

Yn y flwyddyn 1856 daeth pregethwr yno o'r Hen Wlad o'r enw Benjamin T. Jones. Yr oedd y Gymanfa y flwyddyn hono yn Pottsville yn mis Gorphenaf, a galwyd sylw at ei fater, trwy lythyrau o Gyfarfod Misol Sir Fon, ac oddiwrth y Parch. Henry Rees, yn hysbysu nad oedd Mr. Jones ond ymgeisydd yn yr Hen Wlad, na'i ymadawiad oddiyno yn ddoeth ac anrhydeddus. Bu ei ddyfodiad i Danville yn brofedigaeth i'r eglwys ac i'r Gymanfa hefyd. Anfonodd y Gymanfa uchod lythyr ar ei ol i Wisconsin, ac yr ydym yn cofio y teimladau cynyrfus oedd yno o'r herwydd. Derbyniwyd ef i undeb a'r Gymanfa hon yn 1857, a diarddelwyd ef yn 1858. Yn 1859 daeth y Parch. Evan F. Jones i Danville, a bu ei fynediad ef yno yn fendithiol ac adeiladol i'r eglwys. Yn 1864 daeth y Parch. David Charles Evans yno, ac ymadawodd tua diwedd 1865 neu ddechreu 1866.

O dan nawdd eglwys Danville y dechreuodd y Parch. William Harrison bregethu, tua'r flwyddyn 1862. Er ei fod yn byw yn Columbia, eto yn Danville yr oedd ei aelodaeth, a bu yr eglwys yn nodded iddo ef, ac yntau o wasanaeth iddi hithau. Yn 1867 symudodd Isaac Blackwell yno, ond mae yn debyg na fu ei arosiad yntau yn y lle yn hir. Yn y flwyddyn 1868 dechreuodd John M. Evans bregethu yno, ac oddiyno y dygwyd ei fater i sylw y Cyfarfod Dosbarth. Yn 1873 dechreuodd William D. Williams bregethu yno. Methodd Mr. Williams sefyll arholiad y pryd hwnw, a bu hyny yn atalfa ar ei lwyddiant fel pregethwr. Mae ef yn awr yn weinidog gyda'r Annibynwyr yn Pottsville. Yn y flwyddyn 1880 mae y Parch. Joseph Rees, wedi bod yn ymdaith am flynyddoedd lawer yn New York, Minnesota ac Ohio, yn dychwelyd yn ol i Danville, lle dechreuodd bregethu, ond ni bu ei arosiad yno yn hir; ac oblegid anghydfod rhyngddo a'r eglwys symudodd oddiyno i Providence.

Ol-Nodiad.—Dylasem grybwyll yn ei le priodol fod y Parch. John Griffiths wedi bod yn byw yn Danville yn 1845-6, ac mai yno yr oedd yn byw pan y derbyniwyd ef yn bregethwr i'r Cyfundeb, yn Nghymanfa Gorfforedig New York, yn 1846, ac iddo symud y flwyddyn hono i Carbondale. Hefyd, bu y Parch. David Williams, yr hwn a ddaeth i'r wlad hon o Lanrhaiadr Mochnant, yn aros yno am ryw dymor yn agos yr un amser. Yr oedd yn pregethu yn y Gymanfa a gynaliwyd yno yn 1846, a thybiwn mai wedi hyny y symudodd i Pottsville.

Blaenoriaid.—Y cyntaf neillduwyd i'r swydd hon yn Danville oedd Mr. David J. Williams. Pan gorfforwyd yr eglwys, yn 1842, dewiswyd yntau yn flaenor yr un pryd. Yr adgofion sydd genym am dano ydyw ei fod yn frawd hynaws, synwyrgall, ac yn ol tystiolaeth y rhai fu yn cydoesi ag ef, "Yr oedd yn ddiacon o radd dda," a bu am flynyddoedd lawer, a hyd ddydd ei farwolaeth o ran hyny, yn un o'r blaenoriaid pwysicaf fu o fewn cylch y Gymanfa hon o'i dechreuad. Meibion iddo ef yw Mr. Lewis Williams, Plymouth, a Mr. Ebenezer Williams, Nanticoke, a'r Parch. W. D. Williams, gweinidog yr Annibynwyr yn Pottsville. Yn 1856, gan fod yr eglwys ar ei chynydd, neillduwyd Mri. W. E. Morgans a Thomas Powell; yn 1862, Mri. Watkin Powell a John T. Jones; yn 1869, Mr. David T. Thomas; yn 1870, Mr. David H. Davies; yn 1871, Mr. W. D. Williams; yn 1879, Mr. Lewis Thomas; yn 1883, Mr. John Griffiths; yn 1885, David D. Williams. Dyma yr oll a ddewiswyd i'r swydd ddiaconaidd, y cawsom ni hanes am danynt yn Danville.

Yr Eglwys yn ei Pherthynas a'r Dosbarth.—O'r cyntaf yr oedd Danville yn perthyn i'r Cyfarfod Dosbarth Deheuol, ond yn y flwyddyn 1869 derbyniwyd hi trwy lythyr i undeb a'r Dosbarth Gogleddol. Ei rheswm dros wneyd y newidiad oedd ei bod yn fwy manteisiol iddi gynrychioli ei hun

yn y Dosbarth hwn. Hefyd, yr oedd yr achos erbyn hyn wedi gwanhau yn ddirfawr, ac felly yr oedd yn fwy manteisiol iddi gael cymorth gweinidogaethol. Yn 1871 mae y Cyfarfod Dosbarth yn penodi pwyllgor i drefnu gweinidogaeth ar gyfer Danville; ac yn Bellevue, 1872, yr ydys yn penderfynu i'r pwyllgor hwn barhau. Yn Olyphant, 1874, amlygwyd cydymdeimlad y Cyfarfod â Danville yn ei gwendid, ac anogwyd y brodyr yn y weinidogaeth i'w cynorthwyo hyd y gallent. Yn Providence, yr un flwyddyn, wedi cael hanes yr achos yn y lle, penderfynwyd fod yr Ysgrifenydd i anfon llythyr at eglwysi Hyde Park, Bellevue, Wilkesbarre a Plymouth i anfon pregethwr neu weinidog i gynorthwyo yr eglwys fechan hon, yn y tri mis dyfodol. Yn Nghyfarfod Cymru Newydd mae eglwys Danville yn cydnabod yn ddiolchgar y cynorthwy oedd y Cyfarfod wedi ei estyn iddi. Yn Gibsonburgh, 1875, mae cais ychwanegol yn cael ei wneyd at yr eglwysi cryfion i gynorthwyo y fechan hon. Yn 1876 mae eglwys Danville yn anfon cais at y Cyfarfod a gynelid yn Taylorville, ar iddo ofalu am y capel, a ffensio o'i gwmpas, a'i yswirio, &c. Ond mae yn debyg y teimlai y Cyfarfod fod hyn yn fwy na digon, ac felly penderfynwyd yn y Cyfarfod dylynol a gynaliwyd yn Warrior Run, i anfon at eglwys Danville ar iddi gasglu gartref at y pethau angenrheidiol arni. Yn 1880 yr oedd y Cyfarfod Dosbarth yno, a bu sylw manwl ar achos o anghydfod rhwng y Parch. Joseph Rees ac eglwys Danville, ac maent yn dyfod i benderfyniad i gladdu hwnw, a gadael iddo yntau ei ryddid i bregethu fel arfer. Yn yr un Cyfarfod cynaliwyd arholiad ar y brawd W. D. Williams, a methodd sefyll ei brawf. Yn yr un flwyddyn mae Mr. Williams yn anfon ei gwyn i Gyfarfod Wilkesbarre, yn erbyn eglwys Danville, ac anfonwyd y Pwyllgor ar Achosion Eglwysig yno i adferu heddwch; ond yn y Cyfarfod dylynol maent yn gwneyd adroddiad eu bod wedi methu, a dangosodd y Cyfarfod anghymeradwyaeth i ysbryd angharedig y pleidiau, yr hyn a fu yn derfyniad ar y mater annymunol hwnw.

Yn Moosic, 1883, bu sylw ar y brawd o Danville, ei fod yn diraddio rheolau y Cyfarfod yn nglyn a phregethu, a gorchymynwyd iddo ymatal, ac i'r eglwysi beidio ei alw nes y byddai wedi dyfod i fyny a safon y weinidogaeth.

Yn Olyphant, 1890, derbyniwyd cais o Danville am dori pob cysylltiad â Mr. David Williams; ac wedi rhoi pob mantais iddo amddiffyn ei hun, diarddelwyd ef yn y Cyfarfod dylynol yn Hyde Park.

Y brawd John Griffiths oedd yn olaf ddewiswyd yn flaenor yno, a derbyniwyd ef i undeb a'r Dosbarth yn Nanticoke, 1884. Erbyn hyn mae yntau wedi symud oddiyno, a rhwng marwolaethau a symudiadau, mae achos Danville wedi myned mor wan fel mai dau frawd a phump chwaer yw yr oll sydd yn aros, ac er's pum' mlynedd mae y tair eglwys, Annibynwyr, Bedyddwyr a Methodistiaid yn cydaddoli ar gylch yn y gwahanol gapeli.

## XII.—West Bangor.

Enw y drefgordd mae yr ardal hon yn rhan o honi ydyw Peach Bottom, ac wrth yr enw hwn yr adnabyddid y lle i ddechreu, yn ei gysylltiad a'r genedl Gymreig. Ond mae y lle a elwir yn briodol wrth yr enw hwn bedair neu bum' milldir o West Bangor, ar lan afon y Susquehanna; ac yno y dechreuodd y Cymry ymsefydlu. Pwy oedd y rhai cyntaf, ac o ba le y daethant, anhawdd i ni benderfynu bellach. Cof genym glywed y diweddar Barch. John Davies, Picatonica, Wis., yn son am y lle, ac iddo ef a'r teulu fod yn byw yno, ac yn Blossburgh, Maryland. Daethant hwy yma o Sir Benfro gyda'r amcan o weithio chwarelau llechi. Yr ydym yn tybied eu bod yn mhlith y rhai cyntaf, os nad y cyntaf oll, a sefydlodd yn y lle hwn. Ymfudodd braidd yr oll o'r rhai a ddaeth gyda hwynt o Gymru i Blossburgh, wedi hyny atynt i Picatonica. Yr oedd teulu Mr. Davies nid yn unig yn barchus, ond yn ddylanwadol. Nid oedd neb yn fwy felly yn ei gylch cartrefol na'r teulu hwn. 'Modd bynag am hyny, mae genym sicrwydd fod yno 100 o Gymry

yn byw yn y flwyddyn 1849, ac achos crefyddol yn cael ei gynal yn rheolaidd er's blwyddyn cyn hyny. Adeiladwyd capel yno, yr hwn a agorwyd Mai 13, 1849. Yr oedd yno dri o bregethwyr wedi bod yno yn sefydlog, Mri. David Griffiths, Henry Roberts a Henry Williams; ond ymadawodd Mr. Griffiths, a dychwelodd yn ol i wlad ei enedigaeth. Y ddau frawd arall, yn nghyd a Dr. Bryan, oedd yn gwasanaethu amser agoriad y capel. Rhoddwyd y tir i'w adeiladu gan un Major F. S. Williamson. Capel undebol ydoedd hwn, ar enw y pedwar enwad Cymreig, a galwyd ei enw "Bangor" mewn coffadwriaeth am ardal enedigol y rhan fwyaf o'r bobl oedd yno yn trigianu y pryd hwnw. Sylwodd Dr. Bryan ar ddydd yr agoriad, "Fod addoldy Cymreig mewn gwlad estronol yn un o'r colofnau dysgleiriaf i ddangos cymeriad y genedl i ddyeithriaid." Yn y flwyddyn 1854 ymneillduodd tuag ugain o'r Trefnyddion Calfinaidd o'r eglwys hon, gan osod eu hunain dan nawdd y Presbyteriaid.

Y flwyddyn hono yr oedd y Gymanfa yn Pottsville, Mehefin 10-18, pryd y cymerwyd sylw o'r achos yn Peach Bottom, ac ysgrifenwyd llythyr o gyfarchiad at y Parch. Robert Williams, Rock Hill, yr hwn, fel y tybid, oedd ar fryd symud yno. Hefyd, penodwyd y Parch. John Hughes, Marcy, N. Y., y pryd hwnw, yr hwn oedd yn y Gymanfa, a'r brawd Thomas James, Baltimore, i fyned yno i sefydlu eglwys Fethodistaidd yn gysylltiedig a'r Gymanfa hon. Yr oedd y Parch. Edward J. Hughes, yr hwn oedd yn pregethu yno, yn bresenol yn y Gymanfa, "Ac ymddyddanwyd ag ef, a chafwyd pob boddlonrwydd ynddo, a derbyniwyd ef i undeb cyfeillgar a'r Gymanfa hyd nes sefydlu eglwys yn y lle, ac iddo yntau gael llythyr cymeradwyaeth gan y Presbyteriaid." Cyflawnodd y cenadon eu gwaith, a sefydlwyd yr eglwys gyda 34 o aelodau. Gofynodd y rhai oedd yn aelodau o'r eglwys Henaduriaethol, Slateville, am lythyrau gollyngdod, a gollyngwyd hwy mewn heddwch i gychwyn yr anturiaeth newydd hon. Yn canlyn weie enwau yr ael-

odau cyntaf: John Humphreys, Robert Davies, Hannah Davies, Margaret Hughes, Griffith Williams, Pierce Roberts, David Williams, Janet Roberts, Elizabeth Williams, William Thomas, Mary Thomas, John Parry, Jane Parry, William T. Morris, Howell Williams, D. G. Evans, William E. Williams, E. D. Humphreys, Robert Jones, Elinor Davies, Margaret Roberts, Elizabeth Davies, Martha Davies, Elizabeth Evans, Catherine Jones, Anna Owens, Ellis E. Williams, William J. Rowlands, Jane Rowlands, Mary Williams, John J. Hughes, Thomas Evans, Anne Evans.

Y brodyr a ddewiswyd yn ddiaconiaid y pryd hwnw oedd John Humphreys, Robert Davies a Griffith Williams. Derbyniwyd yr eglwys i undeb a'r Dosbarth, yn Nghyfarfod Pottsville, Rhagfyr, 1854. Bellach yr oedd yn angenrheidiol iddi gael addoldy fel cartref i addoli yr Arglwydd ynddo. Penderfynwyd adeiladu hwnw o briddfeini, yn West Bangor. Ei faint oedd 34x30. Ni wyddom faint oedd y draul i'w adeiladu, ac nid ydym wedi cael na gweled hanes fod agoriad cyhoeddus wedi ei wneyd arno. Adgyweiriwyd a helaethwyd y capel hwn yn 1872.

Yn 1891 adeiladwyd y capel newydd presenol, ar y brif heol yn Delta. Yr oedd y draul yn $8,200, a thalwyd y ddyled gan yr eglwys ei hun, heb fyned oddiallan i gasglu i unlle at eu cynorthwyo. Agorwyd yr adeilad trwy gysegriad o hono i'r Arglwydd, Mai 20-22, 1892. Y brodyr fu yn gwasanaethu ar yr achlysur hwn oedd y Parchn. Griffith Ellis, Bootle, Lloegr; John Hammond, Pittsburg, ac R. T. Jones, Philadelphia. Yr oedd y Parch. E. J. Hughes mewn cysylltiad gweinidogaethol a'r eglwys o'i dechreuad, ac ordeiniwyd ef i gyflawn waith y weinidogaeth yn Nghymanfa Pottsville, Gorphenaf, 1856, a bu yno hyd 1858, pan symudodd i St. Clair. Bu yr eglwys wedi hyn heb weinidogaeth reolaidd hyd 1860, pan roddwyd galwad i Daniel Jones, yr hwn oedd yn Slateford, ond oblegid ei arferion anghymedrol, ni bu ef yno yn hir.

Yn 1864 estynwyd galwad i'r Parch. E. F. Jones, yr hwn

oedd ar y pryd yn Danville. Derbyniodd yntau yr alwad, a bu yn gwasanaethu yr eglwys gyda ffyddlondeb ac ymroddiad am 11 mlynedd.

Yn 1878 estynwyd galwad drachefn i'r Parch. E. J. Hughes i ddyfod yno fel bugail yr eglwys, a bu yntau yn llafurus ac ymdrechgar hyd ddydd ei farwolaeth, Gorphenaf 30, 1885.

Yn 1886 rhoddwyd galwad i'r Parch. J. E. Harris, gwr ieuanc dymunol, ac ordeiniwyd ef y flwyddyn hono yn Nghymanfa Shenandoah. O herwydd gwendid a gwaeledd iechyd, ymadawodd, a dychwelodd i wlad ei enedigaeth yn 1887.

Mae y gweinidog presenol, y Parch. H. F. Williams, wedi dechreu ar ei wasanaeth yno er Mai, 1890. Ordeiniwyd ef yn Nghymanfa Rome, N. Y., Mehefin, 1891. Mae Mr. Williams wedi bod yn ffyddlon a llafurus, nid yn unig yn ngweinyddiad cyson yr ordinhadau, ond yn sefydlu Cymdeithas Ymdrechol yn mysg y bobl ieuainc, a chynal cyfarfodydd llenyddol i ddyrchafu meddwl a chwaeth y bobl sydd dan ei ofal.

Cyfododd yr eglwys hon amryw frodyr i bregethu hefyd. Yn 1855, Griffith Jones, ond ymadawodd ef, ac aeth at y Cynulleidfaolwyr. Yn 1859, Morgan A. Ellis, yr hwn fu yn Hyde Park a Bangor, ac sydd yn awr yn Denver, Col. Yn 1861, Evan D. Humphreys, yr hwn sydd yn awr yn byw yn Fair Haven Vt. Yn 1868, W. C. Roberts, ond deallodd ef cyn hir nad oedd wedi ei alw i'r weinidogaeth, a rhoddodd hi o'r neilldu, ac mae yn gwasanaethu yr achos fel blaenor ffyddlon a da. Yn 1894, D. J. Roberts, yr hwn sydd yn aros eto yn y lle, ac yn gwasanaethu yr achos yn ol fel y bydd cyfleusdra yn agor drws iddo. Dyma fras olwg ar fywyd a gweithrediadau allanol yr eglwys yn West Bangor, ac mae yn ddyledus i ni hysbysu fod y nodion hyn am yr eglwys hon wedi eu hysgrifenu a'u cyhoeddi gan y Parch. J. Ross Ramsay ar gais cymdeithas gweinidogion Delta, ac anfonodd y brawd Mr. Williams yr erthygl i ni i'w defnyddio.

Buasai yn dda genym allu dodi ger bron ryw gymaint o fanylion am fywyd mewnol yr eglwys, ond oblegid ei bod mewn congl anghysbell, bron ar derfyn deheuol y Dalaeth, nid oes llawer o gymundeb wedi bod rhyngddi ag eglwysi eraill y Dosbarth a'r Gymanfa, oddieithr yn ei gweinidogion yn unig bron. Nid ydym yn cael fod y Cyfarfod Dosbarth wedi bod yno onid pedair gwaith yn ysbaid 44 mlynedd, sef 1861, 1863, 1869, 1894, a'r Gymanfa dair gwaith, yn 1866, 1872, 1890. Bu dau o'r gweinidogion mwyaf galluog a llafurus fu yn y Dosbarth Deheuol, os nad yn y Dalaeth oll, yn treulio blynyddoedd pwysicaf eu bywyd yno.

Yr oedd y Cyfarfod Dosbarth yn y blynyddoedd hyny yn bwrw golwg dros, ac yn ymdrin yn fanwl ag ansawdd yr achos yn y lle y cynelid y Cyfarfod. Mae cofnodion y Cyfarfod a gynaliwyd yno yn 1863 yn gwneyd y sylw canlynol: "Ymofynwyd am ansawdd yr achos yn y lle, a chafwyd, er nad oedd mor lewyrchus o ran ei ranau allanol, oblegid amgylchiadau (yr oeddym y pryd hwnw yn nghanol terfysg gwladwriaethol), ei fod yn gysurus yn ei ranau mewnol, gan fod cariad yn blaguro, a heddwch yn teyrnasu, yn nghyd a graddau o ffyddlondeb yn mhawb." Adwaenem yn bersonol amryw o'r aelodau cyntaf oedd yno yn sefydlu yr eglwys, a llawer fu yno yn byw; ac yr oeddynt oll yn dwyn tystiolaeth uchel i rinweddau yr eglwys. Nid ydym yn gwybod fod un achos annymunol oddiyno wedi ei gyflwyno i sylw Cyfarfod Dosbarth na Chymanfa.

Dywed y Parch. Mr. Ramsay yn yr erthygl y cyfeiriwyd ati eisoes, fod yr eglwys hon wedi myned ar gynydd gwastadol, trwy bregethiad cyson a ffyddlon o'r efengyl, yn hytrach na thrwy gynyrfiadau diwygiadol, fel eu gelwir, oddieithr pan ymwelodd y Parch. J. Evans, Eglwysbach, â'r ardal. Ychwanegwyd amryw at yr eglwysi Cymreig y pryd hwnw.

Yn adroddiad Cyfarfod Dosbarth 1894, gwneir y sylw canlynol: "Ymddengys fod yr eglwys yn dra llewyrchus, heddwch a thangnefedd yn teyrnasu yn eu plith, a hael-

ioni crefyddol yn nodweddu yr aelodau a'r gwrandawyr. Casglwyd yno yn ystod y ddwy flynedd ddiweddaf yn agos i $10,000 at yr achos."

Nid ydym wedi gweled fod y blaenoriaid cyntaf wedi eu derbyn i undeb a'r Dosbarth, ond derbyniwyd y rhai canlynol: Yn y Cyfarfod a gynaliwyd yno Rhagfyr, 1861, Robert Williams a W. R. Evans. Eto, Mehefin, 1869, David Williams a Howell Williams. Yn Slatington, Chwefror, 1891, William C. Roberts. Yn West Bangor, Ebrill, 1894, Robt. L. Jones, Richard Rees a D. J. Roberts.

Yr ymddiriedolwyr presenol ydynt, John S. Davies, J. R. Williams, Harry P. Reese, Richard H. Jones, John J. Williams, D. W. Roberts, William J. Jones, John H. Jones. a Richard Roberts.

## XIII.—Shamokin.

Y crybwylliad cyntaf am sefydliad achos yn y lle hwn ydyw, fod Cyfarfod Dosbarth Danville, Ionawr, 1866, wedi cymeradwyo gwaith yr Ysgrifenydd, y Parch. E. J. Hughes, "Yn sefydlu eglwys i'r T. C. yn y lle hwn fel y peth goreu ellid ei wneyd dan yr amgylchiadau." Pa beth allai yr amgylchiadau hyny fod, nis gwyddom. Mae yn hysbys fod yno lawer o Gymry a Methodistiaid yn byw er's rhai blynyddoedd. Crybwyllir yn Nghyfarfod Minersville, 1863, am y brawd B. D. Davies o Shamokin, a "Rhoddwyd iddo ganiatad i arfer ei ddawn yn yr eglwys gartref, a'r hon y byddai yn dewis aelodi ei hun ynddi."

Dichon mai anghyfleusderau teithiol, neu amgylchiadau yn galw am wneyd brys gyda'r symudiad, a barodd i'r Ysgrifenydd weithredu heb gael ei anfon a'i awdurdodi, mewn trefn i wneyd y gwaith. Yr oedd hyny yn ddiweddar yn y flwyddyn 1865, a'r pryd hwnw mae yr eglwys, yn nghyd a'r brodyr Mri. Rees Lewis, John G. Thomas a John F. Jones, fel ei swyddogion, yn cael eu derbyn i undeb a'r Dosbarth.

Dibynu am weinidogaeth ar gyflenwad achlysurol, fel y gellid ei gael yn nghylch y Dosbarth, yr oedd yr eglwys

hon ar y cyntaf. Y brawd W. Harrison, o Columbia, oedd agosaf ati o ran lle. Yn niwedd 1866 neu ddechreu '67, mae y brawd Isaac Blackwell yn symud yno, a derbyniwyd ef yn aelod o'r Dosbarth ar gais yr eglwys, a chymeradwyaeth o'r Dosbarth Gogleddol, Awst, 1867; ond nid arosodd ef yno yn hwy na blwyddyn. Yn y cyfamser yr oedd y Parch. W. J. Lewis yn myned yno yn fynych i bregethu, ac yn niwedd y flwyddyn uchod derbyniodd alwad i fyned yno yn weinidog. Y pryd hwnw yr oedd yr eglwys yn rhifo 35 o aelodau. Arosodd Mr. Lewis yno am tua dwy flynedd, ac yn yr adeg hono anfonodd yr eglwys gais at y Cyfarfod Dosbarth am ei ordeinio i gyflawn waith y weinidogaeth. Pan gymerodd y sefyll allan le yn 1869, ymwasgarodd y Cymry o'r lle, ac ymadawodd gogoniant eglwys Shamokin yr un pryd. Ymadawodd Mr. Lewis o'r lle yr un adeg, ac o herwydd yr un achos. Er i'r dymestl hono lonyddu, ac amgylchiadau wella, ni bu llewyrch ar yr eglwys hon ar ol hyn. Yn fuan wedi hyn mae y Parch. William R. Thomas yn dychwelyd yn ol i'r Dalaeth, ac yn sefydlu yn y lle; ac mae Cyfarfod y Dosbarth a gynaliwyd yno Rhagfyr, 1869, yn rhoddi derbyniad iddo yn aelod o'r Dosbarth, ar sail ei lythyr Cymanfaol o Ohio, ac arosodd ef yno hyd ddydd ei farwolaeth. Mae Cyfarfod Pottsville, Mawrth, 1873, yn anfon llythyr a chasgliad o $16.50 o gydymdeimlad ag ef yn ei gystudd. Yr oedd y Cyfarfod dylynol yn Mehefien i fod yn y lle. Erbyn hyny yr oedd Mr. Thomas wedi ymadael a'r byd hwn, a phenodwyd y Parch. E. F. Jones i anfon llythyr o gydymdeimlad a'i weddw yn ei galar.

Adeiladwyd yn Shamokin gapel hardd a drudfawr; ac fel mae pawb sydd yn cofio, yn gwybod fod defnyddiau adeiladu yn ddrud iawn yn yr adeg hono. Mae y symudiadau gymerodd y Cyfarfod Dosbarth yn nglyn a'r mater hwn fel y canlyn:

Yn Nghyfarfod Danville, pan dderbyniwyd yr eglwys i undeb a'r Dosbarth, bu sylw ar y priodoldeb i'r cyfeillion fyned yn mlaen i adeiladu capel, ond ni ddeuwyd i un pen-

derfyniad ar y mater, ond yn gymaint a bod y Parch. E. F. Jones yn bwriadu ymweled a'r lle ar ei ffordd adref, anogwyd ef i gymeryd sylw neillduol o'r achos hwn yn ei gysylltiad a chyfeillion y lle, a dwyn ei syniadau i'r Cyfarfod nesaf.

Yn Nghyfarfod West Bangor, 1866, mae Mr. Jones yn rhoi hanes ei ymweliad a'r lle, ac yr oedd yn ymddangos eu bod yn gysurus, ac yn penderfynu myned yn mlaen i adeiladu capel. Aeth y gwaith o adeiladu yn mlaen nes ei orphen, ac agorwyd y capel yn nglyn a'r Cyfarfod Dosbarth a gynaliwyd yn y lle Awst 3, 4, 1867. Nid oes gair o hanes yr agoriad wedi ei ysgrifenu, ond yn unig grybwylliad ar y cofnodau fod hyny wedi cymeryd lle, ac mae yn eglur mai gweinidogion y Dosbarth fu yno yn gwasanaethu ar yr achlysur.

Mae hanes yr eglwys hon, yn gystal a llawer eraill, yn egluro fel mae eglwysi bach a mawr yn myned i brofedigaeth wrth fyned i adeiladu capelau, heb arian mewn llaw. Yr oedd Mr. Jenkin Watkins, un o aelodau yr eglwys, wedi rhoi benthyg arian iddynt, ac mae hwnw yn bygwth ei werthu unwaith. Felly mae Cyfarfod mis Mai, 1867, yn amlygu cydymdeimlad a'r brodyr yn eu profedigaeth yn nghylch y capel, gan eu hanog i ddewis y llwybr doethaf ac esmwythaf i symud y ddyled. Anfonodd yr eglwys ei gweinidog, y Parch. W. J. Lewis, allan i gasglu, a llwyddodd yntau i gasglu yn agos i $1,000, a chafwyd gwaredigaeth o'r brofedigaeth hono. Mae y Cyfarfod a gynaliwyd yno yn mis Awst, yn nodi pwyllgor—y Parchn. E. F. Jones, J. L. Jeffreys a Mr. John Lucas—i edrych dros gyfrifon yr eglwys, ac i barhau hyd y Cyfarfod dylynol. I Gyfarfod a gynaliwyd yn Slatington, 1870, mae yr eglwys yn anfon llythyr, gan ddangos fod yr achos yn llewyrchus a'r eglwys yn galonog, a'u bod yn dymuno ar y brodyr yn y weinidogaeth i dalu ymweliad a hwynt, a nodwyd y Parch. J. L. Jeffreys i anfon anerch atynt.

Yn Pottsville, 1871, bu sylw drachefn ar achos capel

Shamokin, a nodwyd pwyllgor—Mri. John Lucas, J. R. Davies a Henry Davies—i sefyll wrth gefn yr eglwys am $150. Nodwyd hefyd y Parch. E. F. Jones i wneyd cais drostynt at y Bwrdd Cenadol am gymorth i gadw gweinidogaeth fwy gwastad yn y lle. Yn Mehefin, 1873, yr oedd y Cyfarfod Dosbarth yno, a nodwyd dau—Mri. John Lucas a J. R. Davies—yn bwyllgor i edrych dros gyfrifon y capel unwaith eto. Yn Nghyfarfod Medi, yr hwn a gynaliwyd yn Pottsville, anogwyd yr eglwysi i wneyd casgliad at gapel Shamokin, ac i'r casgliad fod yn barod erbyn y deuai yr ymwelwyr heibio. Ond yn Nghyfarfod Minersville, Rhagfyr, 1873, rhoddwyd llythyr wedi ei arwyddo gan y Llywydd a'r Ysgrifenydd yn llaw pwyllgor o dri—Parch. R. V. Griffiths, Mri. John Lucas a John R. Davies—yn eu hawdurdodi i werthu y capel. Yn y Cyfarfod dylynol, yn St. Clair, hysbyswyd gan y pwyllgor fod y capel wedi ei werthu; ac yn y Cyfarfod a gynaliwyd yn Danielsville, Gorphenaf, 1874, gwnaeth J. Lucas adroddiad manwl o weithrediadau y pwyllgor, a derbyniwyd ef yn ddiolchgar. Hysbyswyd fod $1,200 yn aros wedi talu pob dyled, a $250 o'r swm uchod i fyned i drysorfa y Genadaeth Gyffredinol. Fel hyn y terfynodd einioes yr eglwys Fethodistaidd yn Shamokin.

## XIV.—Danielsville.

Mae y lle hwn yn agos i Slatington, ar yr ochr ddwyreiniol i afon y Lehigh. Chwarelau llechi sydd yno, fel Slatington. Cyflwynwyd y lle i sylw y Cyfarfod Dosbarth, Gorphenaf, 1857, yn Slatington, a phenderfynwyd fod Dr. Rowlands, yr hwn oedd ar ymweliad a'r lle ar y pryd, i fyned yno i sefydlu achos; a rhoddwyd arno i'w hanog i ddiogelu yr eiddo yn feddiant i Gyfundeb y T. C., yn ol penderfyniad yr ardal yn flaenorol. Ymddengys fod yr achos wedi cychwyn ryw gymaint o amser cyn hyn, oblegid y penderfyniad uchod, a hefyd fod y Cyfarfod hwnw yn eu hanog i ddewis un blaenor i ofalu am yr achos.

Yn gymaint ag mai perthyn i'r Dosbarth Gogleddol yr

oedd Dr. Rowlands, nid oes un crybwylliad ar gofnodion y Cyfarfod Dosbarth ei fod wedi gwneyd adroddiad o'i waith yn Danielsville, na bod yr eglwys wedi ei derbyn i undeb a'r Dosbarth mewn modd rheolaidd. Cofnodir fod y diacon James Roberts wedi ei dderbyn i undeb a'r Dosbarth yn Minersville, Chwefror, 1858, a bod Cyfarfod Dosbarth wedi bod yno Ionawr, 1859, a dyna y cwbl hyd 1860. Ymddengys eu bod wedi adeiladu y capel yn y cyfnod hwn, ac yr oedd y Cyfarfod Dosbarth yno drachefn Hydref, 1860, pryd y gwnaed sylw ar amgylchiadau yr achos yn y lle, "A chafwyd fod y cyfeillion wedi bod yn hynod o ymdrechgar i ddileu y ddyled sydd arno, ac anogwyd hwy i ymgyngori â chyfeillion Slatington yn nghylch yr adeg oreu i fyned yno i gasglu er gorphen ei thalu, a chaniatawyd rhyddid iddynt i anfon at yr hwn a farnont oreu i'w cynorthwyo fel casglydd." Ymddengys i ni na ddarfu i'r cyfeillion weithredu yn ol yr anogaeth uchod, oblegid yn Ebrill, 1863, mae y Cyfarfod Dosbarth yno eto, a gwnaed sylw "o'r ddyled arosol ar y capel, ac anogwyd y cyfeillion i ymdrechu talu y llogau yn gyson, ac oedi myned allan i gasglu am bedwar neu chwe' mis, gan fod amgylchiadau eglwys Slatington yn galw am fyned allan yn ddioed." Yr un pryd, "Rhoddwyd rhyddid cyflawn i'r eglwys hon fwynhau y sacramentau yn gyflawn trwy y brawd oedd yn ymweled a hwy yn gyson i bregethu, gan ei fod yn weinidog cyflawn, er mai nid gyda'n henwad ni." Pwy oedd y brawd, a pherthyn i ba enwad yr oedd, ni ddywedir dim am dano. Yn St. Clair, Gorphenaf, 1864, bu sylw drachefn ar yr addoldy yn y lle hwn, ac wedi ymddyddan maith ar y mater, daethpwyd i'r penderfyniad eu bod yn analluog i'w cynorthwyo ar y pryd, ond eu bod yn darparu cynllun iddynt i fyned i gasglu i'r gwahanol fanau at ddileu y ddyled. Yn Hydref, 1864, yr oedd y Cyfarfod dylynol yn Danielsville, ac addawodd y brodyr oedd yn bresenol wneyd eu goreu at ddileu y ddyled; ac yn St. Clair, Gorphenaf, 1866, hysbyswyd fod y ddyled ar gapel Danielsville wedi ei thalu,

a derbyniwyd yr hysbysiad gyda theimladau o ddiolchgarwch a llawenydd gan y Cyfarfod. Heblaw fod y Cyfarfod Dosbarth yno, Hydref, 1866, nid oes rhagor o son am yr achos yn Danielsville hyd Gorphenaf, 1868, pryd y derbyniwyd y brawd John J. Griffiths i undeb a'r Dosbarth fel pregethwr yn Minersville, ac y penodwyd y Parchn. E. F. Jones a B. D. Davies i fyned yno i gynorthwyo yr eglwys i ddewis blaenoriaid.

Yn mis Mawrth, 1869, yr oedd y Cyfarfod Dosbarth yno, a derbyniwyd y brodyr Evan Jones a John J. Williams fel blaenoriaid y lle, yn aelodau o'r Cyfarfod Dosbarth. Yr un pryd mae y frawdoliaeth yn gwneyd cais at y Cyfarfod am ganiatad i adeiladu capel newydd. Caniatawyd y cais, a rhoddwyd anogaeth iddynt i ymlwybro yn mlaen, gan fod amgylchiadau y gymydogaeth yn galw am hyny; am iddynt beidio colli amser nac un fantais a allai ymddangos iddynt yn ffafriol. Yn y Cyfarfod dylynol, yr hwn oedd yn West Bangor, mae cenadwr Danielsville yn gwneyd adroddiad fod yr eglwys yn cynyddu mewn rhif ac mewn gras, ond nad oeddynt wedi gwneyd un symudiad tuag at adeiladu capel newydd, am eu bod yn methu cael tir. Pe buasent mewn dinas fawr, ni buasem yn synu cymaint, ond mewn ardal wledig mae yn swnio yn od i ni eu clywed yn cwyno eu bod yn methu cael tir. O Gyfarfod Shamokin, Rhagfyr, 1869, anfonwyd y Parch. J. L. Jeffreys yno i'w hanog i fod yn fwy rheolaidd gyda golwg ar y brawd ieuanc (J. R. Jones) oedd yn ymgeisydd am y weinidogaeth yno. Gwnaeth Mr. Jeffreys adroddiad yn y Cyfarfod dylynol fod yr achos yn gysurus a gobeithiol yno. Yn Rhagfyr, 1872, mae Cyfarfod Slatington yn awdurdodi y Parch. E. F. Jones, Mri. W. Parry a W. Williams, blaenoriaid Slatington, i fwrw golwg ar gapel Danielsville. O Gyfarfod Shenandoah, Mawrth, 1873, anfonwyd llythyr atynt, gan eu hanog i ymdrech yn y gwaith da, ac awdurdodwyd y Parch. E. F. Jones i arfer ei ddylanwad gyda'r brodyr, a sicrhau lle iddynt i adeiladu capel newydd. Gwnaeth Mr. Jones adroddiad yn y Cyfar-

fod dylynol, ac awdurdodwyd ef i weithredu mewn undeb a swyddog yr eglwys, yn gydunol a'i adroddiad. Ond mae Cyfarfod Medi, 1873, yn anfon y Parch. R. V. Griffiths yno i edrych beth a ellid ei wneyd o'r capel. Mae Cyfarfod Shenandoah, Ionawr, 1880, yn nodi y pwyllgor canlynol: Y Parch. Thos. B. Thomas, Wilkesbarre, mewn undeb â swyddogion Slatington, Mri. John J. Hughes, W. S. Williams, J. W. Morris a Hugh L. Davies, i drafod achos eglwys Danielsville. Ond pa beth a wnaeth y pwyllgor hwn nid oes dim wedi ei gofnodi. Mae y Cyfarfod a gynaliwyd yn Slatington, 1882, yn caniatau llythyr cymeradwyaeth i'r brawd J. J. Griffiths i ymadael. Yr oedd llythyr wedi ei ganiatau iddo o'r blaen yn Pottsville, Gorphenaf, 1875, ond naill ai ni alwodd am dano, neu dychwelodd yn ei ol; ond yn awr mae yn myned i New York, lle mae yn byw yn bresenol, ac yn ddyn da a defnyddiol, ac yr oedd ei ymadawiad yn golled fawr i Danielsville.

Yn 1855 mae y Cyfarfod Dosbarth yn anfon y brodyr J. W. Morris a James Owen o Slatington, a'r Parch. Ellis Walter Jones, yno i'w hanog i adnewyddu, a dewis rhagor o swyddogion. Mewn canlyniad i'r ymweliad hwn dewiswyd Hugh Roberts, a derbyniwyd ef i undeb a'r Dosbarth, Awst, 1885. Yn Hydref, 1886, mae y brawd John J. Williams yn anfon cais at Gyfarfod Dosbarth Shenandoah am lythyr i'w gyflwyno i Gyfarfod Dosbarth dinas New York. Yr oedd ef a'i deulu wedi bod yn ffyddlawn a charedig i'r achos yno am flynyddoedd lawer, ac yr oedd ei golli yn golled bron anadferadwy i Danielsville. Buodd felly hefyd yn y ddinas tra daliodd ei nerth. Bellach mae efe a'i briod wedi huno yn yr angeu.

Gan na ddarfu i'r brawd a benodwyd anfon dim o hanes yr achos yn y lle, nid oedd genym ond gosod gweithrediadau y Cyfarfod Dosbarth gyda golwg ar yr eglwys hon, ger bron y darllenydd.

## XV.—Shenandoah.

Mewn cydmariaeth i leoedd eraill yn Schuylkill County, mae Shenandoah yn lle newydd, ac yn ddinas brydferth, ar waelod pantle dwfn, yn cael ei hamgylchynu gan fynyddoedd uchel. Heb fod yn mhell oddiyno mae Mahanoy City, ac mae yr holl wlad yn gyfoethog mewn adnoddau glofaol. Agoriad y gweithfeydd hyn o 1860 ac yn mlaen, fu yn achlysur i dynu Cymry i ymsefydlu yn yr ardaloedd hyn. Mae y Cymry sefydlodd yn y lle hwn wedi dyfod o Siroedd Fflint a Dinbych yn Ngogledd Cymru, yn benaf, ac yn eu plith yr oedd amryw Fethodistiaid. Y symudiad cyntaf gyda golwg ar sefydlu achos yma, y gwyddom am dano, ydyw eiddo y Cyfarfod Dosbarth gynaliwyd yn West Bangor, Mehefin, 1869, yn anog yr Ysgrifenydd, y Parch. B. D. Davies, "I edrych ar ol yr ychydig Fethodistiaid yn Shenandoah, ac i gario teimladau y Cyfarfod iddynt; ac os ydynt am gael achos yno, am iddynt weithredu yn y cyfeiriad hwnw mor bell ag y gallant hyd y Cyfarfod nesaf." Yr oedd hwnw yn cael ei gynal yn Shamokin, ac mae y brodyr yn anfon cais yno am ganiatad i gorffori eglwys yno, a phenodwyd y Parch. Evan F. Jones a Mr. John Lucas i fyned yno Sabboth ar ol Nadolig, 1869. Gwnaeth y brodyr y gwaith a ymddiriedwyd iddynt, ac yr oedd yr eglwys yn rhifo 15 o aelodau. Dewiswyd Mri. Henry P. Davies a William P. Jones yn ddiaconiaid; Mr. George Jones yn Drysorydd; Mr. W. H. Jones yn Ysgrifenydd; a Samuel Cuneh yn ddechreuwr canu. Yr oedd y rhai hyn, gyda'r eithriad o Henry P. Davies a'i deulu, yn dyfod o Brymbo, Sir Fflint, a Mr. Davies o Ddeheudir Cymru, ac oll yn ddynion rhagorol. Gwnaeth y pwyllgor eu hadroddiad yn Nghyfarfod Mawrth, yr hwn oedd yn Slatington, "Fod y frawdoliaeth yn siriol, a golwg am achos llewyrchus yno. Derbyniwyd y ddau ddiacon i undeb a'r Dosbarth yn Nghyfarfod Mai, yr hwn a gynelid yn Minersville. Erbyn mis Mehefin yr oedd nifer yr eglwys wedi cynyddu i 45. Y pryd hwn yr oedd

cangen fechan yn perthyn i'r eglwys yn Raven's Run. Yr oedd aelodau yr eglwys oll yn ddirwestwyr, a gwnaed dirwest yn amod eglwysig o'r cychwyn cyntaf.

Y pryd hwn y daeth y Parch. E. C. Evans gyda llythyr o Gyfarfod Misol Sir Fflint, fel pregethwr ieuanc addawol, ac yr oedd hyny yn codi gobeithion yr eglwys yn uchel. Yn yr haf hwn mae yr eglwys yn myned yn nghyd ag adeiladu capel, ac yr oedd yn barod i'w agor yn mis Tachwedd. Yn mis Ionawr, 1871, yr oedd y Cyfarfod Dosbarth yno, ac mae sylw yn cael ei wneyd yn y Cyfarfod ar y capel, ac anogaeth yn cael ei roddi i'r cyfeillion i newid yr enw ar y deed, ond yn y Cyfarfod dylynol anogwyd hwynt i aros hyd nes y byddai y Gymanfa wedi cael charter cyffredinol, ac y gallent hwythau gael charter lleol yr un pryd. Yn 1874 maent yn ymofyn benthyg yr arian a gafwyd am gapel Shamokin, gan y Cyfarfod Dosbarth. Penderfynwyd unwaith rhoddi eu benthyg iddynt, ond oddiar ystyriaethau eraill adystyriwyd y penderfyniad hwn, a rhanwyd yr arian rhwng y gwahanol leoedd yn y Dosbarth, a chafodd Shenandoah $400 fel ei chyfran o'r arian uchod er ei chynorthwyo i dalu am y capel.

O ran gweinidogaeth yr oedd yr eglwys hon wedi ei bendithio yn fwy na llawer, gan fod Mr. Evans yno yn bregethwr ieuanc ar gychwyniad yr achos. Yn mhen tua blwyddyn ymadawodd ef i fyned i Athrofa Princeton. Erbyn hyn mae y brawd Richard R. Jones, oedd yn byw yno ar y pryd, yn ymgeisydd am y weinidogaeth, ac mae cenadau y Cyfarfod Dosbarth yn cael boddlonrwydd ynddo fel y cyfryw. Yn Hydref, 1872, mae y Parch. R. V. Griffiths yn derbyn galwad i ddyfod yno yn weinidog, a bu yno am ragor na thair blynedd. Dyma yr adeg fwyaf llewyrchus fu ar yr achos hwn, ac yr oedd ymlyniad yr eglwys wrth Mr. Griffiths yn fawr, fel mae yn anfon cais at y Cyfarfod Dosbarth am gymorth i'w gadw, rhag ymadael a'r eglwys a'r Dosbarth. Yr ydoedd ar y pryd yn adeg o gyfyngder masnachol yn y wlad, a phrinder brodyr yn y weinidogaeth yn

y Dosbarth hwn, fel yr oedd y rhai oedd yn arwain yr achos yn mlaen yn teimlo yn ddwys, ac mewn cyfyngder meddwl, yn methu gwybod beth i'w wneyd. Ond ymadael wnaeth Mr. Griffiths, a chafodd ei lythyr o'r Cyfarfod Dosbarth yn Chwefror, 1876. Ar ol ei ymadawiad gwanhaodd achos Shenandoah yn fawr, symudodd amryw deuluoedd o'r lle, a digalonodd y gweddill i fesur mawr am dymor. Ond yn Rhagfyr, 1877, yr oedd y Cyfarfod Dosbarth yno, a rhoddwyd ar ddeall i'r Cyfarfod fod yr eglwys wedi ymuno ag eglwysi Pottsville, St. Clair a Minersville, "I roddi galwad i'r brawd E. C. Evans i ddyfod i'w bugeilio, a'u bod yn ei gyflwyno i'r Gymanfa nesaf, mewn trefn i gael ei ordeinio i gyflawn waith y weinidogaeth." Ond ni fu Mr. Evans yno yn hir, ac ymadawodd i Dalaeth New York. Wedi hyn mae Cyfarfod Minersville, 1879, yn anog y pedair eglwys eto i ymgyraedd am weinidogaeth mor gyson ag y gellid, ond erbyn y flwyddyn 1880 mae y frawdoliaeth wedi gwasgaru, fel nad oedd dim i'w wneyd ond cau y capel i fyny. Mae Cyfarfod Dosbarth a gynaliwyd yn Minersville yn dwyn y dystiolaeth a ganlyn i ffyddlondeb a theyrngarwch yr ychydig weddill oedd yn aros yno: "Penderfynwyd fod y Cyfarfod hwn yn cymeradwyo ymddygiad y brodyr yn Shenandoah yn gofalu am yr eiddo perthynol i'r Cyfundeb yn y lle. Hefyd, ei fod yn eu hanog i fod a'u llygaid yn agored ar bob mantais er agor y capel, pe cynelid moddion ond unwaith yn Sabbothol ynddo."

Yn Medi, 1884, ail agorwyd y capel, a gwasanaethwyd ar yr achlysur gan y Parch. E. J. Hughes. Yn 1885 mae y Parch. Ellis Walter Jones yn cymeryd gofal y pedair eglwys, gan gartrefu yn Shenandoah, a bu yntau yno hyd ddiwedd 1890; ac o hyny hyd yn awr mae yr eglwys wedi bod yn dra amddifad o weinidogaeth. Yn 1891 mae y Parch. John Hammond yn cael ei nodi i ymweled a'r lleoedd hyn, ac i wneyd adroddiad i'r Gymanfa am sefyllfa yr eglwysi. Wedi clywed ei adroddiad, mae Cyfarfod Wind Gap, 1892, yn anog eglwys Shenandoah i fod yn fwy effro ac egniol i

gadw yr achos i fyny, ac i symud yn mlaen mor fuan ag y byddo yn bosibl i alw am gynorthwy i ddewis swyddogion, a bod W. T. Evans, Thomas Davies a W. F. Davies i weithredu hyd hyny. Y brodyr hyn sydd yn gofalu am yr achos yno yn bresenol.

Y rhai a dderbyniwyd i undeb a'r Dosbarth fel blaenoriaid yr eglwys hon, ydyw y rhai canlynol: Yn Minersville, 1870, Mri. William P. Jones a Henry Davies; yn Danielsville, Awst, 1872, Mr. Owen Thomas; yn Shenandoah, Tachwedd, 1876, Edward V. Williams a Thos. R. Jones; yn Slatington, Ionawr, 1885, Mr. Henry L. Jones; yn Slatington, Mai, 1885, Mr. Samuel Rodgers; yn Slatington, Mehefin, 1886, Mr. William T. Evans; yn Shenandoah, Ebrill, 1895, Mr. William F. Davies.

## XVI.—Wind Gap.

Mae y lle hwn tua saith milldir i'r de-orllewin o Bangor, Northampton County, ar ucheldir, lle mae y faen lech yn rhedeg mewn cyfeiriad deheuol, a'r Mynydd Glas wrth ei gefn. Ar gyfer y lle mae bwlch yn y mynydd, trwy yr hwn mae y gwynt yn chwythu o'r gorllewin gyda grym mawr ar adegau, oddiwrth yr hwn y rhoddwyd yr enw i'r ardal, "Bwlch y Gwynt." Cyfaneddid y lle gan lawer o Ellmyniaid hyd yn ddiweddar, pan ddechreuodd Cymry ymsefydlu yno i weithio llechfeini.

Rhagfyr 5, 1886, y dechreuwyd cynal achos crefyddol yno. Y pryd hyny yr oedd eglwys Bangor a'i gweinidog (y Parch. R. E. Williams, Plymouth yn awr), yn perthyn i'r Dosbarth Gogleddol. Aeth ef a Mr. Ed. Foulkes, diacon, yno yr adeg uchod, a phregethodd Mr. Williams yn nghapel yr Ellmyniaid, oddiar Ioan 19: 25-27. A hon oedd y bregeth Gymraeg gyntaf yn yr ardal. Ar ddiwedd yr oedfa gofynodd Mr. Foulkes am i'r oll oedd yn aelodau gyda'r T. C. i aros ar ol. Arosodd chwech neu saith, a rhoddwyd y mater o sefydlu achos ger eu bron, ac wedi cael ymdriniaeth arno, daethpwyd i'r penderfyniad o ymffurfio yn

gangen eglwys dan nawdd eglwys Fethodistaidd Bangor, a dewiswyd Mri. Griffith Thomas, John W. Prichard a Robert J. Roberts yn bwyllgor arweiniol i hyrwyddo y gwaith yn mlaen; a pharhaodd y frawdoliaeth yn y cyflwr gwarcheidiol hwn hyd Ebrill 17, 1889. Yn y Cyfarfod Dosbarth a gynaliwyd yn Danielsville, Ionawr, 1887, galwyd sylw y Cyfarfod, gan gyfeillion Slatington, "At y priodoldeb o sefydlu achos crefyddol yn y lle; fod amryw Gymry wedi symud yno yn ddiweddar, ac arwyddion cynydd yn y dyfodol." Ond gan fod y cyfeillion o'r Dosbarth Gogleddol wedi rhagflaenu, barnwyd mai doethineb oedd gadael iddynt fyned rhagddynt fel maent wedi cychwyn, ond fod angen i'r Cyfarfod wneyd sylw o leoedd cyffelyb.

Yn Nghyfarfod Mawrth, 1888, mae eglwys Bangor a'i gweinidog yn ymuno a'r Dosbarth Deheuol, ac wrth gwrs, mae y gangen eglwys dan ei nawdd yn Wind Gap yn myned gyda hi. Felly mae y Cyfarfod Dosbarth a gynaliwyd yn Shenandoah, Mawrth, 1889, yn penodi y Parch. E. W. Jones a Mr. Ed. Foulkes i fyned i Wind Gap i gorffori eglwys Fethodistaidd yn y lle, yr hyn a wnaed yr adeg uchod. Dewiswyd yn swyddogion rheolaidd ar y pryd, y brodyr Griffith Thomas, John W. Prichard a John A. Davies, a derbyniwyd yr eglwys a'i swyddogion i undeb a'r Dosbarth yn Bangor, Medi, 1889. Ond nid oedd gan y cyfeillion hyd yma yr un capel i addoli ynddo, nac un adeilad neillduol i gynal cyfarfodydd ynddo. Cludid yr arch o'r naill anedd i'r llall, ac o'r tai i depot y New Jersey Central R. R. Mawrth, 1888, mae Cyfarfod Dosbarth Slatington yn caniatau i'r cyfeillion yn Wind Gap adeiladu capel, a chan mai sefydliad newydd ydyw, a'r cyfeillion sydd yn y lle yn ymdrechgar, a dyfodol addawol i'r achos, penderfynwyd "Anfon cais at yr eglwys am gynorthwy arianol iddynt." Dechreuwyd adeiladu y capel, Awst 22, 1888, ac yr oedd yr adeilad yn barod i fyned iddo i addoli am y tro cyntaf. Tachwedd 4ydd yr un flwyddyn. Mae yn gapel hardd, wedi ei orphen yn ddestlus. Agorwyd ef Ionawr 6, 1889. Preg-

ethwyd ar yr achlysur gan y Parch. R. E. Williams a'r Parch. Hugh Hughes, Ashley. Yn Chwefror, 1890, mae y Cyfarfod Dosbarth yno, ac yn hwnw mae y swyddogion yn rhoi adroddiad o sefyllfa yr achos yn y lle. Yn mhlith pethau eraill dywedir, "Cafwyd llawer o anhawsderau i sefydlu yr achos ac i'w ddwyn yn mlaen, ond mae wedi cynyddu tu hwnt i ddysgwyliadau pawb, ac mae golwg addawol arno. Chwanegwyd 12 trwy lythyrau, a 13 o'r gwrandawyr y flwyddyn ddiweddaf. Mae nifer plant yr aelodau yn 50, a'r Ysgol Sabbothol yn llewyrchus, ac ymdrech mawr yn cael ei wneyd gyda'r plant. Yr oedd yr achos yn ei wedd ysbrydol yn ddymunol, proñadau da, a rhwyddineb i'w hadrodd." Yr oedd y Cyfarfod yn llawenhau wrth glywed y fath adroddiad.

Parhaodd cysylltiad y Parch. R. E. Williams a'r achos hyd Mai, 1890, cyfnod o dair blynedd. Dylynwyd ef yn Bangor gan y Parch. John Hammond, a bu yntau yn gofalu am yr achos yn Wind Gap am ddwy flynedd. Yn ystod ei dymor ef daeth y Parch. John J. Williams (Olyphant yn awr), i gartrefu yn yr ardal, yr hwn a fu yn help i'r achos, ac o fawr fendith i'r ardal. Er dechreu 1895 mae yr eglwys hon dan ofal y Parch. J. W. Morris, Slatington. Ei swyddogion presenol ydynt Mri. Griffith Thomas, J. A. Davies, Peter Roberts a Wm. W. Prichard.

### XVII.—Lambertville, N. Y.

Yn Bangor, Hydref, 1895, derbyniwyd cais o'r lle hwn am gymorth i sefydlu eglwys yno. Anfonwyd y Parch. J. W. Morris a Mr. Ed. Foulkes yno dros y Cyfarfod Dosbarth, a dygasant eu hadroddiad i'r Cyfarfod a gynaliwyd yn Philadelphia, Rhagfyr, 1895. Dangoswyd fod yno ragolygon addawol o flaen yr eglwys fechan. Dewiswyd Mri. D. H. Roberts, J. R. Hughes a W. R. Griffiths yn ddiaconiaid, a derbyniwyd hwy a'r eglwys i undeb a'r Dosbarth. Anfonwyd llyfrau iddynt i gadw Ysgol Sabbothol, a rhoddodd y Feibl Gymdeithas Feibl ar yr areithfa, a'r Parch. D. O'Brien Owen Lyfr Hymnau at eu gwasanaeth.

Yn Bangor, Ebrill, 1896, hysbyswyd fod y brawd W. R. Griffiths yn parhau mewn undeb ag eglwys Seisnig, er ei ddewis yn ddiacon ar yr egwys Gymreig, ac anfonwyd ato i ofyn am eglurhad. Erbyn diwedd y flwyddyn hon, yr oedd y cwbl wedi diffodd, a'r Cymry wedi chwalu; ac o Gyfarfod West Bangor anfonwyd am y Beibl a'r Llyfr Hymnau, i'w cadw yn ngofal eglwys Slatington, nes bydd angen am danynt.

## XVIII.—Philadelphia.

Mae lle i feddwl fod dinas Philadelphia wedi bod yn fwy Cymreigaidd unwaith nag un ddinas arall yn y wlad. Yr oedd William Penn yn Gymro, a buasid yn dysgwyl yn naturiol i Gymry ganlyn ar ei ol, ac mae lle i feddwl fod Cymry yn y tair llong gyntaf a ddaeth drosodd yn 1681, a chydag yntau hefyd yn 1682. Dywedir fod Cymry wedi prynu 40,000 o erwau o dir yn amgylchoedd Philadelphia y flwyddyn hono, a ffurfio sefydliadau a chorffori eglwysi yn Philadelphia, Penypeck (Peny Parc) a Welsh Tract, yn Swydd New Castle, a galwasant eu cymydogaethau ar yr un enwau a'u hen gartrefi yn ngwlad eu genedigaeth, "Pencader," "Bryn Mawr," "Wales," "Gwynedd." Mae y "Cyfaill" am 1844 yn rhoddi rhestr o 17 o weinidogion i'r Bedyddyr a sefydlodd yn y lleoedd uchod rhwng y blynyddoedd 1706 a 1761, ond nid ydym yn cael fod eglwysi Cymreig o un nodwedd arall wedi eu sefydlu yn Pennsylvania yn y cyfnod hwn. Mae disgynyddion y sefydlwyr hyny wedi ymgymysgu a chenedloedd eraill, ac yn enwedig ag Ellmyniaid, yn nhai y rhai y ceir yma a thraw ar hyd y wlad lawer o hen lyfrau Cymreig nad oes neb yn eu deall, nac yn gallu eu darllen.

Yn y flwyddyn 1794, ac o hyny hyd 1797, bu ymfudiaeth helaeth o Gymru i'r America. Y pryd hwnw y daeth y Parch. Morgan John Rhys drosodd. Yr oedd ef yn enedigol o Ystradmynach, rhwng Caerphili a Pontypool, a derbyniwyd ef yn aelod o eglwys Fedyddiedig Hengoed pan

yn bur ieuanc. Cafodd ei addysg yn Bristol, unig Athrofa y Bedyddwyr y pryd hwnw. Cysegrodd ei fywyd i lesoli ei gydgenedl; a phan oedd Mr. Charles yn llafurio a'i holl egni i oleuo ei gydwladwyr yn y Gogledd, yr oedd yntau yn gwneyd yr un peth yn y Deheudir. Dywedir ei fod yn deall egwyddorion Ymneillduaeth yn well, ac yn eu dadleu yn fwy hyf na neb yn y wlad ar y pryd. Mae yn bosibl ei fod mewn perygl oblegid ei syniadau rhyddfrydig, ac mai dyna a'i cymellodd i ymfudo. Felly cychwynodd yn 1794, a glaniodd wedi mordaith hirfaith yn New York. Ei gynllun cyntaf oedd sylfaenu trefedigaeth Gymreig ar lanau afon Ohio, ond gwrthododd y llywodraeth ganiatau yr hawlfraint ar y telerau yr oedd ef yn eu hymofyn. Wedi methu yn y cyfeiriad hwn prynwyd darn helaeth o dir ar ben mynyddoedd yr Allegheny, a galwodd y lle yn Cambria. Dyma ddechreu Cambria County, i'r hon mae Ebensburg yn brif dref.

Ymddengys hefyd fod cwmni o Gymry Philadelphia tua'r amser hwn wedi prynu darn mawr o dir yn Ohio, a adwaenir wrth yr enw Welsh Hills, yn Licking County; pa un a oedd gan Morgan Rhys law yn y drafodaeth hono nis gwyddom. Wedi sefydlu trefedigaeth Cambria dychwelodd i Philadelphia, a chasglodd gynulleidfa Gymreig gymysg o Fedyddwyr, Annibynwyr a Methodistiaid Calfinaidd, i'r rhai y bu yn pregethu am beth amser. Yma y priododd a Miss Loxley, a ganwyd iddo amryw o blant; ac wyres iddo ef oedd gwraig Dr. Murray, gweinidog enwog gyda'r Presbyteriaid, yr hwn a fu yn dadleu â'r Archesgob Hughes ar Babyddiaeth. Bu farw yn 1804, yn 44 oed, ac mae ei feddrod yn nghladdfa teulu ei wraig yn Philadelphia.

Yr ydym wedi rhoddi yr hanes hwn i fewn, nid yn unig ar gyfrif ei ddyddordeb ynddo ei hun, ond hefyd am mai mewn cysylltiad ag ef yr ydym yn cael son gyntaf am y Methodistiaid Calfinaidd yn y wlad, yn ogystal ag yn Nhalaeth William Penn. Yn 1795 daeth y Parch. William G. Pierce (gweinidog cyntaf y Methodistiaid yn Nhalaeth New

York), drosodd, a bu yn aros yn Penypeck, neu Pen y Parc, 8 milldir o Philadelphia, am bum' mlynedd, pan y symudodd i Steuben County, N. Y., lle y bu farw yn 1847, yn 79 mlwydd oed. Merch iddo ef oedd Mrs. W. M. Owens, diweddar o Remsen, ac mae iddo wyrion a gor-wyrion yn y parthau hyny eto.

Gwelir oddiwrth yr uchod fod dinas Philadelphia yn hynod Gymreigaidd yn yr adeg yr ydym yn cyfeirio ati. Mae yn ymddangos fod y tir lle y saif y ddinas yn bresenol yn feddiant Cymreig y pryd hwnw, yn ogystal ag ardaloedd cylchynol iddi. Mae yn sicr y cyhoeddwyd llawer o lyfrau Cymreig yma y pryd hwnw, a mwy, tebygol, nag a wnaed mewn un ddinas arall wedi hyny; ac mae lle i feddwl fod hyny yn cael ei wneyd yn argraffdy Mr. Creamer, lle y bu Benjamin Franklin yn gweithio ynddo. Cyhoeddwyd "Mynegair Ysgrythyrol" yno, gan Paul Kramer a David Harry, argraffwyr, yn 1730. Awdwr y llyfr oedd y Parch. Abel Morgan, gweinidog gyda'r Bedyddwyr. Yr oedd yr awdwr parchedig yn enedigol o'r Allt Goch, Llanwenog, Sir Aberteifi. Ganwyd ef yn y flwyddyn 1627; ymfudodd i'r wlad hon yn 1711, a sefydlodd yn Penypeck, gerllaw Philadelphia. Bu farw Mr. Morgan cyn gorphen y Mynegair, yn 1722, a dygwyd y gwaith yn mlaen hyd nes ei gwblhau gan Mri. Enoch Morgan, Elisha Thomas, Jenkin Jones a Benjamin Griffiths.

Dywedir fod Cymraeg mor gyffredin ar heolydd Philadelphia y pryd hwnw ag yn y Bala, neu yn Llangeitho, ond nid oes dim yn aros fel olion y sefydliadau hyny er's blynyddau lawer bellach, ond yr enwau Cymreig ar ardaloedd a stations y rheilffyrdd. Diameu fod y Cymry a sefydlodd yn Philadelphia yn yr amser hwn wedi rhoddi delw Gymreig ar wareiddiad y ddinas, ac adeiladu achos crefydd yno hefyd. Y genedl Gymreig ac enwad y Bedyddwyr oedd ar y blaen y pryd hwnw gydag achos crefydd yn y ddinas. Nid yn America mae y syniadau am ryddid gwladol a chrefyddol, sydd yn ffynu yma, wedi cychwyn. Syniadau a

ddygodd y trefedigaethwyr gyda hwynt i'r wlad ydynt. Yr oeddynt yn cael eu deall a'u dadleu yn gyhoeddus yn Lloegr a Scotland yn y bymthegfed ganrif; ac yr oedd y Cymry ddaeth i'r Dalaeth hon yn amser William Penn yn deall yr egwyddorion gystal os nad gwell, na'r rhai ddaeth yma ar eu hol; ac er mantais i'w mwynhau y daethant yma. Mae dylanwad y Cymry ar nodwedd gwareiddiad Americanaidd, a'r gwasanaeth a wnaethant yn ffurfiad ein llywodraeth (a Chymry Philadelphia yn arbenig), yn benod sydd heb ei hysgrifenu eto, ac mae yn debyg na wneir byth mwyach. Yn mysg ysgrif-lyfrau Cymdeithas Hanesiol Philadelphia y ceir y crynodeb goreu yn y wlad hon ar y mater hwn. Ond, mae a fynom ni yn yr hanes hwn yn benaf ag achos y Methodistiaid yn Philadelphia.

Gan fod y lle wedi bod yn brif gyrchfa ymfudiaeth yn mlynyddoedd cyntaf y Weriniaeth, a chan fod Cymry yn cyrchu yma, am fod William Penn yn Gymro, mae llawer wedi bod yn synu na buasai achos crefyddol Cymreig o nerth a dylanwad yn y ddinas hon. Mae llawer o Gymry wedi bod yn byw yn y ddinas o'i sylfaeniad hyd yn awr. Er fod yr eglwysi Cymreig cyntaf wedi colli eu hiaith, ac ymgymysgu a chenedloedd eraill, mae cyfarfodydd Cymreig a phregethu achlysurol wedi bod yno gan y mwyaf ar hyd y ganrif hon. Ond mae pob ymgais i sefydlu achos a golwg ar iddo lwyddo a pharhau, wedi profi yn fethiant hyd yn ddiweddar.

Dodwn ger bron y darllenydd grynodeb byr o'r gwahanol ymdrechion a wnaed yno o bryd i bryd i sefydlu eglwys yn Ninas y Cariad Brawdol. Pan oedd Dr. Rowlands yn ymweled â sefydliadau Cymreig y wlad, bu yn pregethu amryw weithiau yn Gymraeg yn Philadelphia, ac anogodd ef Mr. Owen Jones, oedd wedi dyfod yno o Lanrwst, yn nghyd a brawd arall, i arfer y ddawn oedd ynddynt i bregethu i'r Cymry, ond diffoddodd y cynyg hwnw i sefydlu achos yno ar ymadawiad Mr. Jones i Pittsburg. Rai blynyddoedd ar ol hyn, rhwng 1848 a 1850, bu ymfudiaeth hel-

aeth o Gymry i'r ddinas, a gwnaed ymgais mwy egniol nag o'r blaen i gasglu y Cymry yn nghyd a sefydlu achos yn yr iaith Gymraeg. Yn 1850 daeth llythyr oddiyno i Gymanfa y Methodistiaid a gynelid yn Harrison (Scranton), Ebrill 6 a 7. Wedi cymeryd y llythyr i ystyriaeth, pasiwyd y penderfyniadau canlynol:

(a) Fod yr eglwys Gymreig yn Philadelphia yn cael ei derbyn i undeb a'r Corff.

(b) Awdurdodwyd y Parch. Thos. T. Evans o Sir Oneida i fyned yno dros y Gymanfa i osod y ddau frawd, William Jones a David Williams, yn rheolaidd yn eu swydd fel blaenoriaid.

(c) Mai y Gymanfa Gorfforedig yn unig sydd ag awdurdod i roddi Mr. William Williams yn gyflawn yn ei swydd weinidogaethol, a rhoddwyd ar y Parch. Thos. Phillips i gyflwyno cais y cyfeillion yn Philadelphia yn achos y brawd William Williams i'r Gymanfa Gorfforedig nesaf, yr hon gynelir yn Floyd, Oneida County, N. Y., Mehefin 6, 7.

(d) Ofnid fod yr eglwys yn Philadelphia yn rhy ieuanc i gynal cyfarfod chwe' misol (Cymanfa), ond gan fod y Cyfarfod hwn yn rhoddi anogaeth i'r cyfeillion yn y ddinas i roddi eu hunain i undeb Cyfarfod Chwech Wythnosol Pottsville, am mai yno y bydd y Cyfarfod Chwe' Misol nesaf, gadawyd i'r cyfeillion yn y rhan hono o'r Dosbarth benderfynu lle ac amser y Cyfarfod hwnw. Oddiwrth yr uchod mae yn eglur fod yr achos yn Philadelphia wedi ei dderbyn i undeb a'r Gymanfa hon, a'u bod yn awyddus i gael Cymanfa yn y ddinas. Pwy oedd y brawd William Williams y cyfeirir ato, yr ydym wedi methu cael dim o'i hanes.

Mae yn briodol cofio hefyd nad oedd yno eto eglwys wedi ei sefydlu mewn trefn reolaidd, eithr cynulleidfa o Gymry yn ymgynull at eu gilydd i addoli yr Arglwydd yn yr iaith Gymraeg. Yn eu plith yr oedd gwr ieuanc o'r enw Owen Bromley, yr hwn a adwaenid yn moreu oes fel Methodist selog, dirwestwr da, dyn ieuanc llafurus ac ymroddgar i

wneyd daioni, a da genym feddwl ei fod wedi gwneyd ei oreu i lesoli ei gydgenedl yn Philadelphia yr adeg hono.

Hyd yma, modd bynag, yr oedd yr achos yn perthyn i bawb, ac heb fod yn perthyn i neb, i gadw arolygiaeth ac i gymeryd gofal o hono. Ond yn awr, yn ol y penderfyniad uchod, mae Cymanfa Pennsylvania wedi cymeryd yr achos dan ei gofal, ac yn nglyn a'r penderfyniad penodwyd brawd yn y weinidogaeth, "I ymweled a'r brodyr yno, ac i aros gyda hwynt am ychydig." Yn Nghymanfa Lehigh Gap, Ebrill, 1851, yn nglyn a rhyw faterion eraill, "Penderfynwyd fod Cyfarfod Dosbarth Pottsville yn cael ei ystyried yn awdurdod; h. y., fod yr hyn y cytunir arno i fod mewn grym yn y Dosbarth hwn, yn cynwys eglwysi Pottsville, Minersville, St. Clair a Philadelphia." Yn yr un Gymanfa, penodwyd y brawd Joshua Williams "I edrych a allasai ein gweinidogion gael trwydded i deithio yn rhad o Tamaqua i Philadelphia." Mae y penderfyniadau uchod yn dangos fod y Gymanfa "in good faith" yn awyddus i'w cynorthwyo, a gofalu am danynt hyd eithaf eu gallu, yn ol cais y brodyr eu hunain, fel achos Methodistaidd.

Yn 1852, tebygol, mae y Parch. Robert Sennar yn symud yno. Mae yn debyg mai gyda'r amcan o astudio meddyginiaeth yr aeth Mr. Sennar i'r ddinas, ac yn gymaint a'i fod yn aelod eioses o Gymanfa y Methodistiaid yn y Dalaeth, ymunodd a'r brodyr Cymreig oedd yn gangen eglwys o'r Gymanfa. Bu ef yn offerynol i ddwyn yr achos i well trefn. Ond yn yr adeg hon dygwyd yr achos Cymreig i sylw Presbytery Philadelphia. Beth fu y cymelliad i wneyd y symudiad hwn, ai ymdeimlad o'u gwendid, ac anallu y Gymanfa i'w cynorthwyo yn briodol, ynte dysgwyl gwell cymorth oddiwrth y Presbyteriaid yr oeddynt, nis gwyddom. Gallasem ddysgwyl y buasai boneddigeiddrwydd a brawdgarwch yn eu dysgu i ofyn cyngor a chaniatad y Gymanfa cyn gwneyd y symudiad. Ond nid oes dim wedi ei gofnodi fel amlygiad o hyny. Derbyniwyd hwy i undeb a'r Presbytery, a rhoddwyd galwad unfrydol i'r brawd

parchedig R. Sennar i aros gyda hwynt am flwyddyn i bregethu iddynt. Wedi cryn lawer o betrusder, ufuddhaodd i'r alwad. Yn yr amser hwn corfforwyd yr eglwys dan nawdd y Presbytery; dewiswyd dau i flaenori, ac urddwyd hwynt yn ol rheolau ac arfer y Presbyteriaid. Yn mhen y flwyddyn rhoddwyd galwad i Mr. Sennar i ymgymeryd a holl waith y weinidogaeth. Arholwyd ef gan y Presbytery, ac ordeiniwyd ef Hydref 16, 1853. Yn mis Rhagfyr canlynol cynaliwyd tea party yno o barch ac anrhydedd iddo ef fel gweinidog, yn gystal ag er mwyn casglu y Cymry at eu gilydd. Yr oedd yn bresenol ar yr achlysur 150 o Gymry.

Mae yr argraff ar ein meddwl, gan i ni ei weled a'i wrando fwy nag unwaith, fod Mr. Sennar yn ddyn o feddwl uwchraddol. Yr oedd yn ddyn wedi cael addysg, ac wedi bod yn efrydydd yn Athrofa y Bala, ac mae pawb yn gwybod fod yr addysg yno yn drwyadl, can belled ag yr oedd yn myned. Yr oedd hefyd yn bregethwr rhagorol a sylweddol. Wedi rhoddi taith trwy sefydliadau Cymreig y wlad, ymadawodd, a dychwelodd i wlad ei enedigaeth yn 1857.

Yn yr adeg hon yr oedd yr eglwys Gymreig yn Philadelphia yn parotoi at adeiladu capel. Nis gallwn wneyd yn well na rhoddi cymaint o hysbysrwydd sydd genym am helynt y capel hwnw, yn ngeiriau yr hynafgwr parchus David Jones, 4034 Baring Street:

"The Welsh Presbyterian Church of Philadelphia was built on Lombard Street, between 15th and 16th Streets, standing back from the pavement three or four feet, 34 feet in width by 75 in depth, and two stories high. The lecture room and session room on the first story, and the audience room on the second story, with stairway on both sides from the lecture room. The inducement we had to build the chucrh there was this: There were two building lots, 18 feet front by 90 deep, one of which belonged to the Rev. Albert Barnes' church, which was given by a lady for a missionary purpose, which they would give unto us if we

would build there. There was also an alley-way from the front to the sexton's house in the rear. It was built in 1857-8, and cost $7,500, and we paid on it $1,000. We were all poor, and could not get any more money, and worse than all, it was so far from the centre of the city that we found the people would not come there to worship. It was built of the finest pressed bricks, and it is to-day an ornament to the neighborhood. If it was about 12th and Arch, Market or Chestnut, it would never have been sold, for the Welsh could come to it from all parts of the city. Under the difficulties we were laboring, we could not make our payments, and the building was sold by the Sheriff to pay the debt. There is only one man living besides me, that was in connection with the cause then."

Ar ol hyn chwalodd yr eglwys, a darfu yr achos Cymraeg hyd y flwyddyn 1891. Oblegid ymfudiaeth a ddaeth yma o Ddeheudir Cymru i weithio yn y gweithfeydd alcan, cododd awydd ar feddwl llawer o Gymry i wneyd cynyg eto at sefydlu achos Cymreig yn "Ninas y Cariad Brawdol." Felly nos Sul, Medi 13, 1891, ymgynullodd 30 o Gymry mewn ystafell yn Dental Hall i gymeryd i ystyriaeth yr angenrheidrwydd o gychwyn achos Cymreig yn Philadelphia. Pasiwyd yn unfrydol, "Fod y cyfarfod hwn yn penderfynu cychwyn achos crefyddol undebol Cymreig, a'n bod yn dechreu addoli yn Dental Hall y nos Sabboth dylynol, am 7:30 P. M.

Wedi cynal y cyfarfodydd hyn yn mlaen am yn agos i chwe' mis, daeth yn deimlad cyffredinol y dylid sefydlu eglwys yno. Penderfynwyd ar amser i bleidleisio, a chafwyd fod y mwyafrif o blaid ymuno a'r T. C., a phenodwyd Sabboth, Mawrth y 6ed, 1892, fel y dydd i sefydlu yr eglwys. Y Parch. John Hammond, Bangor y pryd hwnw, fu yno yn genadwr dros y Dosbarth Deheuol. Wedi pregethu am 3 yn y prydnawn, ymunodd 35 i fod yn aelodau, a chorfforwyd hwynt yn eglwys o'r enwad Methodistiaid Calfinaidd, a dewiswyd Mr. John Ed. Jones yn Ysgrifenydd.

Wedi i Mr. Hammond bregethu i gynulleidfa luosog yn yr hwyr, ymunodd 17 yn ychwaneg i fod yn aelodau, yn gwneyd y cyfanrif yn 52. Hyd nes y byddai yr eglwys yn barod i ethol blaenoriaid, dewiswyd y cyfeillion isod i weithredu fel y canlyn:

Llywydd, John Lucas; Trysorydd, John J. Davies; Arweinydd Canu, Robert W. Williams; Organyddes, Miss Maggie Williams.

Ymddiriedolwyr, Mri. Thos. H. Griffiths, David Morgans, Morgan Jones, John Davies, John Lucas, John Ed. Jones.

Yn canlyn, mae enwau y rhai a ymunodd fel aelodau ar y cychwyniad presenol: Mr. John Lucas, Mr. a Mrs. John J. Davies, Miss Annie Davies, Mr. a Mrs. John Ed. Jones, Mrs. a Mrs. Harry P. Jones, Mr. a Mrs. Robert Williams, Mr. a Mrs. David Morgans, Mr. a Mrs. John M. Davies, Mr. a Mrs D. J. Gregory, Mr. Thos. H. Griffiths, Mr. Josiah R. Lewis, Mr. Morgan Jones, Mr. Richard F. Owens, Mr. John Davies, Mr. William Davies, Mr. William Thomas, Mr. William Griffiths, Mr. Thomas Roberts, Mr. Evan Parry, Mr. William Williams, Mr. John Evans, Mrs. S. T. Williams, Mrs. A. C. Evans, Miss Jane Williams, Miss Nellie Morris, Miss Jane Lloyd, Miss Maggie Griffiths, Miss Maggie Thomas, Miss Catherine M. Thomas, Miss Maggie Lloyd, Miss Magdalene Parry.

Tachwedd 20, 1892, aeth y Parch. H. F. Williams yno ar ran y Cyfarfod Dosbarth i gynorthwyo yr eglwys i ddewis blaenoriaid. Wedi pleidleisio dewiswyd Meistri John Lucas a Morgan Jones. Yn mis Medi, 1893, bu farw Mr. Lucas, a chafodd Mr. Jones ei daro a'r parlys yr un dydd, fel yr amddifadwyd yr eglwys ieuanc o'i dau swyddog ar unwaith. Anfonwyd cais drachefn i'r Cyfarfod Dosbarth am gymorth i ddewis blaenoriaid, ac anfonwyd y Parch. John W. Morris ac R. W. Prichard i'w cynorthwyo. Cymerodd yr etholiad hwn le Ebrill 29, 1894, a dewiswyd tri, sef Mri. John Ed. Jones. Robert Williams a Thomas Roberts, ond deallwn fod y ddau olaf wedi gadael yr eglwys. Wedi i'r Parch.

John Evans, Sandusky, N. Y., fod yn gwasanaethu yr eglwys am ddau Sabboth, mewn cyfarfod lluosog o'r gynulleidfa, Chwefror 19, 1893, rhoddwyd galwad unfrydol iddo i ddyfod yno i'w bugeilio, ac atebodd yntau yn gadarnhaol, a dechreuodd ar ei waith y Sabboth cyntaf yn Mehefin, 1893, ac o dan ei ofal ef mae yr eglwys hyd yn awr.

Sefydlwyd yr Ysgol Sabbothol yn mis Tachwedd, 1893, ac mae mwy o lewyrch arni yn awr nag a fu. Cynelir cyfarfodydd yr eglwys mewn neuadd yn y Mercantile Library, 10th Street, islaw Market, ar y Sabboth, a'r cyfarfodydd wythnosol mewn tai anedd. Ceir cynulliadau da, a theimlir gan y brodyr fod Duw yn agos iawn atynt. Mae teimlad yn eu mysg am gael capel, a symudiad ar droed i gasglu arian i'r amcan hwn.

Carem weled yr achos ar safle dda yn ninas Philadelphia, ac mewn trefn i hyny, mae yn rhaid iddo gael cartref sefydlog. Hyderwn y llwyddant i gyraedd yr amcan.

## Gweithrediadau y Cyfarfod Dosbarth.

Gyda'r braslun hwn o hanes yr eglwysi o'n blaen, cymerwn bellach sylw o weithrediadau y Cyfarfod Dosbarth fu yn gofalu am danynt ac yn llywio eu symudiadau. Yn ol adroddiad yn y "Cyfaill," cynaliwyd y cyntaf yn Minersville, Tachwedd 12, 13, 1853, a dechreuir yr adroddiad trwy ddweyd, "Gan mai hwn oedd y cyntaf yn y drefn bresenol," mae y dywediad hwn yn sicrhau mai dyma ddechreuad yr oruchwyliaeth bresenol, a hefyd yn awgrymu fod cyfres o gyfarfodydd blaenorol wedi eu cynal, ond nad oes cofnodau o honynt wedi eu cadw, neu ynte nad ydynt ar gael yn bresenol. Gallesid dysgwyl y buasai y Cyfarfod hwn yn llunio rhyw fath o gynllun pa fodd yr oedd yn myned i fyw wrtho, a dyma ei benderfyniadau:

1. Fod y Cyfarfod i gael ei gynal bob tri mis.

2. Fod yr eglwys lle byddo y Cyfarfod i ddwyn traul y gweinidogion.

3. Fod pob eglwys i ofalu anfon cenadwr, a dwyn ei draul.

4. Fod Pottsville, Minersville a St. Clair yn cael caniatad i ddewis blaenoriaid.

5. Fod y Cyfarfod Dosbarth nesaf i fod yn Danville, Chwefror, 1854. Dewiswyd Mr. Morgan Thomas, Danville, yn Llywydd, a'r brawd D. J. Morgans, Pottsville, yn Ysgrifenydd. Yr oedd trefn y moddion cyhoeddus fel y canlyn: Am 10, boreu Sabboth, mae Mr. Owen Bromley, Philadelphia, yn dechreu, a'r Parchn. Joseph Rees, Danville, a Robert Sennar, Philadelphia, yn pregethu. Am 2, mae Mr. Bromley yn rhoi araeth ar ddirwest, a Mr. Sennar yn pregethu. Am 6, mae y Parchn. Rees a Sennar yn pregethu. Dyma y cyntaf yn y gyfres hon o gyfarfodydd.

Nid ydym wedi gweled un adroddiad o Gyfarfod Danville yn Chwefror, 1854, na Chyfarfod mis Mai, ond cynaliwyd y trydydd yn Slatington, Medi 9, 10, 1854, a hwn yw y cyntaf sydd wedi ei gofnodi yn y llyfr. Yr oedd y pedwerydd yn Pottsville, ac mae adroddiad o hwn wedi ei gyhoeddi yn y "Cyfaill," gydag enw Mr. Morgans fel Ysgrifenydd. Ni nodir pwy oedd y Llywydd ar ol y Cyfarfod cyntaf, hyd Ionawr, 1857, pan y dewiswyd y Parch. John Adams yn Llywydd.

Yn 1858 etholwyd Mr. Morgans yn Ysgrifenydd drachefn, a gwasanaethodd am ddwy flynedd. Yn 1860 dewiswyd y Parch. E. J. Hughes yn ei le, a chyflawnodd wasanaeth y swydd hyd 1866. Yn 1868 dewiswyd y Parch. B. D. Davies yn Ysgrifenydd. Yn 1870, y Parch. E. C. Evans a'r Parch. W. R. Thomas yn Llywydd. Yn 1877 cawn J. R. Davies yn Llywydd; ac yn 1878, Edward V. Williams, Shenandoah. Ymddengys nad oedd y brodyr yn gaeth i'r syniad fod yn rhaid cael clerigwr i lenwi y swyddau.

Cawn fod y brodyr oedd yn arwain yn y Cyfarfod hwn wedi bod yn ffyddlawn a chydwybodol i'r gwirionedd, egwyddorion ac arferion y Cyfundeb y perthynent iddo. Y gweinidogion fu ar y blaen fel dynion meddylgar a gofalus am yr achos am dymor maith, yn ddiameu, oedd y

Parchn. E. J. Hughes ac E. F. Jones. Bu Mr. Hughes o fewn cylch y Dosbarth hwn 19 mlynedd, a Mr. Jones am 20 mlynedd—brodyr galluog, ffyddlawn a llafurus. Fel diaconiaid mae enwau David Williams, Danville; Thos. Griffiths, Pottsville; John Lucas a David Williams o'r un lle; John R. Davies, Minersville, ac eraill, yn teilyngu coffadwriaeth barchus ar gyfrif eu ffyddlondeb a'u llafur gyda'r achos am flynyddoedd lawer.

## I.—Y Cyfarfod Dosbarth.

Rheolau a Phenderfyniadau Gweithiol y Cyfarfod.

1. Yn Minersville, Tachwedd, 1853, yn y Cyfarfod cyntaf o'r gyfres hon, penderfynwyd fod y Cyfarfod i gael ei gynal bob tri mis.

2. Yn St. Clair, 1855, Penderfynwyd nad oes gan neb hawl i'r cyfarfodydd neillduol ond swyddogion yr eglwysi yn unig, a'r rhai a ddichon fod yn cynrychioli yr eglwysi fel swyddogion, ond fod gan y swyddogion hawl i roddi caniatad i'r rhai a farnont yn deilwng i fod yn bresenol.

3. Na dderbynid llythyr i sylw y Cyfarfod heb enwau pregethwyr neu flaenoriaid wrtho; ond os daw llythyr felly, fod y Cyfarfod yn nodi pwyllgor i edrych drosto a fydd yn deilwng o sylw.

4. Yn Pottsville, Hydref, 1858, Penderfynwyd os daw cais o unrhyw eglwys am gymorth i ddewis blaenoriaid i'r Cyfarfod Dosbarth, ac os rhydd y Cyfarfod ganiatad, fod yr eglwys hono i wneyd yr etholiad cyn y Cyfarfod dylynol, neu fod y caniatad yn ddirym.

5. Yr un amser penderfynwyd fod y dull o neillduo pregethwyr i waith y weinidogaeth i fod dan sylw yn y Cyfarfod nesaf, ac yn hwnw penderfynwyd fod y Dosbarth yn mabwysiadu y rheol a ddewiswyd gan y Gymanfa yn Scranton i neillduo brodyr i gyflawn waith y weinidogaeth.

6. Yn Danville, 1859, ymddyddanwyd a blaenoriaid y lle, a phenderfynwyd i hyny gymeryd lle o hyn allan yn mhob Cyfarfod.

7. Nad oes neb i fyned allan i gasglu at ddyled capelau heb ganiatad y Cyfarfod Chwarterol.

8. Yn Danielsville, Hydref, 1864, oblegid mai ychydig a ddaethai yn nghyd, barnwyd mai annoethineb oedd cynal y Cyfarfod lle nad allai y diaconiaid fod yn bresenol, ac y buasai yn fuddiol lleihau nifer y Cyfarfodydd, a'u cynal yn y lleoedd mwyaf cyfleus, a bod yn rhaid cael cynrychiolydd o leiaf o bob eglwys fyddo yn gyfleus i'r lle y cynelid y Cyfarfod, mewn trefn i fyned yn mlaen yn rheolaidd.

9. Yn Danielsville, 1865, penderfynwyd fod y Cyfarfod Dosbarth i gael ei gynal o hyn allan ar y trydydd Sabboth o'r mis.

10. Yn Slatington, Ionawr, 1868, penderfynwyd fod cyfarfod i'r pregethwyr i fod yn ein Cyfarfodydd Dosbarth, i ymdrin a rhyw fater benderfynir arno mewn Cyfarfod blaenorol, ac yn y Cyfarfod nesaf, "Y Bod o Dduw" fydd y mater dan sylw.

11. Yn St. Clair, Tachwedd, 1868, penderfynwyd fod y Cyfarfod Dosbarth i fod o hyn allan Mawrth, Mehefin, Medi a Rhagfyr.

12. Yn Danielsville, Mawrth, 1869, rhoddwyd llythyr i eglwys Danville i ymuno a'r Dosbarth Gogleddol.

13. Yn Pottsville, 1869, penderfynwyd, fel rheol sefydlog y Cyfarfod Dosbarth, fod pob eglwys nad allai anfon cynrychiolydd i anfon llythyr i bob Cyfarfod.

14. Yn St. Clair, Mawrth, 1874, yn ngwyneb cais o Shenandoah, penderfynwyd (a) Ein bod yn cynal y Cyfarfodydd y pedwerydd Sadwrn yn lle y trydydd. (b) Fod casgliad yn cael ei wneyd yn yr eglwysi yn rheolaidd at ddwyn traul y Cyfarfod. (c) Fod yr Ysgrifenydd i ddwyn gair at yr eglwysi sydd heb gyflawni, ar iddynt wneyd yn ddioed.

15. Yn Shenandoah, Mawrth, 1875, penderfynwyd fod y cynrychiolwyr Cymanfaol yn myned i ddwy Gymanfa yn olynol. Yr oedd y blynyddoedd hyn yn adeg o gyfyngder masnachol yn y wlad, ac mae i'w deimlo yn hanes y Cyfarfod Dosbarth hwn yn neillduol.

16. Yn St. Clair, 1876, penderfynwyd ein bod yn parhau i gynal y Cyfarfod Dosbarth, ac yn anfon am ryw frawd i'n cynorthwyo.

17. Yn Pottsville, Ebrill, 1877, wedi cael hanes yr achos yn y gwahanol eglwysi gan y cynrychiolwyr, ac yn ngwyneb sefyllfa isel yr achos ac amddifadrwydd o weinidogaeth, penderfynwyd (a) Ein bod yn galw sylw at fugeiliaeth a dysgyblaeth eglwysig, ac y dylid gwneyd pob ymdrech i'w sicrhau hyd eithaf ein gallu, a chael pregethu yn Gymraeg a Saesneg. (b) Y ddyledswydd o gyfranu at achos crefydd. (c) Darllen y bregeth ar haelioni yn y "Cyfaill."

18. Ein bod yn cynal y Cyfarfod Dosbarth bob chwe' mis, tua mis o flaen y Gymanfa. Ond yn y Cyfarfod dylynol, yn Minersville, cymerwyd adystyriaeth o'r mater, a phenderfynwyd fod y Cyfarfod i gael ei gynal bob tri mis, mor agos ag y gellir, a dymunid i'r eglwysi anfon cynrychiolwyr i'r Cyfarfod Dosbarth.

19. Yn Shenandoah, Rhagfyr, 1877, cafwyd ymdriniaeth faith ar y modd goreu i ddwyn y Cyfarfod Dosbarth yn mlaen yn effeithiol, a phenderfynwyd (a) Ein bod yn anog yr eglwysi i anfon cynrychiolwyr iddynt. (b) Ein bod yn anog yr aelodau perthynol i'r eglwys lle y cynelir y Cyfarfod Dosbarth i roddi eu presenoldeb yn y cyfarfodydd neillduol. Da iawn fyddai genym fel swyddogion weled pob aelod trwy y Dosbarth yn cymeryd dyddordeb yn y cyfarfodydd hyn. (c) Fod y brodyr John Lucas, J. R. Davies a'r Parch. E. C. Evans i fod yn bwyllgor i dynu cynllun i ddwyn y cyfarfodydd hyn yn mlaen yn fwy effeithiol. Wedi i'r pwyllgor wneyd eu hadroddiad cynygiwyd gwelliantau ar y cynllun yn y pethau canlynol: (a) Fod pob eglwys i wneyd casgliad rheolaidd at y Cyfarfod, a bod yr holl gasgliad i fyned i'r drysorfa am eleni. (b) Fod cynrychiolwyr yr eglwysi i gael eu treuliau. (c) Na thelir i'r pregethwyr a ddeuai i'r Cyfarfod ond eu treuliau. (d) Fod yr Ysgrifenydd i anfon y penderfyniadau hyn i'r eglwysi i'w hystyried, ac i anfon eu llais arnynt i'r Ysgrifenydd.

20. Yn St. Clair, 1879, bu y mater o barhad y Cyfarfod Dosbarth dan sylw unwaith eto, a phenderfynwyd iddo barhau, a bod y Parch. E. J. Hughes i ymweled a'r eglwysi i'w cymell i ffyddlondeb i gynal y Cyfarfod Dosbarth.

Blynyddoedd o gyfyngder oedd y rhai hyn ar achos y Methodistiaid yn Schuylkill County, a gwnaed ymdrech mawr i ddal pethau yn mlaen gan yr ychydig frodyr oedd yn arweinwyr yr achos ar y pryd.

21. Slatington, Gorphenaf, 1882, penderfynwyd fod swyddogion eglwysig nad ydynt aelodau o'r Cyfarfod Dosbarth i gael eu cyflwyno i sylw y Gymanfa.

22. Y priodoldeb i eglwys Bangor ymuno a'r Dosbarth Deheuol, a'r Ysgrifenydd i ofalu am ansawdd eglwys Bangor.

23. Fod sefyllfa a chyflwr y Dosbarth Deheuol i gael ei ddwyn ger bron y Gymanfa a'r Bwrdd Cenadol, i edrych arno yn yr un wedd ag yr edrychir ar wledydd paganaidd.

24. Yn Slatington, Mawrth, 1888, derbyniwyd eglwys Bangor trwy lythyr cyflwyniad o'r Dosbarth Gogleddol, i undeb a'r Dosbarth hwn gyda llawenydd, am fod y symudiad yn gaffaeliad gwerthfawr i'r Dosbarth.

25. Yr un pryd, anogwyd Slatington a Danielsville i symud yn mlaen i sicrhau gwasanaeth gweinidog.

26. Yn Danielsville, Medi, 1888, anogwyd yr eglwys hon i ail ystyried yr angenrheidrwydd iddynt ddewis swyddogion i gynorthwyo y brawd sydd yno eisoes.

27. Yr un pryd, penderfynwyd cael rhestr o Reolau i'r Cyfarfod Dosbarth, a phenodwyd y Parchn. R. E. Williams, H. F. Williams, E. W. Jones a Mr. Ed. Foulkes yn bwyllgor i ffurfio rheolau i'w cynyg i'r Cyfarfod nesaf. Tybiwn na wnaeth y pwyllgor y gwaith a ymddiriedwyd iddo, oblegid mewn Cyfarfod dylynol, yn Wind Gap, mae y brawd Griffith Thomas yn cael ei benodi gyda'r Ysgrifenydd a Mr. Foulkes at y gorchwyl. Nid oes dim i ddangos eu bod wedi gwneyd adroddiad, na gair o son am reolau yn mhellach.

28. Yn Bangor, Medi, 1889, penderfynwyd o hyn allan fod y Cyfarfod Dosbarth i gael ei gynal yn misoedd Chwefror ac Awst.

29. Yn Wind Gap, 1890, penderfynwyd fod pregeth ar fater neillduol yn cael ei thraddodi brydnawn y Cyfarfod Dosbarth, a chyfeillach eglwysig ar ol, i gael ymdriniaeth ychwanegol ar y mater, ac eglwys y lle i ddewis y mater.

30. Yn Danielsville, 1890, penderfynwyd fod i bob eglwys anfon ei barn ysgrifenedig i genadwr y Gymanfa ar fater yr achosion Seisnig.

31. Yn Slatington, Chwefror, 1891, Ein bod yn ancg yr eglwysi i wneyd mwy o sylw o'r pregethau a wrandewir ganddynt, yn y cyfeillachau eglwysig.

32. Yn Wind Gap, Ebrill, 1892, derbyniwyd eglwys Philadelphia i undeb a'r Dosbarth. Amlygwyd llawenydd fod rhagolygon yr eglwys ieuanc mor addawol.

33. Yn Bangor, Awst, 1892, penderfynwyd fod dwy ran o dair yn safon i ddewis blaenoriaid.

34. Yn West Bangor, Ebrill, 1894, "Pasiwyd yn unfrydol ein bod fel Cyfarfod Dosbarth o hyn allan yn mabwysiadu trefn y Cyfundeb yn Nghymru i ddewis blaenoriaid, sef mwyafrif yr aelodau fyddo yn bresenol ar y pryd."

35. Yr un pryd, penderfynwyd y dysgwyiir barn yr holl eglwysi yn y Cyfarfod Dosbarth ar y priodoldeb o gynal tri Chyfarfod Dosbarth yn y flwyddyn yn lle dau. Pasiodd yr eglwysi yn ffafriol i'r cyfnewidiad.

36. Hefyd, penderfynwyd fod yr eglwysi yn ymuno a'u gilydd i gael eu hystadegau a'u hadroddiad blynyddol yn un llyfr, ac nid ar wahan fel yn bresenol.

37. Penderfynwyd hefyd ein bod yn ffafriol i symud yn mlaen i gael hanes Methodistiaeth o fewn cylch y Gymanfa. Cyflwynwyd i sylw hefyd gynllun pa fodd i'w gasglu.

38. Yn Bangor, 1894, cais at y Gymanfa am gael yr arholiad Cymanfaol yn ysgrifenedig.

39. Yn Wind Gap, penderfynwyd fod y nifer angenrheidiol o ymrwymiadau dirwestol yn cael eu hargraffu at wasanaeth yr achos dirwestol yn y Dosbarth.

40. Yr un pryd, fod cais yn cael ei anfon at y Gymanfa am newid ei hamser o'r trydydd i'r pedwerydd Sabboth.

41. Yn Philadelphia, Rhagfyr, 1895, daeth cais o eglwys Bangor, yn gofyn: "Beth yw safle blaenor wedi iddo symud o'r eglwys lle y dewiswyd ef, i eglwys arall?" Barnwyd yn ddoeth ei gyflwyno i farn yr eglwysi, ac y dysgwylid adroddiad yn y Cyfarfod dylynol. Ond nid oedd yr eglwysi yn addfed i ateb y gofyniad, a chyflwynwyd ef i sylw y Gymanfa. Dyma ateb y Gymanfa, "Nad yw blaenor, wedi iddo ymadael o'r eglwys y dewiswyd ef ynddi, i'w ystyried yn flaenor nes yr etholir ef yn rheolaidd mewn eglwys arall."

## II.—Penderfyniadau y Cyfarfod Dosbarth Gyda Golwg ar y Gymanfa.

1. Yn Pottsville, 1854, penderfynwyd anfon llythyr at eglwys Scranton i ofyn paham na buasent yn cynorthwyo i gyfranu at y Gymanfa ddiweddaf, a dymuno arnynt i wneyd at y ddyled sydd yn aros.

2. Yn Pottsville, Chwefror, 1856, penderfynwyd lle ac amser y Gymanfa i fod yn Pottsville ddiwedd Mai neu ddechreu Mehefin. Ein bod yn anfon galwad i'r Parch. W. Roberts, New York, a'r Parch. Robert Williams, Ohio, i fod yn bresenol. Dr. Roberts i draddoli ar Natur Eglwys, a Mr. Williams i draddodi y Cyngor ar achlysur ordeinio y Parch. E. J. Hughes.

3. Yn St. Clair, Gorphenaf, 1856, penderfynwyd cynyg i sylw y Gymanfa ein dymuniad i gael dwy Gymanfa yn lle un, a bod y Gymanfa i gael ei chynal mewn un lle, a'r eglwysi i gydweithredu at ei chynal, fel o'r blaen.

4. Yr un pryd, penderfynwyd fod yr eglwys lle byddo y Gymanfa i anfon am weinidogion at ei chynal; ond os bydd ordeinio, fod yr eglwys hono yn ddarostyngedig i anfon am y gweinidogion a benodir gan y Cyfarfod Dosbarth i'r gwaith hwn.

5. Yn Danville, Hydref, 1856, penderfynwyd fod Ysgrif-

enydd y Cyfarfod Dosbarth yn anfon llythyr at Gyfarfod Dosbarth Carbondale, er mwyn cael ymddyddan yn y Gymanfa nesaf yn Danville yn nghylch eu penderfyniadau ar benderfyniadau y Gymanfa.

6. Yn Minersville, Ionawr, 1857, penderfynwyd fod y Gymanfa nesaf i fod yn Danville, yr amser a benodir gan yr eglwys, a'n bod yn anfon gwahoddiad i Dr. Rowlands, Scranton, a Dr. Roberts, New York, i ddyfod i gynorthwyo ei chynal. Rowlands i draddodi ar Natur Eglwys, a Roberts i draddodi y Cyngor ar ordeiniad y brawd Evan F. Jones, Slatington.

7. Yn Minersville, Medi, 1859, penderfynwyd anfon cais at y Gymanfa am gael trefn wahanol i'w chynal, oblegid fod y byd a'r eglwysi yn galw am fwy o bregethu.

8. Yr un adeg, penderfynwyd ar ol ysytriaeth bwyllog ac ystyriol, y buasai yn fanteisiol i lwyddiant achos Crist yn ein mysg fel Cyfundeb i newid ein henw o fod yn Fethodistiaid i fod yn Bresbyteriaid, a'n bod yn anfon cais at y Gymanfa am hyny.

9. Yr un pryd, penderfynwyd anfon cais at y Gymanfa am reol i adeiladu ac adgyweirio capelau, rhag i eglwysi gweiniaid dynu baich arnynt eu hunain a syrthio i brofedigaeth.

10. Yn Slatington, Mai, 1862, cynygiwyd i sylw y Gymanfa, (a) Fod angen am drefnu pleidleisiau y Gymanfa yn fwy cyfartal. (b) Fod eisieu diwygio y dull o ddewis swyddogion y Gymanfa.

11. Yn St. Clair, Gorphenaf, 1862, ar y mater hwn, awgrymwyd y priodoldeb o neillduo gweinidog a blaenor o bob Dosbarth, yn nghyd a Llywydd y Gymanfa, yn bwyllgor gyda golwg ar ddewisiad materion i ddyfod dan sylw y Gymanfa. Ond bu sylw drachefn ar y mater yn Danville; ac er mwyn terfynu pob dadl a allai gyfodi yn y Gymanfa, penderfynwyd fod pob Dosbarth yn eu Cyfarfod nesaf i'r Gymanfa, yn nodi gweinidog a blaenor i'w cynrychioli, a'r rhai hyny yn nghyd a Llywydd y Gymanfa i gyfansoddi

pwyllgor i ystyried y materion a ddygid i sylw y Gymanfa, a'u barn i gael ei ystyried yn benderfyniad y Gymanfa.

12. Mae y Cyfarfod hwn yn penodi y Parchn. Ebenezer T. Jones ac Edward J. Hughes i'w cynyg i sylw y Gymanfa, y cyntaf fel Llywydd, a'r ail fel Ysgrifenydd.

13. Yn Pottsville, Ionawr, 1863, penderfynwyd fod y Gymanfa nesaf i gael ei chynal yn y lle hwn, a'n bod yn rhoddi gwahoddiad i'r Parchn. Howell Powell, Cincinnati, a Dr. Rowlands, Rome, i ddod iddi, a bod yr holl eglwysi i gynorthwyo eglwys fechan Pottsville, a'r Ysgrifenydd i anfon llythyr caredig at Gyfarfod y Dosbarth Gogleddol, ar iddynt fod yn ffyddlawn i ddwyn y draul.

14. Yn Slate Hill, 1863, gwnaed sylw ar gais o'r Dosbarth Gogleddol i leihau nifer y Cymanfaoedd, a dymuniad am roddi y mater i lais yr eglwysi. Penderfynwyd peidio, am fod yr eglwysi yn cael llawn bychan o bregethu i foddio eu teimlad yn awr, heblaw fod penderfyniad y Gymanfa ddiweddaf yn erbyn eu lleihad.

15. Yn Shamokin, Awst, 1867, penderfynwyd er mwyn unffurfiaeth yn yr eglwysi o fewn cylch y Gymanfa, ein bod yn dymuno ar y Gymanfa i fabwysiadu rheol sefydlog i ethol swyddogion eglwysig, ac a ydyw yn briodol i dderbyn pleidlais rhai yn absenol amser yr etholiad?

16. Yn Wind Gap, Ebrill, 1892, penderfynwyd cyflwyno mater i sylw y Gymanfa, "Y priodoldeb o ymuno a'r Presbyteriaid mewn addysg i'n pregethwyr ieuainc."

### III.—Gyda Golwg ar Eglwysi.

1. Yn Pottsville, 1854, rhoddwyd anogaeth i bob eglwys i gynal cyfarfod swyddogion unwaith bob mis.

2. Yn St. Clair, 1855, penderfnwyd, yn mhob man y byddo Cyfarfod Dosbarth yn cael ei gynal o hyn allan fod dau frawd yn cael eu nodi i edrych dros gyfrifon yr eglwysi, a ydynt yn rheolaidd ai peidio, a bod cyfrifon y gwahanol eglwysi, a phethau eraill cysylltiedig a sefyllfa yr achos, yn cael eu dwyn i sylw unwaith yn y flwyddyn.

Penodwyd y Parch. E. F. Jones i ffurfio cynllun, a thafleni priodol i'w llenwi gan yr eglwysi, a'r cynllun i ddyfod ger bron y Cyfarfod nesaf.

3. Y dylai pob eglwys fod yn unffurf yn eu dull o gadw cyfrifon; a nodwyd y Parch. D. J. Morgan i ffurfio cynllun i'r amcan hwn. Yn nglyn a hyny, hysbyswyd y byddai y cynlluniau uchod yn dyfod dan sylw y Cyfarfod dylynol yn Danville.

4. Yn Danville, Hydref, 1856, penderfynwyd fod cyfrifon yn cael eu gwneyd yn mhob eglwys unwaith yn y flwyddyn o leiaf, a bod y cyfrifon yn cael eu cyflwyno i sylw y Gymanfa, a bod y Cyfarfod Dosbarth yn edrych i ansawdd cyfrifon pob eglwys yn mhob lle y cynelid y Cyfarfod.

5. Yn Shenandoah, Mawrth, 1875, penderfynwyd fod pwyllgor o dri yn cael eu nodi i edrych dros sefyllfa arianol eglwysi y Dosbarth.

6. Yn St. Clair, Chwefror, 1876, penderfynwyd ein bod yn anog yr eglwysi i arfer yr iaith Saesneg lle y bernir fod hyny yn angenrheidiol.

7. Yn Pottsville, 1877, penderfynwyd fod yr Ysgrifenydd i ohebu â'r Parch. Thos. C. Davies mewn perthynas i sefyllfa eglwysi y Dosbarth, ac â Doctor Roberts mewn perthynas i reolau Bwrdd Addysg y Presbyteriaid, a'n cysylltiad ni a hwynt.

8. Yn St. Clair, Gorphenaf, 1879, y priodoldeb i eglwys St. Clair ymdoddi gyda'r Annibynwyr, os oedd hyny yn rheolaidd, ond gadawyd y mater ar y bwrdd hyd y Cyfarfod dylynol, ac yn hwnw penderfynwyd yn nacaol.

9. Yn Shenandoah, Ionawr, 1880, gwnaed cais o'r Cyfarfod Dosbarth hwn ar i eglwysi West Bangor a dinas New York, a'u gweinidogion, i ofalu am eglwysi Shenandoah, Pottsville, Minersville a St. Clair.

10. Yn Minersville, Awst, 1881, penderfynwyd fod y Cyfarfod hwn yn cymeradwyo ymddygiad y brodyr yn Shenandoah yn gofalu am eiddo arianol y Cyfundeb yn y lle, a hefyd ein bod yn eu hanog i fod a'u llygaid yn agored ar

bob mantais er agor y capel, pe cynelid moddion ond unwaith y Sabboth ynddo.

11. Yn Slatington, Gorphenaf, 1882, daeth cais o'r lle hwn am ganiatad i adeiladu capel newydd. Penderfynwyd fod y cais yn cael ei ganiatau, a chyngorwyd ar iddynt fod yn bwyllog, unol ac ymdrechgar i gasglu cymaint ag a ellir o arian i law cyn dechreu, yn nghyd a gweithio, er arbed traul.

Nid ydym yn gweled fod rhagor o farnedigaethau wedi eu datgan gan y Cyfarfod gyda golwg ar y mater hwn.

## IV.—Rheolau Gyda Golwg ar Bregethwyr.

Nid yw yn ymddangos fod y Cyfarfod hwn wedi gwneyd fawr gyda golwg ar lunio rheolau gydg golwg ar y mater uchod. Dodwn ger bron yr ychydig sydd ar gael.

1. Yn St. Clair, 1855, penderfynwyd, wedi i frawd gael ei dderbyn i sylw y Cyfarfod Dosbarth, ac yn aelod rheolaidd o hono, nad oes gan yr eglwysi ddim ail sylw i'w wneyd arno, ond mai y Cyfarfod Dosbarth sydd i'w godi i sylw y Gymanfa, pan y gwelo hyny yn angenrheidiol.

2. Yn Slatington, 1861, daeth y mater o godi pregethwyr i gyflawn waith y weinidogaeth i sylw, a sylwid y dylid cael meithach a manylach prawf ar ymgeiswyr am swydd mor bwysig, a byddai yn dda pe gosodid rhyw brawf-reol (standard) i'r ymgeiswyr i ymgyraedd ati.

3. Yn Danielsville, 1890, penderfynwyd, pan gyflwynir brawd i sylw fel ymgeisydd am y weinidogaeth, fod pleidlais yr eglwys ar ei achos yn ddirgelaidd.

4. Pan gyflwynir brawd gan eglwys i'r Cyfarfod Dosbarth ei fod i bregethu trwy holl eglwysi y Dosbarth am dymor ei brawf, ac yna pleidleisiau yr eglwysi arno i'w dwyn i'r Cyfarfod Dosbarth.

## V.—Gyda Golwg ar Aelodau Eglwysig.

1. Yn Slatington, 1854, penderfynwyd, pan ymadawo aelod o eglwys heb lythyr, os na fydd yr amser yn rhy faith, fod yr eglwys at ei doethineb pa un a ystyrid y cyfryw un yn aelod ai peidio.

2. Nad oes gan unrhyw aelod a ymataliai o gymundeb, hawl i nesau at fwrdd yr Arglwydd heb ymddyddan ag ef.

3. Yn St. Clair. Mai, 1859, bu sylw ar y mater, Pa un a dderbynid gwraig tafarnwr yn aelod ai peidio. Penderfynwyd cyflwyno y mater i sylw y Gymanfa.

4. Yn Slatington, Gorphenaf, 1861, gwnaed ymofyniad, Ar ba dir, yn ei gysylltiad a'n henwad ni, y gellid ystyried personau a ymadawsant a'n heglwysi trwy lythyr i eglwysi lle nad oes eglwys i'r enwad yn y lle, ac oblegid hyny maent yn ymuno ag enwadau eraill, ac ar yr un pryd yn ystyried eu hunain yn Fethodistiaid. Cyflwynwyd y mater i sylw y Gymanfa. Ond yn y Cyfarfod dylynol, yn Slate Hill, gwnaed sylw fel y canlyn: "Y dylai y cyfryw a ddewisant barhau yn Fethodistiaid, er eu gorfodi gan amgylchiadau i ymuno yn achlysurol ag enwadau eraill, gyfodi eu llythyrau i'r perwyl hyny, fel y gellid eu hystyried yn rheolaidd y peth y dymunent fod, gan fod un pan yn cyfodi ei lythyr yn diaelodi ei hun o'r eglwys sydd yn ei roddi. Sylwyd hefyd, pan fyddai i berson fyned mor bell oddiwrth yr eglwys y perthynai iddi yn wreiddiol, y byddai yn ddoeth iddo gyfodi ei lythyr, a'i gyflwyno i'r eglwys agosaf at ei breswylfod. Dyma gymaint o drafodaeth ydym wedi gael ar y mater hwn; ac yn sicr, mae penderfyniadau y Cyfarfod yn synwyrol a rhesymol. Dylai pob aelod eglwysig ofalu am ei gred-lythyr pan yn ymadael o'r naill ardal i'r llall. Mae esgeulusdra gyda golwg ar lythyrau aelodaeth yn cyfodi oddiar anystyriaeth o natur ein rhwymedigaethau, a phwysigrwydd ein proffes o Fab Duw. Mae hefyd yn awgrymu yr ysbryd gwrthgiliedig sydd yn meddianu llawer calon pan yn gollwng ei hawl i aelodaeth redeg allan oblegid difaterwch.

## VI.—Gyda Golwg ar Swyddogion Eglwysig.

1. Yn Pottsville, 1854, penderfynwyd, nad oes gan un eglwys hawl i dderbyn swydd yn ol gan swyddog, heb ganiatad y Cyfarfod Dosbarth.

2. Fod pob swyddog a ymadawo o eglwys dros ysbaid o amser i gael ei alw drachefn cyn gweinyddu yn ei swydd fel diacon.

3. Yn Slatington, Gorphenaf, 1857, derbyniwyd llythyr o eglwys St. Clair yn gofyn eglurhad, Pa fodd i ymddwyn at flaenoriaid wedi rhoi eu swydd i fyny? Penderfynwyd nad yw swyddogion a roddo eu swydd i fyny i gael eu hadferyd i'w lle heb sylw ar eu hachos yn y Cyfarfod Dosbarth.

4. Yn West Bangor, Ebrill, 1865, gwnaed sylw ar sefyllfa blaenor wedi symud o'r naill eglwys i'r llall; os dewisir ef gan yr olaf, y dylid er mwyn osgoi rhai pethau anghysurus a all ddygwydd yn gysylltiedig a'r amgylchiad, ei gyflwyno i sylw y Cyfarfod Dosbarth i roddi ffurf o dderbyniad iddo.

5. Yn Minersville, Awst, 1881, bu sylw ar y mater fod swyddogion mewn eglwysi, nad ydynt yn aelodau o'r Cyfarfod Dosbarth. Gellid meddwl mai mater y teimlid llawer o anhawsder gyda golwg arno oedd dewis swyddogion yn yr eglwysi. Gwna y ceisiadau am gymorth i ddewis swyddogion benod faith a dyddorol mewn rhyw ystyr, ond mae nifer y rhai a ddewiswyd yn ychydig mewn cydmariaeth. O 1859 i 1865 mae naill ai y Parch. E. F. Jones neu y Parch. E. J. Hughes yn cael eu hanfon ar y neges hon o bob Cyfarfod Dosbarth bron, a Mr. Jones yn ddiweddarach na hyny—hyd nes iddo ymadael a'r Dosbarth.

Mae y ffaith hon (a) Naill ai yn awgrymu prinder o ddynion cymwys yn yr eglwysi—neb yn sefyll o'i ysgwyddau i fyny yn uwch nag eraill, neb a rhagluniaeth yn cyfeirio a'i bys ato, "Hwn yw y dyn, eneiniwch ef i'r Arglwydd," neu (b) Fod gormod o ddynion hunanol, anianol, yn awyddus am y swydd, fel nad yw yn bosibl dewis neb ar adegau. Prin yr ydym yn meddwl fod y rheol a fabwysiadwyd ddiweddaf gan y Dosbarth hwn yr oreu ar les yr achos mewn eglwysi gweiniaid.

Yr oedd eglwys Slatington yn arfer gwneyd cais am gymorth, a'r cenadau yn dychwelyd yn ol yn aflwyddianus.

Gwnaeth gais felly i Gyfarfod Minersville, 1871, a chaniatawyd iddynt gael y cais, "ar ol mis o weddio am i'r Arglwydd eu cyfarwyddo yn y gwaith"—y Parch. W. R. Thomas a W. P. Jones i fyned yno i'w cynorthwyo. Gwnaed yr un modd â Minersville yn 1873. Anfonwyd y cais am gymorth i Shamokin, "A chaniatawyd y cais ar ol mis o weddio," ac awdurdodwyd R. V. Griffiths a John Lucas i fyned yno i'w cynorthwyo. Mae yn argoel ddifrifol pan mae eglwysi yn myned i edrych yn ysgafn a chellweirus gyda golwg ar swyddau cysegredig o ordeiniad Crist fel Pen yr eglwys.

## VII.—Gweithrediadau y Dosbarth Gyda Golwg ar Bregethwyr a Gweinidogion.

### 1. Parch. Evan F. Jones.

Yn y Cyfarfod a gynaliwyd yn Slatington, Medi 1854, rhoddwyd caniatad i Mr. Jones i ddechreu pregethu yn ei eglwys gartref. Yn Slate Hill, 1855, penderfynwyd "Ei fod i gael ei gynyg i'r Gymanfa nesaf er ei dderbyn yn bregethwr rheolaidd i'r Cyfundeb Methodistaidd. Yn Danville, Hydref, 1856, yn ngwyneb teimlad o angen am ragor o weinidogion, gwnaed slw o'r cais o eglwys Slatington am ei ordeinio, a phenderfynwyd cyflwyno ei achos i'r eglwysi i gymeryd pleidlais arno, a daeth llais yr eglwysi yn unfrydol am ei ordeinio, i Gyfarfod Minersville, Ionawr, 1857, a chyflwynwyd ef i sylw Cymanfa yr haf, er gwneyd darpariaeth i'w ordeinio yn Nghymanfa Danville, Hydref, 1857. Bu Mr. Jones yn llafurio yn ffyddlon a chymeradwy o fewn cylch y Dosbarth hwn hyd Rhagfyr, 1874, pan y rhoddwyd llythyr iddo i ymadael i Ddosbarth Pittsburgh.

### 2. Mr. William E. Jones.

Yn Nghyfarfod Slatington, Medi, 1854, rhoddwyd llythyr cyflwyniad i Mr. Jones i Ddosbarth Dwyreinbarth New York. Yr oedd ef wedi ei dderbyn yn bregethwr i'r Gymanfa a gynelid yn Slatington, Mehefin, 1854.

3. Parch. Daniel J. Morgans, Pottsville.

Yn Nghyfarfod Slatington, Medi, 1854, rhoddwyd caniatad iddo ddechreu pregethu yn ei eglwys gartref, a derbyniwyd ef i undeb a'r Dosbarth yn Nghyfarfod Slate Hill yr un flwyddyn. Yn y Cyfarfod a gynaliwyd yn Minersville, Awst, 1855, penderfynwyd ei gyflwyno i sylw y Gymanfa, er ei dderbyn yn bregethwr rheolaidd o Gyfundeb y Methodistiaid. Ordeiniwyd Mr. Morgans yn Nghymanfa Pittston, 1860, ond bu farw ddiwedd y flwyddyn hon, a gwnaed sylw coffadwriaethol am dano yn Nghyfarfod Danville, Ionawr, 1861.

4. Mr. Hugh Owen, Tamaqua.

Yn Nghyfarfod Slatington, Medi, 1854, penderfynwyd fod Mr. Owen i gyflwyno ei lythyr i eglwys Pottsville, Minersville, neu St. Clair, ac i lafurio yn y tair eglwys yma, a'r eglwys y byddo yn aelod o honi i gyflwyno ei fater i'r Cyfarfod Dosbarth pan y gwel hyny yn angenrheidiol. Ond mae yn debyg na bu symudiad pellach ar y brawd hwn, ac nid oes son am dano mwyach ar y cofnodau.

5. Parch. Thomas James, Pottsville.

Yn y Cyfarfod uchod, penderfynwyd i'r Ysgrifenydd anfon llythyr at Gyfarfod Dosbarth Carbondale i ofyn iddynt gymell Mr. James i roddi taith trwy y Dosbarth er mantais i'r eglwysi farnu am ei gymwysderau i gael ei ordeinio i gyflawn waith y weinidogaeth. Yn Nghyfarfod St. Clair, 1855, penderfynwyd fod achos y brawd yn cael ei gyflwyno i'r blaenoriaid; ac maent hwythau yn penderfynu ei gyflwyno i sylw y Gymanfa nesaf er ei ordeinio, yr hyn a gymerodd le yn y Dosbarth Dwyreiniol, 1855.

6. Mr. Griffith Jones, Slate Hill.

Yn Nghyfarfod Dosbarth Minersville, Awst, 1855, derbyniwyd y brawd hwn yn aelod rheolaidd o'r Cyfarfod Dosbarth fel pregethwr. Dyma yr unig sylw a wneir am dano

yntau. Pwy oedd, o ba le y daeth, ac i ba le yr aeth, yr ydym wedi ein gadael yn y tywyllwch.

7. Y Parch. Edward J. Hughes, Slate Hill.

Yn Peach Bottom yr ydym yn cael hanes am Mr. Hughes i ddechreu. Ymddengys ei fod wedi dechreu pregethu gyda'r Presbyteriaid, ac iddo symud i'r lle hwn at y Cymry, a derbyniwyd ef i undeb cyfeillgarol a'r Gymanfa yn Minersville, 1854, hyd nes sefydlu yr achos yn Peach Bottom, ac iddo yntau gael ei lythyr oddiwrth y Presbyteriaid. Mae Cyfarfod Minersville, Awst, 1855, yn ei gyflwyno i sylw y Gymanfa i'w ordeinio, yr hyn a gymerodd le yn Pottsville, Gorphenaf, 1856, a threuliodd Mr. Hughes 19 o flynyddoedd yn llafurus a chymeradwy o fewn y Dosbarth hwn. Gwnaed sylw coffadwriaethol am dano yn Danielsville, Awst, 1885.

8. Parch. Benjamin T. Jones, Danville.

Yn Pottsville, Chwefror, 1856, bu sylw ar ordeiniad Mr. Jones, ond barnwyd fod yn rhaid cael unllais yr eglwysi cyn y gellid gwneyd hyny, a chyfarwyddwyd yr Ysgrifenydd i anfon at eglwys Slate Hill a Dosbarth Carbondale i anfon eu llais i'r Cyfarfod nesaf; ond yn hwnw penderfynwyd gohirio y mater nes cael ystyriaeth bellach.

9. Parch. John Adams, St. Clair.

Yr oedd achos Mr. Adams wedi ei droi yn ol o'r Gymanfa i'r Cyfarfod Dosbarth; ac yn Minersville, Chwefror, 1858, gwnaed sylw o'r cais oddiwrth yr eglwys hon am ei ordeinio, a phenderfynwyd ymgyngori a'r gweinidogion, ac anfon llythyr at Dr. Rowlands i ofyn ei farn ef ar hyn. Yn y Cyfarfod dylynol, yn Slatington, neillduwyd pwyllgor o weinidogion a blaenoriaid i ystyried y mater; a phenderfynwyd cyflwyno ei achos i'r eglwysi, a bod y bleidlais i'w chyfrif yn ol cyfanswm, ac nid yn ol rhifedi yr eglwysi. Daeth y bleidlais yn ffafriol, a chyflwynwyd ef i'r Gymanfa.

10. Parch. M. A. Ellis, Slate Hill.

Cyflwynwyd ef i sylw fel ymgeisydd am y weinidogaeth yn St. Clair, Mai, 1859, ac anfonwyd y Parchn. E. F. Jones a Thomas Williams, Slatington, yno i'w arholi, ac i dderbyn llais yr eglwys ar ei fater. Yn Danville gwnaeth y pwyllgor adroddiad ffafriol, a chaniataodd y Cyfarfod iddo arfer ei ddawn yn yr eglwys gartref. Yn Pottsville, 1860, derbyniwyd ef i undeb ac o dan nawdd y Dosbarth fel ymgeisydd am y weinidogaeth. Yn Minersville, Rhagfyr, 1861, cyflwynwyd ef i'w dderbyn yn aelod o'r Gymanfa.

11. Mr. Daniel Jones, Slateford.

Yn Pottsville, Ionawr, 1860, anogwyd yr Ysgrifenydd i anfon llythyr at Mr. Jones er ei gymell i ddyfod i'r Cyfarfod nesaf yn Slatington. Yno, drachefn, anogwyd yr Ysgrifenydd i anfon llythyr ato, er ei anog i roddi cam yn mlaen gyda'r achos. Yn Slate Hill, Medi, 1861, wedi ystyriaeth ddifrifol ar ei achos, derbyniwyd ef i undeb a'r Dosbarth.

12. Parch. Ebenezer T. Jones, Baltimore.

Yn Danielsville, 1860, cyflwynwyd ef trwy lythyr oddiwrth eglwys Gymreig Baltimore, i undeb a'r Dosbarth hwn, a rhoddwyd caniatad iddo wasanaethu yr eglwys Gymreig yno dan yr amgylchiadau presenol, os byddai hyny yn unol a'i feddwl.

13. Mr. David James, Baltimore.

Yr un amser cyflwynwyd y brawd hwn i sylw trwy lythyr oddiwrth eglwys Gymreig Baltimore, fel ymgeisydd am y weinidogaeth, ac wedi ei holi am ei brofiad a'i gymellion, a'i egwyddorion, caniatawyd iddo lafurio fel pregethwr yn y lle, o fewn cylch y Dosbarth. Yn St. Clair, 1864, mae Mr. James yn rhoddi ei achos i sylw y Cyfarfod, mewn cysylltiad â chynygiad oddiwrth y Saeson am addysg. An-

ogwyd ef i ymbwyllo, ac ymaflyd yn yr adranau hyny mewn dysg oedd yn fwyaf cydweddol a'i oedran a'i amgylchiadau, gan fod y Dosbarth yn analluog i'w gynorthwyo ar hyn o bryd. Mewn Cyfarfod a gynaliwyd yn Minersville, Gorphenaf, 1868, ymddengys iddo wneyd cais am lythyr, ac i'r Cyfarfod wrthod caniatau y llythyr hyd nes iddo ymddangos ger bron i ateb y cyhuddiadau am gyfeiliorni mewn barn, a difriaeth ar y Cyfundeb, a wnaed ganddo mewn Cymanfa yn Slatington. Nid ymddengys ei fod ef wedi ymddangos ger bron y Cyfarfod.

14. Mr. John Morgan, Minersville.

Yn Danielsville, 1860, gwnaed sylw ar y cais o eglwys Minersville gyda golwg ar y brawd hwn, iddo gael caniatad i ddechreu pregethu, ac anfonwyd y Parch. E. J. Hughes a Mr. John Lucas yno i'w arholi. Wedi i'r pwyllgor wneyd eu hadroddiad, caniatawyd iddo gyngori ar brawf yn ei ardal ei hun, a'r eglwys mae yn aelod o honi. Mewn Cyfarfod a gynaliwyd yn Danville, Ionawr, 1861, yn ngwyneb cais o'r eglwys, penderfynwyd nad yw yn unol a'n harferiad i dderbyn neb fel pregethwr na diacon, heb fod y person ei hun yn bresenol, ac nad ellid derbyn Mr. Morgan heb gydsyniad y Dosbarth Gogleddol, wedi iddynt gael amser i chwilio i'w amgychiadau.

15. Parch. John R. Williams, Scranton.

Yn Danville, Ionawr, 1861, gwnaed sylw ar y cais o'r Dosbarth Gogleddol am ordeinio Mr. Williams. Cymeradwywyd y cais, ac anfonwyd y mater i'r eglwysi i bleidleisio arno, a daeth llais yr eglwysi yn ffafriol i'r Cyfarfod dylynol.

16. Mr. William Harrison, Columbia.

Yn Slate Hill, 1861, ymddyddanwyd a'r brawd hwn, oedd yn aelod achlysurol yn eglwys Annibynol Columbia, ond yn aelod rheolaidd yn Danville, gyda golwg ar ddechreu preg-

ethu, a rhoddwyd caniatad iddo arfer ei ddawn yn Columbia a Danville yn unig. Bu sylw ar ei achos drachefn yn Danielsville, Ebrill, 1863, a phenderfynwyd, pan fyddai eglwys Danville yn barod i wneyd symudiad, y derbynid ef i undeb a'r Dosbarth. Yn Minersville, Hydref, 1863, derbyniwyd ef yn aelod o'r Dosbarth. Derbyniwyd ef yn aelod o'r Gymanfa yn St. Clair, Mai, 1865, ac ordeiniwyd ef yn Nghymanfa Pittston, Tachwedd, 1865.

17. Mr. Evan D. Humphreys, Slate Hill.

Yn y Cyfarfod Dosbarth a gynaliwyd yn y lle, 1861, penderfynwyd cael cyfarfod eglwysig i'w holi yn mhresenoldeb yr eglwys, ac wedi cael boddlonrwydd ynddo, caniatawyd iddo arfer ei ddawn gartref. Yn Slatington, Mai, 1862, wedi ymddyddan ag ef am ei brofiad a'i gymellion i'r weinidogaeth, derbyniwyd ef i undeb a'r Dosbarth. Yn Danville, Ebrill, 1864, penderfynwyd cynyg Mr. Humphreys i gael ei dderbyn yn aelod o'r Gymanfa.

18. Parch. Benjamin D. Davies, Shamokin.

Yn Nghyfarfod Minersville, 1863, ymddyddanwyd a Mr. Davies, a rhoddwyd caniatad iddo arfer ei ddawn yn yr eglwys gartref. Yn Danville, 1864, derbyniwyd ef yn aelod o'r Cyfarfod Dosbarth. Yn Slatington, Ionawr, 1868, derbyniwyd cais o St. Clair am ei ordeinio, a derbyniwyd cais yr eglwys yn Danville, Ebrill, 1868, a chyflwynwyd ef i'w ordeinio yn Nghymanfa Slatington, yn y mis Mai canlynol.

19. Parch. William R. Thomas, Minersville.

Pa bryd, ac yn mha eglwys y dechreuodd Mr. Thomas bregethu, nid oes gair o son ar y cofnodion; ond yn unig ddarfod ymddyddan ag ef fel pregethwr yn Nghyfarfod St. Clair, Gorphenaf, 1866, ac iddo gael ei dderbyn i undeb a'r Dosbarth y pryd hwnw. Yn Pottsville, Mai, 1867, ymddyddanwyd af ef, a chyflwynwyd ef o'r Cyfarfod hwn fel pregethwr i'r Gymanfa. Yn Danville, Ebrill, 1868, rhodd-

wyd llythyr cymeradwyaeth iddo i Ohio. Yn Shamokin, Rhagfyr, 1869, derbyniwyd ef yn aelod o'r Dosbarth ar sail ei lythyr Cymanfaol; ac yma yr arosodd hyd ddydd ei farwolaeth, yn 1874.

20. Parch. John L. Jeffreys, Minersville.

Yn St. Clair, 1866, derbyniwyd Mr. Jeffreys yn aelod o'r Dosbarth ar sail llythyr cymeradwyaeth o Ddosbarth Pittsburg.

21. Mr. William C. Roberts, Slate Hill.

Yn Shamokin, Awst, 1867, ymddiriedwyd achos y brawd hwn i ofal a doethineb y Parch. Evan F. Jones a swyddogion yr eglwys gyda golwg ar iddo ddechreu pregethu, a derbyniwyd adroddiad Mr. Jones, ac anogaeth yr eglwys iddo fyned yn mlaen, yn Slatington, Ionawr, 1868. Yn St. Clair, Tachwedd yr un flwyddyn, derbyniwyd ef i undeb a'r Cyfarfod Dosbarth.

22. Mr. Isaac Blackwell, Shamokin.

Awst, 1867, yr oedd y Cyfarfod Dosbarth yn Shamokin, a chyflwynwyd y brawd gan yr eglwys i sylw y Cyfarfod, ac ar gais yr eglwys, ac ar sail llythyr o'r Cyfarfod Dosbarth Gogleddol yn egluro ei safle, derbyniwyd ef i undeb a'r Dosbarth. Yn Slatington, Ionawr, 1868, rhoddwyd llythyr cymeradwyaeth iddo i gylch Dosbarth Pittsburg.

23. Parch. W. J. Lewis, Shamokin.

Yn Danville, Ebrill, 1868, daeth cais o'r lle uchod am ordeinio Mr. Lewis, ond barnodd y Cyfarfod y cais yn afreolaidd, am nad oedd eto mewn undeb a'r Dosbarth. Yn Minersville, y Cyfarfod canlynol, derbyniwyd ef ar sail llythyr cymeradwyaeth o'r Dosbarth Gogleddol, ac adnewyddwyd y cais o Shamokin am ei ordeiniad. Wedi cael adroddiad y pwyllgor, penderfynwyd ei gyflwyno i sylw y Gymanfa ganlynol.

24. Mr. John M. Evans, Danville.

Yn Minersville, yr un adeg daeth cais o' Danville am iddo gael rhyddid i ddechreu pregethu, ac anfonwyd y Parchn. John L. Jeffreys a W. J. Lewis i gynorthwyo yr eglwys i farnu ei gyfaddasrwydd. Gwnaeth y pwyllgor eu hadroddiad yn y Cyfarfod dylynol, yn St. Clair, a chafodd y Cyfarfod foddlonrwydd yn yr adroddiad, a phenderfynwyd iddo gael arfer ei ddawn yn yr eglwys gartref. Yn y flwyddyn ganlynol mae Mr. Evans, mewn undeb a'r eglwys, yn myned dan nawdd y Cyfarfod Dosbarth Gogleddol.

25. Mr. John J. Griffiths, Danielsville.

Ar gais yr eglwys yn y lle hwn, derbyniwyd Mr. Griffiths yn aelod o'r Cyfarfod Dosbarth yn Danville, Ebrill, 1868. Oblegid rhyw achosion rhoddwyd atalfa ar y brawd hyd Gyfarfod Pottsville, 1871, pan anfonwyd y Parch. J. L. Jeffreys yno i'w adferyd i'w le.

26. Mr. Eleazer Evans, Pottsville.

Yn St. Clair, Tachwedd, 1868, derbyniwyd y brawd i undeb a'r Dosbarth ar sail llythyr o Gyfarfod Misol Sir Fynwy, ac ymddyddanwyd ag ef gan y Parchn. E. F. Jones a J. L. Jeffreys.

27. Parch. E. C. Evans, Shenandoah.

Derbyniwyd Mr. Evans yn aelod o'r Dosbarth hwn ar sail llythyr cymeradwyaeth o Gyfarfod Misol Sir Fflint, Hydref, 1869. Ymddyddanwyd ag ef gan y Parchn. E. F. Jones a J. L. Jeffreys. Cyflwynwyd ef i'w dderbyn yn aelod o'r Gymanfa yn Shenandoah, Mawrth, 1870, a gwnaeth y Cyfarfod hwn gais ar iddo gael myned trwy gylch y Gymanfa i bregethu, ac i'r eglwysi ei gydnabod yn well nag arfer, er ei gynorthwyo i gael aldysg. Yn Shenandoah, Rhagfyr, 1877, hysbyswyd y Cyfarfod fod eglwysi Shenandoah, Pottsville, Minersville a St. Clair wedi rhoi galwad iddo i'w bugeilio, a chyflwynwyd ef i sylw y Gymanfa i'w ordeinio.

28. Mr. Peleg Ishmael Jones.

Derbyniwyd yntau yr un amser, ac ar sail llythyr cymeradwyaeth o'r un Cyfarfod Misol a Mr. Evans, yn Pottsville, Hydref, 1869. Yn y Cyfarfod hwn cyflwynwyd y Parchn. Ed. W. Brown, Newark, ac Ebenezer Evans, Jackson, O., i sylw y Cyfarfod fel dyeithriaid ar ymweliad.

29. Mr. John R. R. Jones, Slatington.

Yn Pottsville, Hydref, 1869, penodwyd y Parch. E. F. Jones a blaenor o Danielsville, i fyned i Slatington i arholi y brawd, fel ymgeisydd am y weinidogaeth, a derbyn llais yr eglwys ar ei fater. Gwnaeth Mr. Jones ei adroddiad yn Nghyfarfod Slatington, Mawrth, 1870, a rhoddwyd caniatad iddo arfer ei ddawn yn Slatington a Danielsville.

30. Mr. John R. Jones, Danielsville.

O Gyfarfod Pottsville anfonwyd y Parch. J. L. Jeffreys i anog yr eglwys i fod yn fwy rheolaidd gyda golwg ar y brawd ieuanc uchod. O Gyfarfod Slatington, Mawrth, 1870, mae y Parch. E. F. Jones a Mr. William Parry yn cael eu hanfon yno i'w arholi. Gwnaeth y pwyllgor adroddiad ffafriol am yr ymgeisydd. Yn Danielsville, Medi, 1870, mae y ddau frawd yn cael eu harholi am eu profiad a'u dychweliad, a'u cymellion i'r gwaith, gan y Parch. E. F. Jones, ac am eu barn a'u gwybodaeth gan y Parch. J. L. Jeffreys, a derbyniwyd hwy yn aelodau o'r Cyfarfod yn unfrydol. Yn Pottsville, 1873, penderfynwyd cyflwyno y ddau i sylw y Gymanfa, a phenodwyd Mr. E. F. Jones i arholi Jones, Slatington, ar gyfiawnhad, a Dr. Roberts i holi Jones, Danielsville, ar ail enedigaeth.

31. Mr. John L. Anwyl, Minersville.

Yn Shenandoah, Mawrth, 1871, darllenwyd llythyr o St. Clair yn cyflwyno y brawd Anwyl i sylw y Cyfarfod fel ymgeisydd am y weinidogaeth. Penodwyd y Parch. E. F. Jones a Mr. J. R. Davies i fyned yno i ymddyddan ag ef.

Cyflwynwyd ef i sylw y Cyfarfod yn Pottsville, Gorphenaf, 1871, ac wedi ymddyddan ag ef a'i arholi, derbyniwyd ef yn aelod o'r Dosbarth. Yn Pottsville, 1877, penderfynwyd ei gyflwyno i sylw y Gymanfa er ei dderbyn yn aelod o honi. Nid aeth Mr. Anwyl i'r Gymanfa gyntaf, o herwydd amgylchiadau. Ymofynodd y Cyfarfod am ei resymau, ac anogwyd ef i fyned mor fuan ag y byddo modd. Ond erbyn Cyfarfod Slatington, Hydref, 1878, yr oedd wedi cyfarfod a'i ddiwedd trwy ddamwain. Amlygodd y Cyfarfod deimlad o golled ar ei ol, a chydymdeimlad a'i weddw.

32. Parch. R. V. Griffiths, Shenandoah.

Yn Shenandoah, Mawrth, 1873, darllenwyd llythyr cyflwyniad Mr. Griffiths o Gyfarfod Dosbarth Dwyreinbarth New York a Vermont.

33. Parch. Ebenezer Evans, Pottsville.

Yn Shamokin, Mehefin, 1873, darllenwyd llythyr o Gyfarfod Dosbarth Jackson, O., yn cyflwyno y brawd fel aelod rheolaidd, a rhoddwyd iddo dderbyniad croesawgar. Yn Pottsville, Medi, 1878, penderfynwyd cyflwyno Mr. Evans i'w dderbyn yn aelod o'r Gymanfa, a nodwyd y Parch. R. V. Griffiths i'w holi yn y Cyfamod Gweithredoedd.

34. Richard R. Jones, Shenandoah.

Yn Minersville, 1871, derbyniwyd cais, a phenodwyd y Parch. E. F. Jones a Mr. John R. Davies i fyned i'r lle hwn i arholi Mr. Jones fel ymgeisydd am y weinidogaeth, a dygwyd adroddiad ffafriol am dano i Gyfarfod Danielsville. Yn Pottsville, Medi, 1873, caniatawyd iddo fyned trwy yr eglwysi i bregethu; ac yn St. Clair, Mawrth, 1874, derbyniwyd ef ar sail ei arholiad yn aelod o'r Cyfarfod Dosbarth. Yn Shenandoah, Rhagfyr, 1877, penderfynwyd cyflwyno y ddau frawd, John R. Jones a Richard R. Jones, i sylw y Gymanfa fel rhai teilwng o gynorthwy arianol, er eu cynorthwyo i fyned yn mlaen yn yr ymdrech ganmoladwy i gael addysg.

Yn Slatington, Rhagfyr, 1874, derbyniwyd llythyr o Minersville yn nghylch brawd oedd wedi dechreu pregethu yno. Wedi ystyriaeth ddyladwy, penderfynwyd fod yr eglwys wedi gwyro oddiwrth reolau Methodistiaeth trwy fod yn rhy frysiog, ac nas gellid dan yr amgylchiadau anog y brawd i fyned yn mlaen nes caffai yr eglwys ei hun fwy o brawf arno.

35. Mr. John Hughes, Shenandoah.

Derbyniwyd Mr. Hughes fel pregethwr ieuanc, ar sail llythyr cymeradwyol o Gymru, yn St. Clair, Gorphenaf, 1879, a phenderfynwyd ei fod i barhau yn yr un sefyllfa hyd y Cyfarfod dylynol.

36. Parch. Edward J. Hughes, West Bangor.

Yn Minersville, Ebrill, 1879, derbyniwyd Mr. Hughes trwy lythyr cyflwyniad o'r Cyfarfod Dosbarth Gogleddol.

37. Parch. Ellis Walter Jones, Shenandoah.

Yn Slatington, Ionawr, 1885, derbyniwyd y brawd Mr. Jones ar sail llythyr cymeradwyol o'r Dosbarth Gogleddol yn aelod o'r Dosbarth hwn.

38. Mr. J. E. Harris, West Bangor.

Ionawr, 1886, derbyniwyd Mr. Harris yn aelod o'r Dosbarth hwn ar sail cyflwyniad o Henaduriaeth New York. Derbyniwyd pleidleisiau y Dosbarth ar ei fater, a chyflwynwyd ef i'w ordeinio yn Nghymanfa Shenandoah, Hydref, 1886.

39. Parch. J. W. Morris, Slatington.

Yn Pottsville, Ionawr, 1886, penodwyd y Parch. Ellis W. Jones a Mr. John R. Davies i fyned i Slatington i'w holi, ac i dderbyn llais yr eglwys ar ei achos. Yn Slatington, yn Nghyfarfod Mehefin, penodwyd Mr. Jones a Mr. Harris i'w arholi ar fater neillduol, ac wedi myned trwy yr eglwysi,

yn ol y rheolau, derbyniwyd ef yn bregethwr rheolaidd i'r Cyfundeb yn Slatington, Ebrill, 1887.

40. Parch. John J. Williams, Slatington.

Cyflwynwyd ei achos i sylw y Cyfarfod yn Danielsville, Awst, 1889, a phenderfynwyd ei fod i bregethu o fewn cylch y Dosbarth, a phleidlais yr eglwysi ar ei achos i'w dwyn i'r Cyfarfod nesaf. Dangoswyd fod y bleidlais yn ffafriol iddo, a phenodwyd y Parch. John Hammond a Mr. John A. Davies i fyned i Slatington i'w arholi. Gwnaeth y cenadon adroddiad ffafriol, a bod pleidlais yr eglwys yn unfrydol o'i blaid. Penodwyd y Parchn. R. E. Williams, H. F. Williams a Mr. David J. Evans i'w arholi, a derbyniwyd ef i undeb a'r Dosbarth yn Wind Gap, Awst, 1893.

Yn Wind Gap, Chwefror, 1890, darllenwyd llythyr Mr. W. Jones Edwards o Gyfarfod Misol Llundain, a derbyniwyd ef i undeb ar Dosbarth.

Yn Danielsville, Chwefror, 1891, darllenwyd llythyr cyflwyniad y brawd Robert W. Evans fel pregethwr rheolaidd o Gyfarfod Dosbarth Dwyreinbarth New York a Vermont, a derbyniwyd ef i undeb a'r Dosbarth. Eto, darllenwyd llythyrau cyflwyniad y Parchn. John Hammond o Gyfarfod Dosbarth Welsh Prairie, Wis., a Hugh F. Williams o Gyfarfod Dosbarth Sir Oneida, N. Y., a derbyniwyd hwy yn roesawgar i undeb a'r Dosbarth.

Yn Slatington, Awst, 1893, derbyniwyd y Parch. John R. Evans, Philadelphia, i undeb a'r Dosbarth trwy lythyr o Gyfarfod Dosbarth Sir Oneida, N. Y., a derbyniwyd ef yn roesawgar.

Yn West Bangor, Ebrill, 1894, derbyniwyd y Parch. J. W. Morris trwy lythyr o Gyfarfod Dosbarth Vermont, a derbyniwyd ef gyda llawenydd ar ei ddychweliad yn ol i Slatington.

41. Mr. D. J. Roberts, West Bangor.

Yn y Cyfarfod a gynaliwyd yn y lle Ebrill, 1894, cyflwyn-

wyd achos Mr. Roberts i sylw fel ymgeisydd am y weinidogaeth, a nodwyd y Parchn. J. W. Morris a J. R. Evans i'w arholi, ac i dderbyn pleidlais yr eglwys ar ei achos. Gan fod hono yn ffafriol, trefnwyd iddo fyned trwy eglwysi y Dosbarth ar brawf; a daeth llais yr eglwysi yn ffafriol iddo, a nodwyd y Parchn. J. W. Morris a J. R. Evans, a Mr. Edward Foulkes i'w arholi. Derbyniwyd ef i undeb a'r Dosbarth yn Slatington, Awst, 1895. Yn yr un Cyfarfod, derbyniwyd y Parch. E. W. Jones trwy lythyr cymeradwyaeth o Gyfarfod Dosbarth Vermont.

Dyma restr y gweinidogion a'r pregethwyr a dderbyniwyd yn rheolaidd i undeb a'r Dosbarth hwn.

## VIII.—Gweinidogaeth.

Fel yr oedd amgylchiadau yn newid nodwedd cymdeithas yn ardaloedd Schuylkill County—ymfudiaeth yn cilio i barthau eraill, a'r hen sefydlwyr yn marw ac yn symud i leoedd eraill, fe ddaeth cyflenwi yr eglwysi gweiniaid â gweinidogaeth yn gwestiwn difrifol a phwysig yn y Cyfarfod Dosbarth o'r flwyddyn 1860 yn mlaen. Yn y Cyfarfod a gynaliwyd yn Pottsville, Ionawr, 1865, gwnaed sylw ar yr ymgais a wneir yn yr eglwys hon i gael gweinidogaeth fwy cyson; ac yn gysylltiedig a hyn arwyddodd y Cyfarfod eu cymeradwyaeth i'r symudiad, a sylwyd y byddai yn dra dymunol i unrhyw eglwys a fyddo yn cael ar ei meddwl anfon am frawd i'w bugeilio, ymgyngori a'r Cyfarfod Dosbarth cyn iddynt anfon ato, er mwyn gochel profedigaeth yn y cysylltiad hwn. Yn Danville, Ionawr, 1866, gwnaed sylw ar yr eglwysi hyny ydynt yn amddifad o weinidogaeth, ac anogwyd y cyfeillion yn y lle i beidio digaloni ac ymollwng, a phenodwyd y Parch. E. F. Jones i anfon at y brodyr yn Pottsville, Minersville a St. Clair, gyda golwg ar hyn, a'u calonogi i ddal yn mlaen.

Yn Pottsville, Mai, 1867, anogwyd Danville a Slatington i wneyd ymdrech am gael gweinidogaeth gyson.

O Gyfarfod Slatington, 1872, mae llythyr yn cael ei anfon at Minersville, er eu hanog i ymdrechu cael gweinidog mor aml ag y byddo modd i dori bara yno, ac i wneyd cof am angeu y Gwaredwr. Anfonwyd llythyr o gydnabyddiaeth ac anogaeth at eglwys Shamokin mewn perthynas i'w hymdrech i gael gweinidogaeth y cymod yn eu plith.

Yn Pottsville, Medi, 1873, anogwyd eglwysi y cylch hwn, sef Pottsville, Minersville a St. Clair i ymdrechu am weinidog i'w bugeilio yn y ddwy iaith, ac os nad allant gael un, anogwyd hwynt i weithredu yn ol yr hyn a awgrymwyd gan y brawd John Lucas.

Yn Minersville, Rhagfyr, 1873, gwnaed sylw drachefn ar fugeiliaeth eglwysig yn ei chysylltiad a'r eglwysi uchod, a'u penderfyniad oedd gwneyd y defnydd goreu o'r pregethwyr oedd yn eu cyraedd. Ac mae yn sicr fod y penderfyniad hwn yn un doeth, gan nad yw y nefoedd yn rhoddi gwell, a ninau yn diystyru yr hyn sydd yn ein cyraedd.

Yn St. Clair, Mawrth, 1874, darllenwyd penderfyniad y Gymanfa Gyffredinol ar fugeiliaeth eglwysig, a chyflwynwyd hwynt i'r eglwysi i gael eu llais arnynt erbyn y Cyfarfod nesaf.

Yn Pottsville, Mawrth, 1875, wedi sylwi ar achos Pottsville, nodwyd pedwar yn bwyllgor i edrych i mewn i sefyllfa yr achos—Parch. R. V. Griffiths, Mri. W. P. Jones, J. R. Davies a John L. Anwyl.

Yn Minersville, Rhagfyr, 1875, penderfynwyd fod swyddogion y gwahanol eglwysi i gyfarfod a'u gilydd i ymddyddan am y priodoldeb o gael bugeiliaid yn y gwahanol eglwysi, a'r moddion goreu er eu cael. Yn yr un Cyfarfod bu ymdrafodaeth ar ymadawiad Mr. Griffiths o Shenandoah, a'r cais oddiyno am gymorth y Cyfarfod Dosbarth er ei gadw rhag iddo eu gadael. Yn haf y flwyddyn uchod penderfynwyd eu bod yn gwneyd eu goreu i gynorthwyo cyfeillion St. Clair i dalu dyled eu capel. Yr oedd y cyfeillion yn ymdrechu yn mhob cyfeiriad.

Yn St. Clair, 1876, anogwyd eglwysi y cylch hwn i ohebu a'r Parch. Thos. C. Davies, Pittsburgh, yn nghylch cael cymorth o'r Genadaeth, er sicrhau iddynt weinidogaeth fwy cyson. Adnewyddwyd yr un anogaeth yn Minersville, Ebrill, 1879.

I Gyfarfod Danielsville, Awst, 1855, mae eglwys Shenandoah yn anfon llythyr i ddymuno cael mwy o gymorth i gael ychwaneg o weinidogaeth yn y lle.

Yn Minersville, Hydref, 1855, mae eglwysi Shenandoah a Pottsville yn datgan eu teimlad mewn cysylltiad a gwasanaeth eu gweinidog yn y gorphenol, ac yn dymuno ei wasanaeth yn y dyfodol. A phenderfynodd y Cyfarfod anfon cais at y pwyllgor cenadol i ddymuno am y cynorthwy arianol a gafwyd y flwyddyn hon at y flwyddyn nesaf hefyd. Adnewyddwyd yr un cais gan Shenandoah, Pottsville, Minersville, a St. Clair am y flwyddyn 1887.

Yn Danielsville, Medi, 1888, cydsyniwyd â theimlad eglwys Shenandoah, mewn undeb a St. Clair, i gael mwy o wasanaeth ei gweinidog y flwyddyn nesaf, ac ymryddhau oddiwrth y lleoedd eraill, ac iddynt gymeryd eu rhan o rodd y Gymdeithas Genadol fel terms gan y pwyllgor.

### IX.—Ei Weithrediadau Gyda Golwg ar Feddianau y Cyfundeb.

1. Mai, 1885, yr oedd y Cyfarfod yn cael ei gynal yn Danville, ac anogwyd yr eglwys hono i gael deed ar y capel, ac ymgorffori yn ol trefn y Cyfundeb.

2. Yr un pryd, cadarnhawyd penderfyniad y Gymanfa, fod deeds y capeli, yn nghyd a phob hysbysrwydd arall angenrheidiol, sydd gysylltiedig a'u hamgylchiadau, i'w dwyn i'r Gymanfa nesaf.

3. Yn Minersville, Awst, 1855, sylwyd fod yn rhaid cael deeds holl gapeli y T. C. o fewn y Dosbarth i'r Gymanfa nesaf.

4. Yn St. Clair, Gorphenaf, 1864, bu sylw ar adeiladu capelau newyddion; ac wedi ymddyddan ar yr afresymoldeb i

fyned i dreuliau afreidiol fel ag i fyned dan ddyled drom, heb ymgyngoriad a'r Cyfarfod Dosbarth a'r Gymanfa, gadawyd y mater heb benderfynu ar reol sefydlog i reoleiddio yr achos.

5. Yn Pottsville, Ionawr, 1865, gwnaed sylw ar gasglu at dalu dyled addoldai, "Ein bod yn mawr anghymeradwyo yr arferiad o fyned oddicartref i gymydogaethau eraill er ein cynorthwyo i dalu dyled ein haddoldai, a'n bod yn benderfynol na roddir genym ganiatad i neb fyned oddiamgylch i'r cyfryw ddyben, ond yn ngwyneb amgylchiadau neillduol, a hyny heb fod ond unwaith yn y flwyddyn, ac yn gysylltiedig a bod adeiladu ac adgyweirio capelau wedi bod dan arolygiaeth a chaniatad Cyfarfodydd Dosbarth, ei bod yn llawn bryd i gario y penderfyniad hwn allan, neu un arall cyffelyb iddo, mewn trefn i gadw i fyny urddas y weinidogaeth."

6. Yn Danielsville, Mawrth, 1869, daeth cais o Slatington am helaethu eu capel, a'u bod yn barod i ymgymeryd a'r draul. Rhoddwyd anogaeth i arfer doethineb, ac i ddefnyddio pob mantais a allent.

7. Yr un pryd, yr oedd Danielsville yn galw am gapel newydd, a rhoddwyd anogaeth i ymlwybro yn mlaen yn ofalus, gan fod amgylchiadau y gymydogaeth yn galw am hyny, ac am iddynt beidio colli amser nac un fantais a allai ymddangos iddynt.

8. Yn West Bangor, bu sylw ar hyn drachefn, a bod Slatington heb wneyd dim, ond yn golygu ei helaethu cyn y gauaf, a Danielsville yr un modd heb wneyd dim, ond eu bod yn methu cael tir i adeiladu arno. Y pryd hwn yr oedd yr eglwys yn cynyddu mewn rhif a gras.

9. Yn Pottsville, Medi, 1873, anogwyd yr eglwysi i anfon deeds a charters yr eglwysi i'r Parch. R. V. Griffiths cyn y Gymanfa a gynelir yn Shenandoah.

10. Yr un pryd, anogwyd eglwys Slatington i gynyddu yr addewidion i $2,000, neu fod ganddynt ryw olwg am gymaint a hyny cyn dechreu adeiladu capel newydd, ac aw-

durdodwyd yr eglwys i wneyd y defnydd goreu o'r hen gapel.

11. Yn Minersville, yr un flwyddyn, gwnaed sylw o charters y capeli, ac awdurdodwyd y Parch. R. V. Griffiths i gymeryd meddiant o eiddo y Cyfundeb, yn nhy Mr. W. P. Jones, Shenandoah.

12. Yn 1874, gwerthwyd capel Shamokin gan bwyllgor a awdurdodwyd gan y Cyfarfod Dosbarth. Gwnaed cais gan eglwys Shenandoah am gael benthyg yr arian i adeiladu eu capel newydd. Penderfynwyd unwaith iddynt eu cael ar log, ac iddynt hwythau roddi mortgage am danynt, ond bu adystyriaeth ar y penderfyniad hwn yn ol llaw, a phenodwyd pwyllgor i chwilio i mewn i ddyled capeli y Dosbarth. Gwnaeth y pwyllgor hwnw ei adroddiad yn Pottsville, Gorphenaf, 1875, fel y canlyn: Fod dyled Shenandoah yn $1,000; Minersville, $360; Pottsville, $600; a phenderfynwyd defnyddio yr arian a'u rhanu fel y canlyn: Danielsville, $100; St. Clair, $150; Shenandoah, $400; Pottsville, $400; Minersville, $200.

13. Yn St. Clair, Chwefror, 1876, cymeradwywyd gwaith y brodyr yn adgyweirio capel Slatington.

14. Yn Slatington, Mawrth, 1888, derbyniwyd pleidleisiau yr eglwysi ar gynygiad y Gymanfa i gael breinlen (charter) i'r Cyfundeb yn yr ochr ddwyreiniol i'r Dalaeth.

15. Yn Bangor, Awst, 1892, penderfynwyd fod y Parch. R. E. Williams i ymweled a Pottsville a St. Clair i wneyd ymchwiliad i feddianau y Cyfundeb. Gwnaeth Mr. Williams ei adroddiad yn Philadelphia, Mawrth, 1893, a phenderfynodd y Cyfarfod, wedi rhoddi ystyriaeth ddyladwy iddo, ei gyflwyno i sylw y Gymanfa.

16. Yr un pryd, anfonwyd y Parch. John Hammond i Minersville, i gael cyfarfod a'r brodyr, ac i gael deed y capel, fel na byddo rhent y capel yn cael ei thalu yn mhellach i'r brawd John H. Davies.

17. Yn Nghyfarfod Awst, 1896, hysbyswyd fod pwyllgor y freinlen gyffredinol wedi ffurfio rheolau yn unol a chyf-

reithiau y Dalaeth, ac wedi eu cymeradwyo gan y Gymanfa, swyddogion wedi eu dewis a'u hawdurdodi i'w chyflwyno i lys y Dalaeth i'w chymeradwyo a'i chofrestru.

## X.—Yr Achos Cenadol.

Dodwn ger bron ychydig o weithrediadau y Cyfarfod gyda golwg ar yr achos cenadol.

1. Yn Danville, 1855, bu sylw ar anogaeth y Gymanfa i ymuno ar Gymdeithas wrthgaethiwol, a bod llais yr eglwysi i ddyfod i mewn i'r Cyfarfod dylynol.

2. Yn Minersville, Chwefror, 1858, bu sylw ar y Gymdeithas Genadol Americanaidd, a phenderfynwyd fod pob eglwys i nodi Ysgrifenydd a Thrysorydd, a chasglu unwaith yn y mis, a'r casgliad i ddyfod i'r Cyfarfod Chwarterol. Hefyd, penderfynwyd anfon cais i'r Gymanfa i gael undeb a'r Gymdeithas hon; ac os na bydd y Gymanfa yn cydweled, ein bod ni am ymuno â hi fel Dosbarth.

3. Yn Slatington, Gorphenaf, 1858, penderfynwyd fod arian y Genadaeth i ddyfod i'r Cyfarfod nesaf yn Pottsville, a nodwyd Mr. John Lucas yn Drysorydd y Genadaeth.

4. Yn Danielsville, Ionawr, 1895, penodwyd Bwrdd Cenadol yn cynwys pump o bersonau, y Parch. E. J. Hughes yn Llywydd, a'r Parch. E. F. Jones yn Ysgrifenydd, Mr. John Lucas yn Drysorydd, Mri. W. Parry, Slatington; Jonah Richards, Minersville; D. J. Williams, Danville; D. D. Williams, Pottsville, a Thos. J. Evans, St. Clair—a'r Bwrdd i gyfarfod bob tri mis ar amser y Cyfarfod Dosbarth.

5. Yn Pottsville, Ionawr, 1860, mae y Cyfarfod yn penderfynu ymuno a'r Gymdeithas uchod, ac yn penodi yr Ysgrifenydd, y Parch. E. F. Jones, i ddwyn hyn oddiamgylch.

6. Yn Danville, 1862, penderfynwyd i'w gynyg i sylw y Gymanfa, gymeryd swm y casgliad sydd yn llaw y Trysorydd, a rhoddi dwy ran o dair o hono i'r Gymdeithas Genadol Americanaidd, a'r gweddill i'r Presbyterian Old School of Publication. Yn y Cyfarfod dylynol yn Pottsville, galwyd sylw at y penderfyniad uchod, a rhoddwyd anogaeth

i'r holl eglwysi dalu sylw i'r cyfarfod gweddi nos Lun cyntaf o'r mis, ac ymdrechu eu gwneyd mor ddyddorol ag y gellir.

Ymddengys nad oedd yr undeb a'r Gymdeithas Americanaidd yn gweithio yn hapus, neu nad oedd mor fanteisiol ag yr oedd y brodyr yn dysgwyl.

7. Yn Slate Hill, 1863, gwnaed sylw o Reolau Cymdeithas Genadol Efrog Newydd, a nodwyd ar yr Ysgrifenydd a Mr. E. D. Humphreys i fabwysiadu cymaint o honynt ag a farnent yn gymwys i'w hamgylchiadau fel Dosbarth a Chymanfa, ac ychwanegu yr hyn a farnent yn angenrheidiol.

8. Pottsville, Mai, 1867, rhoddwyd anogaeth o'r Cyfarfod hwn i feithrin mwy o ysbryd cenadol yn yr eglwysi, ac i'r gweinidogion a'r pregethwyr draddodi pregeth ar y pwnc o hyny i'r Cyfarfod nesaf.

9. Yn Danielsville, 1869, gwnaed sylw ar yr achos cenadol, ac awgrymiad oddiwrth eglwys West Bangor, yn nghyd a $23, eu bod i gael eu gosod yn y banc hyd nes y ceir cydweithrediad yn nghylch y Dosbarth, neu ganiatad yr eglwys i'w defnyddio, yn nghyd a chyflwyno y cais i'r Gymanfa.

10. Yn Slatington, Hydref, 1889, mewn cysylltiad a chais y Gymanfa, penderfynwyd fod pob eglwys fyddo yn gwneyd cais am gymorth cenadol i anfon adroddiad cyflawn o'i sefyllfa, a bod y cais am gymorth yn cael ei anfon i'r Cyfarfod Dosbarth cyntaf yn y flwyddyn.

11. Yn Wind Gap, 1894, yn ol awgrym y Gymanfa yn Philadelphia, penderfynwyd fod Shenandoah, Danielsville a Wind Gap yn symud yn mlaen i gael cenadwr, a'r pwyllgor i barhau nes cael cynllun effeithiol, mewn cyd-ddealltwriaeth a'r eglwysi, i ddwyn hyn oddiamgylch yn effeithiol.

## XI.—Ymweliadau a'r Eglwysi.

Yn St. Clair, Gorphenaf, 1868, penodwyd y Parch. E. F. Jones i ymweled a'r eglwysi, i edrych eu hansawdd ys-

brydol. Yn y Cyfarfod a gynaliwyd yn Danielsville, Hydref, 1868, mae yn gwneyd adroddiad ei fod wedi cael eu hansawdd yn well na'i ofnau, eto ymddengys fod amryw ar ol mewn rhinweddau ag y byddai da iddynt fod yn fwy ymdrechgar ynddynt—dirwest, cyfranu at y weinidogaeth, ffyddlondeb i foddion gras, yn nghyd a magu y plant yn yr eglwysi. Dymunwyd ar y cynrychiolwyr i gario y genadwri hon adref fel yn anhebgorol angenrheidiol, a phenderfynwyd i wneyd ymweliad cyffelyb yn flynyddol. Yn 1861 anfonwyd y Parch. Mr. Jones i wneyd yr ymweliad a'r eglwysi drachefn.

Yn St. Clair, 1862, penodwyd y Parch. E. J. Hughes i fyned ar ymweliad a'r eglwysi i ymholi gyda golwg ar y materion canlynol: (a) Nifer y cyflawn aelodau. (b) Pa un ai cynydd ai lleihad yn nifer yr eglwysi er's blwyddyn? (c) A oes rhai wedi eu diarddel o'r eglwys? os oes, am beth? (d) Swm y casgliad at yr achos yn ei wahanol ranau—y weinidogaeth, dyled yr addoldy. (e) A oes ffyddlondeb yn mysg yr aelodau mewn rhoddi eu presenoldeb, a gweithgarwch gyda gwahanol ranau y gwaith? (f) A ydyw ymddygiadau yr ieuenctyd yn addas ar ddydd yr Arglwydd? A oes rhai yn peidio ei dreulio yn ddiwrnod i ymddyddanion bydol? (g) Pa beth yw ansawdd fewnol yr eglwys? A oes cariad brawdol, a bywiogrwydd gyda'r achos? (h) A ydyw y ddysgyblaeth yn cael ei gweinyddu? Yn Danville, Hydref, 1862, mae Mr. Hughes yn gwneyd adroddiad fod yr achos yn gysurus, ac ar gynydd, lle y cynelid gweinidogaeth.

Yn 1873 penodwyd y Parch. R. V. Griffiths i wneyd ymweliad a'r eglwysi, a blaenor i bob lle—Mr. O. Thomas i St. Clair, Mr. John Roberts i Pottsville, Mr. D. Williams i Shenandoah, Mr. John Lucas i Minersville, Mr. William Parry i Danielsville, a Mr. John J. Griffiths i Slatington. Gwnaeth yr ymwelwyr hyn adroddiad yn Minersville, Rhagfyr, 1873, a chafwyd boddlonrwydd yn eu gwaith.

## XII.—Achosion o Ddysgyblaeth.

Mae hon yn benod ddu yn hanes ein Cyfarfodydd Dosbarth, cystal a'n heglwysi. Ond ni bydd yr hanes yn gyflawn hebddi.

1. Yn Pottsville, Chwefror, 1856, cadarnhaodd y Cyfarfod hwn weithrediadau yr eglwys yn Minersville gyda golwg ar y brawd John Adams, yn ei atal o bregethu; a phenderfynwyd iddo aros fel y mae hyd y Cyfarfod nesaf. Cynaliwyd hwnw yn St. Clair, Gorphenaf, 1856, a chadarnhawyd gweithrediadau y cynrychiolwyr yn adferu Mr. Adams i bregethu.

2. Yn St. Clair, Gorphenaf, 1856, penderfynwyd fod anogaeth o'r Cyfarfod yn cael ei anfon at y brawd W. H. Davies, Pottsville, i ymdrechu clirio ei gymeriad mewn cysylltiad ag achos cyfreithiol, a nodwyd dau bregethwr—y Parchn. John R. Williams, Scranton, ac E. F. Jones, Slatington, a dau flaenor, Mri. J. R. Davies, Minersville, a Thos. J. Evans, St. Clair, i fyned yno i edrych i mewn i'w achos, ai gweddus iddo fyned yn mlaen gyda'i swydd fel diacon. Sylwyd ar ei achos yn Pottsville, Hydref, 1857, ac mai barn mwyafrif y Cyfarfod oedd, fod yn well iddo barhau yn ei swydd, a bod y pwyllgor oedd yn myned yno i gynorthwyo yr eglwys i ddewis blaenoriaid i ddwyn y mater yn y modd doethaf ger bron yr eglwys, a mwyaf o les i'r achos. O Gyfarfod Minersville, 1858, penderfynwyd fod pwyllgor yn cael ei anfon yno i edrych i mewn i'r achos, ond barnwyd mai gwell fuasai anfon ymwelwyr, os buasai yr eglwys yn caniatau.

3. Yn Danville, Hydref, 1856, bu sylw ar fethiant y Parch. Robert Williams a Mr. J. R. Davies, ac anfonwyd y Parch. E. F. Jones a Mr. Morgan Thomas, Danville, yno i edrych pa fodd mae rhyngddynt a'r wlad, ac a'u gilydd, sefyllfa arianol y capel, a pha faint o ddyled sydd arno, ac a ydyw perchenogion yr arian yn esmwyth. Yn Minersville, 1857, penderfynwyd, ar ol gwrando tystiolaethau y ddau frawd

fu yno, ddiswyddo Mr. Davies, a gadael Mr. Williams at farn y Gymanfa, a gadael y ddau ar yr un tir o ran aelodaeth. Ond mewn Cyfarfod dylynol, yn Pottsville, gadawyd achos Mr. Davies at farn ei eglwys gartrefol.

4. Yn Pottsville, Hydref, 1857, cymeradwywyd gwaith eglwys Pottsville yn diarddel y blaenor Mr. David Griffiths.

5. Yn y Cyfarfod uchod, penderfynwyd fod y Cyfarfod Dosbarth yn cymeryd achos John Adams i'w law ei hun, ac i fod yn gyfrifol am yr hyn a wnai iddo, ac nad oes rhagor o drafod i fod arno yn eglwys St. Clair. Penodwyd hefyd fod y Parchn. Dr. Rowlands, B. F. Jones a Mr. Howell Davies i edrych i mewn i'w gyfrifon, a ydyw wedi ymddwyn yn deg ac yn onest tuag at bawb; ac os ceir eu bod felly, ei fod at ei ryddid i bregethu fel o'r blaen.

6. Yn Pottsville, Hydref, 1858, penderfynwyd fod yr hyn a wnaeth eglwys Danville tuag at y Parch. B. F. Jones yn cael ei gymeradwyo, a'i achos yn cael ei gyflwyno i'r Gymanfa.

7. Yn Danielsville, Hydref, 1860, derbyniwyd llythyr o eglwys St. Clair yn nghylch mater o anghydfod rhwng Evan Jones a Watkin Powell o Bellevue, a phenderfynwyd i'r Ysgrifenydd chwilio i'r mater, a dwyn cymaint o oleuni ellid ei gael arno i'r Cyfarfod nesaf, er cadw cyfiawnder ar ei draed.

8. Yn Danville, 1860, dygwyd achos y pregethwr Thos. G. Williams, Slatington, i sylw, a phenodwyd yr Ysgrifenydd a Mr. David Williams, Danville, i fyned yno gydag awdurdod i'w ddiarddel. Yn Nghyfarfod Mawrth, yn Pottsville, hysbyswyd fod Mr. Williams yn anufuddhau i'r Cyfarfod Dosbarth, ac yn apelio at y Gymanfa, a phenderfynwyd cyflwyno ei fater i'r Gymanfa nesaf.

9. Yn y Cyfarfod yn Danville, bu sylw ar achos y diacon W. Parry o Slatington, a barn unfrydol y Cyfarfod oedd, y buasai yn well iddo ymneillduo yn raddol, a pheidio a gweithredu fel swyddog.

10. Yn St. Clair, Gorphenaf, 1860, gwnaed sylw ar gwyn o

eglwys Minersville yn erbyn y Parch. J. R. Williams Scranton, yn ei berthynas ag arian Mrs. Howells, a nodwyd y brodyr Wm. Harrison a John Lucas i ysgrifenu ato, a Mri. Lucas, J. R. Davies a W. H. Davies yn bwyllgor sefydlog yn y mater. Yn Danielsville, Hydref, 1861, penderfynwyd fod cwyn Mrs. Howells yn cael ei chyflwyno i Gymanfa Scranton, os na ddeuai Mr. Williams i delerau boddhaol.

11. Yn Minersville. Ebrill, 1879, penodwyd i'r pwyllgor a neillduwyd mewn Cyfarfod blaenorol i edrych i achos y brawd John G. Thomas, Shenandoah, i barhau hyd y Cyfarfod nesaf, ac anogwyd y brawd i aros heb weithredu fel swyddog hyd nes penderfynir ei achos. Mri. John Lucas, J. R. Davies a David Williams oedd y pwyllgor hwn. Penderfynwyd i'r pwyllgor barhau hyd y Cyfarfod a gynaliwyd yn Pottsville, Hydref, 1879, pan mae y Cyfarfod yn penderfynu i Mr. Thomas aros fel y mae hyd nes y cymodo a'i ofynwyr.

12. Yn St. Clair, Gorphenaf, 1879, penodwyd y Parch. E. J. Hughes i fyned i Shenandoah yn achos y brawd E. V. Williams.

13. Yn Pottsville, Hydref, 1879, penodwyd y Parch. E. J. Hughes a Mr. William Williams, Slatington, i fyned i Danielsville yn achos Mr. Evan Jones. Yn y Cyfarfod dylynol, yn Shenandoah, Ionawr, 1880, nodwyd y Parch. Thos. B. Thomas, yn gysylltiedig a swyddogion eglwys Slatington, Mri. John J. Hughes, William S. Williams, J. W. Morris a Hugh L. Davies, i drafod achos eglwys Danielsville.

14. Yn Minersville, Awst, 1881, penderfynwyd, yn ol llythyr a dderbyniwyd o Slatington, fod y Cyfarfod Dosbarth yn anog Mr. Williams i edifarhau, a galw yn ol y cyhuddiadau yn y llythyr yn erbyn Mr. Hugh L. Davies; ac yn niffyg hyny, fod y Cyfarfod Dosbarth yn ymwrthod ag ef fel blaenor, ac yn ei gyflwyno i law yr eglwys.

15. Yn Minersville, Hydref, 1885, cais o Shenandoah am ddau neu dri i'w cynorthwyo mewn achos neillduol; ac yn gymaint ag fod prinder o weinidogion yn y Dosbarth, pen-

derfynwyd anfon at y Gymanfa am ganiatad i gael y Parchn. W. H. Williams a Wm. E. Morgans, gyda Mr. John R. Davies, i drafod y mater. Gwnaed adroddiad o'u gwaith yn Nghyfarfod Ionawr, 1886, eu bod wedi diswyddo Mr. Henry L. Jones o fod yn flaenor, a chadarnhawyd eu gwaith gan y Cyfarfod Dosbarth.

Ol-Ysgrif.—Yn Danielsville, Ebrill, 1863, dygwyd achos eglwys Minersville i sylw y Cyfarfod, ac anghymeradwywyd yn fawr eu hymgais i dori y cysylltiad â ni fel Corff, a ffurfio eu hunain yn eglwys Annibynol, ac yn gymaint ag fod rhai o'r swyddogion yn gyntaf yn y camwedd, penderfynwyd dwyn yr achos i sylw y Gymanfa.

## XIII.—Chwareuyddiaethau.

Yn Danielsville, 1874, galwyd sylw at benderfyniad y Gymanfa o barth i'r circuses, a phenodwyd y Parch. E. F. Jones i gyfansoddi papyr ar hyn, i'w ddarllen yn y Cyfarfod nesaf. Cynaliwyd hwnw yn West Bangor, a darllenodd Mr. Jones bapyr da a buddiol ar y mater, a phasiodd y Cyfarfod benderfyniad yn anog Mr. Jones i'w gyhoeddi yn y "Cyfaill," fel y gallo yr holl eglwysi gael mantais i'w ddarllen. O Gyfarfod Shenandoah, 1886, penderfynwyd anfon y cenadwriaethau canlynol i'r eglwysi, a dymuno arnynt wneyd sylw priodol o honynt:

(a) Dyledswydd yr eglwysi i godi eu llef yn erbyn yr arferiad niweidiol o brynu a darllen newyddiaduron ar y Sabboth.

(b) Dyledswydd yr eglwysi i fod yn ofalus a gwyliadwrus rhag goddef na derbyn rhai yn aelodau sydd a'u cysylltiadau priodasol yn anghyfreithlawn ac anysgrythyrol, megys gwr yn briod â dwy wraig, neu wraig a dau wr.

(c) Ein bod fel Cyfundeb yn gwahardd personau ysgafn ac ameus eu cymeriadau i bregethu yn ein pwlpudau. Fod llacrwydd a phenrhyddid yn y cyfeiriad yma yn milwrio yn uniongyrchol yn erbyn llwyddiant yr achos.

## XIV.—DIRWEST.

Nid yw y cofnodion yn dangos fod cymaint o sylw wedi ei roddi i'r achos dirwestol yn y Dosbarth hwn ag a wnaed yn y Dosbarth Gogleddol, a dichon nad oedd cymaint o angen uniongyrchol. Y sylw cyntaf a wnaed oedd yn Minersville, Medi, 1859, "Fod anogaeth yn cael ei hanfon i holl eglwysi y Dosbarth i fod yn fwy ymdrechgar gyda dirwest."

Yn Hydref, 1871, mae Cyfarfod Minersville yn gwneyd sylw o gwestiwn y Gymanfa, "Ai doeth neu annoeth a fyddai gwneyd dirwest yn amod eglwysig?" Mae Cyfarfod Danielsville, Awst, 1872, yn galw sylw at y mater, ac yn ei anfon i'r eglwysi i gymeryd pleidlais arno. Yn y Cyfarfod a gynaliwyd ddiwedd y flwyddyn hono, mae eglwysi West Bangor a Slatington yn ateb yn gadarnhaol, ac yn derbyn dirwest yn amod eglwysig; ond ni ddaeth adroddiad o'r eglwysi eraill.

Yn Shenandoah, 1889, anogwyd yr eglwysi i gefnogi "Y gwelliant Cyfansoddiadol," i atal gwneyd na gwerthu y pethau meddwol, fel mesur ag oedd yn cael ei gyflwyno i sylw y dinasyddion ar y pryd.

## XV.—YR YSGOL SABBOTHOL.

Fel y gwelsom, gwnaed ymdrech egniol gyda'r Ysgol Sabbothol ar gychwyniad yr achos yn y Dosbarth, eithr marweiddiodd yr ymdrech hwnw fel pob peth arall, i ganiyn amgylchiadau. Eto gwnaeth y Cyfarfod Dosbarth amryw symudiadau i greu dyddordeb yn yr Ysgol Sabbothol.

Yn Pottsville, Ionawr, 1863, sylwyd ar yr angenrheidrwydd o gael rhyw gynllun er peri adfywiad yn yr Ysgol Sabbothol; a barnwyd y buasai yn dra buddiol er cyraedd hyny, gyfodi yr holwyddori i fwy o fri, a dwyn yr Ysgol i gysylltiad agosach a'r Cyfarfod Dosbarth, a bod rhyw bwnc ysgrythyrol gan yr Ysgol lle y cynelid y Cyfarfod i gael ei holwyddori ynddo yn y cyfarfod dau o'r gloch, a bod pregeth ar yr Ysgol i gael ei thraddodi gan un o'r brodyr yn y

cyfarfod hwnw. Yn nglyn a hyn sylwyd ar bwysigrwydd swydd athraw, a bod ei heffeithiolrwydd yn dibynu ar gael dynion cymwys i'w llanw.

Yn Danielsville, 1863, dygwyd sylw drachefn at yr Ysgol, a barnwyd y byddai yn dra buddiol i bob Ysgol o fewn y Dosbarth gynal cyfarfod cyhoeddus i holwyddori unwaith bob tri mis o leiaf, a'r pwnc o'u dewisiad hwy. Yn nglyn â hyn rhoddwyd anogaeth i ddysgu yr "Hyfforddwr" a'r "Rhodd Tad" i fod yn llafur cyffredinol, a'r lle byddo y Cyfarfod Dosbarth i gael ei gynal i ddewis rhyw fater ysgrythyrol, a rhyw frawd i holi yr Ysgol yr adeg a farnont hwy oreu, a rhyw frawd arall i roi araeth neu bregeth ar bwnc cysylltiedig a'r Ysgol.

Yn Minersville, 1865, gwnaed sylw ar yr angenrheidrwydd i ni ddeffroi gyda'r Ysgol Sabbothol, ac mewn trefn i hyny, penderfynwyd sefydlu Ysgolion Sabbothol rhwng Minersville, Pottsville a St. Clair. Y brodyr John G. Thomas, John R. Davies a David Williams, i gario y peth i weithrediad. Yn yr un lle, Mai, 1870, gwnaed sylw ar yr Ysgol, a'r moddion mwyaf effeithiol er ei hadfywio, a phenderfynwyd i'r Parch. E. F. Jones gyflwyno y mater i sylw y Gymanfa. Bu amryw ymdriniaethau cyffelyb ar y mater dyddorol hwn o bryd i bryd, fel mae yn angenrheidiol cadw materion o'r nodwedd yma o flaen y cyhoedd yn wastadol.

## XVI.—Llythyrau Cymeradwyaeth.

Rhoddwyd llythyrau cymeradwyaeth i'r brodyr a ymadawsant o'r Dosbarth, fel y canlyn:

Yn Danville, Mai, 1855, i'r Parch. John J. Evans o Slatington, er ei gyflwyno i Gymanfa Wisconsin.

Yn Minersville, Awst, 1855, i'r Parch. Joseph Rees, er ei gyflwyno i Ddosbarth Carbondale.

Yn Minersville, Ionawr, 1856, i'r Parch. Thos. James, Pottsville, er ei gyflwyno i Ddosbarth Pittsburgh.

Yn Pottsville, Ionawr, 1860, i'r Parch. John Adams, er ei gyflwyno i gylch Cymanfa New York.

Yn Slatington, Ionawr, 1864, rhoddwyd llythyrau cyflwyniad i'r Parchn. Ebenezer T. Jones, Catasauqua ac M. A. Ellis, Peter's Creek, i Ddosbarth Pittsburgh—y cyntaf i Johnstown, a'r ail i Ebensburgh.

Yn Slatington, Hydref, 1865, i'r Parch. Edward J. Hughes, St. Clair, er ei gyflwyno i'r Dosbarth Gogleddol.

Yn Slatington, Ionawr, 1868, i'r Parch. William Harrison, Columbia, er ei gyflwyno i Ddosbarth Pittsburgh.

Yn Danville, Ebrill, 1868, gwnaed cais trwy y Cyfarfod hwn am lythyrau Cymanfaol i'r Parchn. E. D. Humphreys, William Harrison a W. R. Thomas. Yn yr un Cyfarfod gwnaed cais am lythyrau i Mr. D. James, Baltimore, ac Isaac Blackwell, Shamokin, ond gwrthodwyd cais Mr. James, a nodwyd ar y Parch. J. L. Jeffreys, yn y Cyfarfod dylynol, i egluro iddo y rheswm paham. Caniatawyd llythyr i Mr. Blackwell yn ei gymeradwyo i Ddosbarth Pittsburgh.

Yn Shamokin, Rhagfyr, 1869, rhoddwyd llythyrau ymadawol i'r Parch. W. J. Lewis a Mr. Peleg Ishmael Jones.

Yn Slatington, Rhagfyr, 1874, rhoddwyd llythyr ymadawiad i'r Parch. E. F. Jones i Ddosbarth Pittsburgh.

Yn St. Clair, Chwefror, 1876, caniatawyd llythyr i'r Parch. R. V. Griffiths i Columbus, Ohio.

Yn Shenandoah, Tachwedd, 1876, caniatawyd llythyr i'r Parch. E. C. Evans, os byddai yn galw am dano.

Yn Slatington, Gorphenaf, 1880, caniatawyd cais y brawd J. R. Jones am lythyr cymeradwyaeth i'r Dosbarth Gogleddol.

Yn Slatington, Gorphenaf, 1882, rhoddwyd llythyrau cymeradwyol i'r brodyr John J. Griffiths, Danielsville, i Henaduriaeth New York, a Richard R. Jones, Shenandoah, i Ohio.

Yn Danielsville, Medi, 1888, rhoddwyd llythyr cymeradwyaeth i'r Parch. John W. Morris, Slatington, i Gyfarfod Dosbarth Dwyreinbarth New York.

Yn Bangor, Medi, 1889, rboddwyd llythyr cymeradwyaeth i'r Parch. J. E. Harris, West Bangor, i Gymru.

Yn Slatington, Chwefror, 1891, caniatawyd llythyr cyflwyniad i'r Parch. Ellis W. Jones i Gyfarfod Dosbarth Jackson, O., ond ni chyflwynodd Mr. Jones y llythyr hwn, eithr dychwelodd yn ol a chydnabyddwyd ef yn aelod o'r Dosbarth fel o'r blaen, hyd Gyfarfod Wind Gap, Ebrill, 1892, pan y rhoddwyd llythyr i'w gyflwyno i Gyfarfod Dosbarth Dwyreinbarth New York.

Yn Slatington, Chwefror, 1891, caniatawyd llythyr i'r brawd Robert W. Evans i ddangos ei fod yn aelod o'r Cyfarfod Dosbarth hwn, a dysgwylid iddo anfon llythyr at y Cyfarfod bob chwe' mis. Yr un amser, cymeradwywyd gwaith y Llywydd a'r Ysgrifenydd yn rhoi llythyr gollyngdod i'r brawd William Jones Edwards.

Yn Slatington, Awst, 1893, caniatawyd llythyr cyflwyniad i'r Parch. J. Hammond i Ddosbarth Pittsburgh.

Yn Wind Gap, Rhagfyr, 1894, caniatawyd llythyr i'r brawd J. J. Williams yn ei gyflwyno i'r Dosbarth Gogleddol.

Yn Bangor, Awst, 1894, caniatawyd llythyr cyflwyniad i'r Parch. Richard R. Jones i'r Cyfarfod Dosbarth Gogleddol.

Yn Danielsville, Medi, 1897, caniatawyd llythyr cymeradwyaeth i'r Parch. D. J. Roberts, West Bangor, er ei gyflwyno i'r Dosbarth Gogleddol.

## XVII.—Y Cyfarfod Dosbarth ac Eglwys New York.

Yr ydoedd yn syniad gan Dr. Rowlands fod yr un faint o berthynas rhwng eglwys dinas New York a Thalaeth Pennsylvania, ag oedd rhyngddi a Thalaeth New York, oblegid mai yno, gan mwyaf, yr oedd ymfudwyr yn glanio. Bu sylw ddwywaith yn y Gymanfa am gymell yr eglwys hono i ddyfod i undeb a'r Gymanfa a'r Dosbarth Deheuol. Felly yn y Cyfarfod a gynaliwyd yn Danville, Hydref, 1856, wedi ystyried y cynygiad a ddaeth o'r Gymanfa, "Penderfynwyd fod y cais am i eglwys New York ymuno â

ni yn Pennsylvania yn afreidiol a difantais." Ond mae Cyfarfod Danville, 1859, yn "Penderfynu anfon cais at eglwys New York i ymuno a'r Gymanfa ac a'r Dosbarth hwn, am ein bod yn deall nad yw eglwys New York mewn undeb ag un Gymanfa; a hefyd y byddai yn fanteisiol i ni gael cynorthwy ei swyddogion yn ein Cyfarfodydd Dosbarthiadol." Ond mae yn debyg fod hyny yn gamsyniol, as os nad oedd wedi gwneyd hyny yn ffurfiol, yr oedd eglwys New York yn cymeryd ei lle yn naturiol yn Nghymanfa y Dalaeth hono. Atebwyd y cais yn nacaol.

# PENOD IX.

## NODION BYWGRAFFYDDOL.

### RHAN I.—GWEINIDOGION A PHREGETHWYR.

WEDI dechreu casglu yr hanes hwn yr oeddym yn cyfarfod ag enwau brodyr nad oeddym wedi clywed son am danynt o'r blaen, a theimlem yn awyddus i wybod yr hyn a ellid yn eu cylch. Gan dybied y gallai eraill deimlo yn gyffelyb, penderfynwyd crynhoi prif ffeithiau eu bywyd i gylch bychan fel penod ddiweddol yr Hanes hwn. Nid yw y rhestr yn gyflawn o lawer, mewn rhan, o herwydd prinder defnyddiau, ac mewn rhan, am nad oedd cyhoeddusrwydd y brodyr yn galw am hyny. Hyderwn y bydd hyn yn fantais i alw i gof lawer o frodyr fu o fewn y cylch hwn yn llafurus ac ymdrechgar, dan anfanteision lawer, ond sydd bellach wedi myned i fro dystawrwydd er's llawer o flynyddoedd. Eto mae eu coffadwriaeth yn fendigedig.

1. Y Parch. Robert Williams, Minersville.

Ganwyd Mr. Williams yn Pwllheli, G. C., 1813. Daeth i'r America yn 1835, ac wedi bod yn Sir Oneida ddwy flynedd symudodd i Minersville, Pa., i gymeryd gofal gwaith glo. Pa hyd y bu yn dal yr oruchwyliaeth hon nis gwyddom. Bu ef hefyd, a Mr. John R. Davies, yn gyd-bartneriaid mewn masnach gyffredinol yn Minersville. Derbyniwyd ef yn bregethwr i'r Gymanfa, yn Pottsville, Medi, 1841. Ordeiniwyd ef yn Minersville, Hydref, 1846. Cymerwyd rhan yn y gwasanaeth hwn gan y brodyr canlynol: Darllen, John G. Jones, Allentown; gweddio, Thos. R. Jones, Wilkesbarre; holwyd ef am ei brofiad gan Dr. Rowlands, ac am ei olygiadau gan y Parchn. Thomas Williams, Remsen, a

Dr. Rowlands; a'r Cyngor gan y Parch. John Davies. Hwn oedd yr ordeiniad cyntaf yn Nghymanfa y Dalaeth. Bu ei weinidogaeth yn dra derbyniol a bendithiol yn Pottsville, Minersville a St. Clair. Bu ef a Dr. Davies yn llafurus ac ymdrechgar dros ben gyda'r achos, ag ystyried eu hanfanteision. Bu farw Medi, 1857. Chwaer iddo ef yw gweddw Walter Phillips, sydd yn byw yn Scranton eto.

2. Y Parch. John Davies.

Gelwid ef unwaith John Davies, Drinkard's Beach, ac wedi hyny, Cymru Newydd. Yr oedd yn enedigol o Sir Gaerfyrddin, yn agos i Lanymddyfri. Bu yn byw ran o'i amser yn Nhrecastell, Brycheiniog. Daeth i'r America yn 1832, a threuliodd y pum' mlynedd canlynol rhwng Cymru Newydd a Carbondale, yn bregethwr diddolur ac adeiladol. Bu ddwy waith yn amgylchoedd Steuben ac Utica, N. Y. Yn niwedd 1837 symudodd i Pottsville, a Ionawr 6, 1838, yr oedd yn y gyfeillach yn effro a bywiog yn cyngori ac yn dysgu ffordd y gwirionedd, a'i eiriau yn disgyn fel enaint gwerthfawr. Pregethodd dair gwaith y Sabboth, yn wresog a gorfoleddus ei ysbryd, ac effaith rhyfeddol yn dylyn ei weinidogaeth. Aeth at ei waith dranoeth fel ei arfer, ond bu farw mewn poenau mawr y noson hono, Ionawr 8. Claddwyd ef yn mynwent Bethel, capel y Bedyddwyr, a gweinyddwyd gan y Parchn. E. B. Evans (A.), a William Morgans, gweinidog y lle. Yr oedd ei farwolaeth yn golled fawr i'r achos Methodistaidd yn y lle.

3. Y Parch. Owen Jones.

Yr oedd y gwr da uchod yn enedigol o Lanrwst, G. C. Daeth i'r wlad hon o Manchester, yn 1833, a sefydlodd yn Philadelphia. Anogwyd ef i ddechreu pregethu gan Dr. Rowlands, yn 1839, a derbyniwyd ef fel pregethwr i'r Corff yn Nghymanfa Remsen, Tachwedd 5 a 6, 1840. Symudodd i Pittsburgh yn 1841, ac oddiyno i Oak Hill, lle bu farw. Nis gwyddom y dyddiad.

4. Y Parch. William James.

Ganwyd ef yn Penycae, Sir Fynwy, yn 1808. Dechreuodd bregethu yn Pottsville yn 1832. Symudodd i Pittsburgh, ac ordeiniwyd ef i gyflawn waith y weinidogaeth yn y Gymanfa gyntaf fu yno, yn 1835. Bu farw o'r cholera morbus yn Wheeling, West Virginia, yn 1836.

5. Y Parch. Enoch Samuel.

Ganwyd ef yn Llanpumsant, Gorphenaf 10, 1821. Derbyniwyd ef yn gyflawn aelod pan yn 15 oed. Symudodd i America pan yn 23 oed. Dechreuodd bregethu yn Utica. Bu yn gwasanaethu yn Pottsville am y flwyddyn 1847, a dychwelodd yn ol i Utica. Cyfrifid ef yn bregethwr ieuanc gobeithiol. Bwriedid ei ordeinio yn Nghymanfa Rhagfyr, 1851, ond bu farw Tachwedd 11, tua mis cyn y Gymanfa.

6. Y Parch. Edward Blunt.

Yn Minersville yr oedd y brawd hwn yn cartrefu, ond pa bryd y daeth yno nid ydyw yn hysbys i ni. Mae ei enw ef ar deed y capel fel ymddiriedolwr yn gystal ag enw y Parch. Robert Williams; ond nid oes genym ddim sydd yn taflu goleu ar ei gysylltiad a'r achos, a'i ddefnyddioldeb yn gyffredinol. Cawn iddo dalu ymweliad ag Ohio, ac yr oedd yn pregethu yn Nghymanfa Jackson, Ebrill, 1838. Yr ydoedd hefyd yn pregethu yn Nghymanfa Efrog Newydd, Medi 17-19, 1839. Rhwng y dyddiad hwn ag 1841, mae yn ymadael at yr Annibynwyr, a'r esgus mae yn ei roddi dros ei ymadawiad ydoedd, nad oedd yn cael rhyddid i gymell pawb i ddyfod at Grist am iachawdwriaeth. Yr oedd hyn cyn bod un Gymanfa na Chyfarfod Dosbarth wedi eu sefydlu gan y Methodistiaid yn Pennsylvania, ac yr ydym yn methu a gweled nad oedd ganddo ryddid i bregethu fel y dewisai, o ran dim gallu ac awdurdod oedd yma i'w atal.

Ol-Nodiad.—Yr oedd Mr. Blunt yn pregethu yn amser agoriad capel Minersville, Awst, 1839.

7. Y Parch. David Davies, Pottsville.

Mae yn dygwydd fod tri brawd o'r enw hwn wedi bod yn pregethu yn Nghyfundeb y Methodistiaid yn agos yr un blynyddoedd, a thybir gan rai mai yr un oeddynt. Ond ymddengys i ni eu bod yn dri gwahanol. Daeth y brawd mae ei enw uchod i Pottsville o Sir Gaerfyrddin, yn ol tystiolaeth rhai sydd yn ei gofio; ond yr ydym wedi methu cael hysbysrwydd pa bryd. Derbyniwyd ef yn bregethwr i'r Cyfundeb yn Nghymanfa Pottsville, 1841, yr un amser a'r Parch. Robert Williams, Minersville. Cymeradwywyd ef, a gwaith Cymanfa Pottsville yn ei dderbyn, gan y Gymanfa Gorfforedig a gynaliwyd yn Utica, 1842. Yr oedd yntau yn bresenol yn hono, ond nid arosodd yma yn hir wedi hyny. Dychwelodd yn ei ol i Gymru y flwyddyn ganlynol. Dyma yr hanes olaf sydd genym am dano. Hysbyswyd ni gan un oedd yn cofio am dano, ei fod yn dueddol i yfed, ac mae yn bosibl ei fod wedi myned dan gwmwl o herwydd hyny, fel nad oes mwyach son am dano.

8. Y Parch. David Williams, Pottsville.

Yr oedd y gwr hwn yn enedigol o Lanrhaiadr Mochnant, Sir Drefaldwyn. Daeth i'r wlad hon tua'r flwyddyn 1844 neu '45, gan sefydlu yn Pottsville. Yr oedd yn pregethu yn Saesneg yn agoriad capel Minersville, Mehefin, 1846. Cyflwynwyd ei fater i sylw y Gymanfa gyda'r amcan o'i ordeinio, yr un amser a'r Parch. Robert Williams; ond oblegid ei fod yn ansefydlog ei feddwl i aros yn y Dalaeth, os nad yn y wlad, gohiriwyd. Yn fuan wedi hyny dychwelodd Mr. Williams i Gymru, ac yr oedd yno yn 1847 ar ymweliad, ond wedi dychwelyd sefydlodd yn Holland Patent, N. Y. Ordeiniwyd ef yn Nghymanfa Utica, Rhagfyr, 1851. Y Parch. David Williams, Remsen, oedd yn traddodi ar Natur Eglwys; Dr. Rowlands yn ei holi; a'r Parch. Thos. Williams yn traddodi y Cyngor. Yr oedd Mr. Williams yn un o efrydwyr Dr. Edwards; ac mae ei enw yn rhestr yr ef-

rydwyr, yn David Williams, Mochdre. Dychwelodd yn ei ol i Gymru o Holland Patent tua'r flwyddyn 1853, ac arosodd yno hyd ddydd ei farwolaeth.

9. Y Parch. Daniel J. Morgans, Pottsville.

Ganwyd ef yn Aberhonddu, D. C. Symudodd i Cendl pan yn llanc 16 oed. Ymunodd a chrefydd yn Llanelli. Ymfudodd i America yn 1850, a sefydlodd yn Pottsville, Pa. Dechreuodd bregethu yn 1854, a derbyniwyd ef yn aelod o'r Gymanfa yn 1855. Ordeiniwyd ef yn Nghymanfa Pittston, Medi 29, 1861. Ar yr achlysur darllenodd a gweddiodd y Parch. John Davies, Blakely; holwyd y gofyniadau gan y Parch. E. F. Jones; Natur Eglwys, y Parch. Thos. R. Jones; a rhoddwyd y Cyngor gan Dr. Rowlands. Bu farw Rhagfyr 17, 1861.

10. Y Parch. Thomas James, Pottsville.

Ni wyddom ddim am ddyddiau boreuol Mr. James, ond iddo gael ei dderbyn ar sail llythyr o Gyfarfod Misol Sir Forganwg, yn Nghymanfa Pottsville, Mehefin, 1854. Ymddengys ei fod yn fuan ar ol ei ddyfodiad i'r wlad wedi myned i Canton, gerllaw Baltimore, lle yr oedd eglwys Gymreig y pryd hwnw, a rhoddwyd caniatad iddo yn y Gymanfa uchod i gasglu at adeiladu capel yn Canton. Ordeiniwyd ef yn Nghymanfa y Dosbarth Dwyreiniol, Hydref, 1855. Yn 1857 ymadawodd o gylch y Dosbarth Deheuol a'r Gymanfa hon i gylch Cymanfa Ohio; ond bu Mr. James farw yn fuan wedi hyn, ac mae Cyfarfod Dosbarth Minersville, Chwefror, 1858, yn anfon llythyr o gydymdeimlad at ei deulu, ac yn nodi y brawd John Lucas i ysgrifenu cofiant iddo, a'i anfon i'r "Cyfaill;" ond nid ydyw yn debyg fod Mr. Lucas wedi cyflawni y gorchwyl hwn. Bu sylw ar ei farwolaeth yn Nghymanfa Scranton, 1858, fel adeg ag yr oedd yr Arglwydd yn ei ragluniaeth a thrwy weinidogaeth angeu yn symud brodyr o gylch y Gymanfa.

11. Y Parch. Ebenezer Evans, Pottsville.

Derbyniwyd Mr. Evans yn aelod o'r Cyfarfod Dosbarth Deheuol ar sail llythyr cymeradwyaeth o Gyfarfod Misol Sir Fynwy, yn West Bangor, Mehefin, 1869. Ni bu un symudiad pellach gyda golwg arno gan y Cyfarfod, oblegid iddo ymadael yn fuan, a rhoddwyd iddo lythyr cymeradwyaeth yn Shamokin, Rhagfyr, 1869.

12. Parch. Ebenezer Evans, Pottsville.

Yn nghofnodion Cyfarfod Pottsville, Hydref, 1689, rhoddir derbyniad i'r Parch. E. W. Brown a Mr. Ebenezer Evans o Ohio, fel ymwelwyr achlysurol. Yn Shamokin, Mehefin, 1873, darllenwyd llythyr cymeradwyaeth o Gyfarfod Dosbarth Jackson, O., yn cyflwyno Ebenezer Evans fel pregethwr i Gyfarfod Dosbarth Pottsville. Yr ydym yn tybied mai yr un yw y ddau. Rhoddwyd iddo dderbyniad croesawgar i gylch y frawdoliaeth. Yn Nghyfarfod Medi mae y Parch. R. V. Griffiths yn cael ei nodi i'w arholi yn y Cyfamod Gweithredoedd, a derbyniwyd ef yn aelod o'r Gymanfa yn Shenandoah, Hydref, 1873. Nid ydym yn clywed gair o son am dano mwyach mewn unrhyw gysylltiad hyd nes mae y Gymanfa a gynaliwyd yn Pottsville, Ebrill, 1878, yn gwneyd sylw coffadwriaethol am ei ymadawiad trwy angau.

13. Y Parch. John Adams.

Ganwyd y brawd John Adams yn Llanddowror yn y flwyddyn 1818. Wedi tyfu yn ddyn ieuanc symudodd i Cendl, yn Mro Morganwg, a bu yno hyd nes iddo symud i America yn 1849. Wedi cyraedd yma ymsefydlodd yn St. Clair, ac yno y dechreuodd bregethu yn 1850. Bu wedi hyny yn byw yn Beaver Meadow am ryw dymor. Ordeiniwyd ef yn Nghymanfa St. Clair yn 1858. Symudodd i Plainfield, Otsego County, N. Y., yn 1860, ac yno y treuliodd y gweddill

b'i oes yn America, gan fyw ar ei ffarm, a phregethu i eglwysi Plainfield a Bridgewater. Yr oedd ganddo lais soniarus a nerthol, ac yr oedd yn bregethwr da. Bu yn gydymaith i'r Dr. Rowlands yn ei daith ddiweddaf i'r Gorllewin. Yn 1886 aeth ar daith i ymweled a Chymru, ac wedi pregethu gyda chymeradwyaeth mewn amryw fanau yn y De a'r Gogledd, bu farw yn Beaumaris, Sir Fon, Hydref 27, wedi cael ergyd o'r parlys tra yn pregethu yn y lle uchod. Ac yno y gorphwys ei lwch hyd foreu yr adgyfodiad.

14. Y Parch. John G. Jones, Allentown.

Ganwyd Mr. Jones yn Brecon, Deheudir Cymru, yn 1806. Nid oes genym un hysbysrwydd pa bryd y daeth i'r wlad hon, heblaw ein bod yn casglu oddiwrth y cofnodion ei fod yn byw yn Hazleton rhwng 1839 ac 1841. Yr oedd un o'r enw John Jones o'r lle uchod yn pregethu ddwywaith yn y Gymanfa gyntaf fu yn Pottsville, yn 1841. Os nad y brawd hwn oedd y John Jones hwnw, nid oes genym un fantais i ddyfalu pwy allai ef fod. Daeth Mr. Jones i'r wlad hon yn bregethwr cymeradwy yn y ddwy iaith. Derbyniwyd ef yn bregethwr rheolaidd i'r Cyfundeb yn Nghymanfa Gorfforedig New York, 1845. Ordeiniwyd ef yr un amser a'r Parch. Thomas Phillips oedd yn Pottsville y pryd hwnw, yn Nghymanfa Gorfforedig New York, 1848. Bu yn llenwi cylch pwysig yn hanes ein Cymanfaoedd am rai blynyddoedd yn y cyfnod hwnw. Nid ydoedd yn weinidog sefydlog yn Allentown, nac yn pregethu ond anfynych yno, er mai yno yr oedd yn byw, ac mai mewn cysylltiad a'r lle hwnw y cyfeirir ato yn nghofnodion ein Cymanfaoedd. Gweithio wrth ei gelfyddyd fel saer yr oedd ef yno. Pregethodd lawer yn Slatington, Summit Hill, a manau eraill, i'r Cymry, gan deithio ar ei draed bob amser. Bu farw yn ei gartref yn y flwyddyn 1853. Rhoddwyd cofgolofn ar ei fedd gan ei fab, Capt. Jones, oedd yn arolygydd gweithfeydd haiarn Carnegie Company, Pittsburgh. Yr argraff sydd ar y gareg ydyw a ganlyn:

"In Memory of Rev. John G. Jones. Born, Brecon, Brecknockshire, 1806. Died 1853."

Cawsom y ffeithiau hyn gan ein cydwladwr hynaws, y diweddar W. Lewis, Ysw., Catasauqua. Aeth i'r fynwent, yn ei lesgedd, i weled y gareg. Ond, mae yn destyn syndod i ni, na buasai y Gymanfa, neu y Cyfarfod Dosbarth, wedi gwneyd sylw o farwolaeth pregethwr mor ddefnyddiol a chymeradwy a Mr. Jones, ac wedi bod yn troi yn y cylch am lawer o flynyddoedd.

15. Y Parch. William Harrison, Columbia.

Yr oedd y gwr hwn yn enedigol o Penydarren, Bro Morganwg. Symudodd oddiyno gyda'r teulu pan yn ieuanc i Nantyglo. Magwyd ef yn grefyddol, er hyny trodd i faes y byd, gan fyw yn afradlon yn y wlad bell. Daeth i America yn 1852, a sefydlodd yn Danville, gan weithio yn y felin haiarn. Yma y dychwelodd at grefydd dan argyhoeddiad a'i gwnaeth yn ddyn newydd. Yn 1860 symudodd i Columbia, ac yno y dechreuodd bregethu. Ordeiniwyd ef yn Nghymanfa Pittston, Tachwedd, 1866. Yn 1867 symudodd i gymeryd gofal eglwys Ebensburgh. Yn 1872 symudodd i Newburg, Ohio, ac yno y bu yn llafurio hyd ddydd ei farwolaeth, yr hyn a gymerodd le Mai 31, 1889, pan bron yn 60 mlwydd oed. Dywedid fod Mr. Harrison yn bregethwr da, derbyniol a chymeradwy. Yr oedd yn alluog i bregethu yn y ddwy iaith. Yr oedd ei farwolaeth yn golled fawr i'r eglwys fwynhaodd ei wasanaeth am gymaint o flynyddoedd.

16. Griffith Jones, Slate Hill.

Nid ydym wedi gallu cael dim gwybodaeth am hanes boreuol Mr. Jones. A'r sylw cyntaf wneir o hono yn y cofnodion ydyw ei fod wedi ei dderbyn yn bregethwr rheolaidd yn Minersville, Awst, 1855. Nid oes gair o son am dano ar gofnodion y Dosbarth ar ol hyn. Dichon fod pellder y lle oddiwrth sefydliadau eraill yn cyfrif am hyn. Mae yn ymddangos i ryw amgylchiadau arwain i'w ddiar-

ddeliad o'r eglwys yn y flwyddyn 1856. Anfonodd yr eglwys lythyr i'r Gymanfa a gynelid yn Danville, Ebrill, 1857, yn egluro y mater, ac atebwyd y llythyr fel y canlyn: "Fod yr amgylchiadau yn ymddangos i ni yn dywyll iawn, er hyny ymddengys iddynt golli tipyn ar y ffordd wrth ddiarddel G. Jones; a chan ei fod wedi ymuno ag enwad arall, nad oes angen unrhyw benderfyniad o'r eiddom ni." Nid oes genym ddim pellach i'w hysbysu am dano.

17. Y Parch. Thos. Phillips.

Ganwyd Mr. Phillips yn Laliston, Sir Forganwg, yn mis Gorphenaf, 1802. Ni wyddom ddim am ei ddyddiau boreuol, ond mai "gweithiwr tan" ydoedd wrth ei alwedigaeth. O Tredegar y symudodd i America yn 1846, a sefydlodd yn Danville, Pa. Daeth ef i'r wlad hon yn bregethwr, ac ordeiniwyd ef yn Nghymanfa Gorfforedig New York, 1848. Symudodd wedi hyny i Pottsville, a bu yn llafurus i adeiladu yr achos yn y Dosbarth uchod hyd 1851, pan symudodd i Caledonia, Columbia County, Wis. Yno y treuliodd weddill ei oes, gan fyw ar ei ffarm a phregethu yr efengyl heb fawr o gydnabyddiaeth gan yr eglwysi. Bu farw Rhagfyr 11, 1871, yn 68 mlwydd oed. Yr oedd Mr. Phillips yn dwyn mawr sel dros burdeb yr athrawiaeth, ac yn ofalus i weled fod pregethwyr ieuainc yn dala dirgelwch y ffydd. Cawsom lawer o gyngorion da ganddo mewn gwahanol gyfeiriadau, a theimlwn barch i'w goffadwriaeth fel dyn da, cymeriad pur a dilwgr, a duwinydd galluog.

18. Y Parch. Isaac Blackwell, Pittston.

Brodor o Sir Fflint ydoedd y brawd uchod, ac ymfudodd i'r Talaethau Unedig pan yn bur ieuanc, ac ymsefydlodd yn Pittston, Pa. Oddiyno cyflwynwyd ei achos fel ymgeisydd am y weinidogaeth yn Nghyfarfod Dosbarth Hyde Park, Chwefror, 1869, a nodwyd y Parchn. Joseph E. Davies, E. J. Hughes a Mr. John Williams i fyned yno i'w arholi. Yn

y Cyfarfod dylynol yn Wilkesbarre, rhoddwyd dosbarth yn faes llafur iddo. Ymddengys y cynaliwyd adran o'r Cyfarfod hwn yn Hyde Park yr wythnos ganlynol, ac yn hwnw rhoddwyd llythyr i Mr. Blackwell i fyned i Shamokin a chylch y Dosbarth Deheuol. Yn mhen tua blwyddyn symudodd drachefn i Ohio, ac yr ydym yn cael ei fod wedi priodi yn Pomeroy, Awst 20, 1872, a gweinyddwyd y briodas yn gyhoeddus yn yr adoldy gan y Parch. John Jones, Emporia, Kansas, a thraddododd bregeth fer ar ol hyny i'r gynulleidfa ddyddorol. Rywbryd ar ol hyn dychwelodd Mr. Blackwell i Gymru, a sefydlodd yn Blaenau, Sir Fynwy, ac oddiyno yr ordeiniwyd ef. Symudodd oddiyno tuag 1890 neu '91 i Ruthyn, ac yn mhen tair blynedd drachefn i Rhyl, ac yno y gorphenodd ei yrfa yn y flwyddyn 1897.

19. David Howells, Summit Hill.

Nid oes genym unrhyw hanes am haniad Mr. Howells, na'i ddygiad i fyny. Tebygol iddo ddechreu ei fywyd yn y wlad hon yn Minersville, Pa.; a bu yn ngwasanaeth y Parch. R. Williams a Mr. J. R. Davies, ac wedi iddynt hwy ffaelu symudodd i Summit Hill, a thybiwn mai yma y dechreuodd bregethu. Derbyniwyd ef i undeb a'r Gymanfa yn Lehigh (Slatington), Ebrill, 1851. Yn y Gymanfa ddylynol dewiswyd ef yn Ysgrifenydd, a hefyd yn aelod o'r pwyllgor ar weithredoedd capeli. Dyma y gair diweddaf am Mr. Howells ar gofnodion y Gymanfa. Fel llawer, yn y blynyddoedd hyny, ag yr oedd clefyd yr aur wedi ymaflyd ynddynt, aeth yntau hefyd i California. Yn ol fel yr hysbyswyd i ni gan y rhai oedd yn adwaen ac yn gwybod ei hanes, mae yn debyg i'r ddiod gadarn enill goruchafiaeth arno, ac fel llawer, bu ei ddiwedd yn waeth na'i ddechreuad. Bu farw yn California, ac mae ei goffadwriaeth wedi disgyn i ebargofiant. Dywedid ei fod yn ddyn galluog, ond nid yw talent heb ras o fawr werth yn y diwedd.

20. Y Parch. William R. Thomas, Shamokin.

Ganwyd Mr. Thomas yn Llansamlet, D. C., yn y flwyddyn 1840. Dygwyd ef i fyny yn grefyddol o'i febyd, a hyny gyda gofal neillduol gan ei fam. Gwelodd yr eglwysi yn Mro Morganwg fod ynddo gymwysderau, ac y gallai fod yn weithiwr defnyddiol gydag achos crefydd, a chymellwyd ef i ddechreu pregethu tua'r flwyddyn 1864. Symudodd i America yn 1866, a phregethodd yn Minersville y Sabboth cyntaf ar ol cyraedd yno. Derbyniwyd ef yn aelod o'r Cyfarfod Dosbarth yr haf canlynol. Yno hefyd yr ymbriododd a merch ieuanc rinweddol, Miss Annie Davies. Symudodd oddiyno i Weathersfield, Ohio, eithr dychwelodd yn ol wedi hyny, a sefydlodd yn Shamokin. Cyflwynwyd ei lythyr yn Nghymanfa Mai, 1870. Bu farw yn Mawrth, 1873, a chladdwyd ef, yn ol ei ddymuniad, yn mynwent yr Annibynwyr yn Minersville. Fel dyn, yr oedd yn llawen, tawel a didwyll. Fel pregethwr gwasanaethai ei Arglwydd, heb ofalu dim am gymeradwyaeth dynion. Bu farw fel Cristion, a'i ffydd yn ddiysgog yn y Gwaredwr.

21. Y Parch. John L. Anwyl, Minersville.

Ganwyd Mr. Anwyl yn Gronant, Sir Fflint, Ionawr 4, 1847. Ni wyddom nemawr am ei ddygiad boreuol i fyny. Daeth i'r wlad hon o Hanley, Lloegr, yn 1865, ac ymsefydlodd yn St. Clair. Oddiyno symudodd i Minersville, lle y cartrefodd hyd ddiwedd ei oes. Yno hefyd yr ymbriododd â merch ieuanc rinweddol, Miss Mary Ann Davies. Cyflwynwyd ef i sylw y Cyfarfod Dosbarth trwy lythyr o St. Clair, yn Shenandoah, Mawrth, 1871, fel ymgeisydd am y weinidogaeth, a derbyniwyd ef i undeb a'r Dosbarth yn Pottsville, Gorphenaf yr un flwyddyn. Yn Nghymanfa Pottsville, 1878, ymddyddanwyd ag ef am ei brofiad ysbrydol, a'i gymelliad i'r gwaith, a derbyniwyd ef yn aelod o'r Gymanfa. Yn mis Mai canlynol bu farw, oblegid effeithiau ffrwydriad yn y gwaith. Amlygodd y Cyfarfod Dosbarth canlynol deimlad

o golled ar ei ol, fel gweithiwr llafurus ac ymdrechgar gyda'r achos yn y cylch, hyd eithaf ei allu. Mae ei weddw yn byw yn bresenol yn Wilkesbarre, ac yn briod a Mr. Rees Morris.

22. Y Parch. Thomas H. Roberts.

Ganwyd Mr. Roberts yn mhlwyf Llanddeiniolen, Mai 12, 1825. Cafodd ei fagu ar un o'r aelwydydd mwyaf crefyddol, ac yr oedd pob peth wedi eu cydgau i'w wneyd yn bregethwr. Ymfudodd gyda'i chwaer i Wisconsin pan yn 19 oed, yn 1844. Daeth llawer o ymfudwyr yno y flwyddyn ganlynol, a dechreuwyd cadw Ysgol Sabbothol, ac anogwyd yntau i roddi gair o gyngor, yr hyn oedd ei ddechreuad gyda'r weinidogaeth. Gan nad oedd Cyfarfod Dosbarth wedi ei sefydlu eto, anfonwyd ef i Gymanfa a gynelid yn Waukesha yn 1845, pryd y derbyniwyd ef yn bregethwr i'r Cyfundeb. Ordeiniwyd ef yn 1850. Symudodd i Slatington yn 1852, a dewiswyd ef yn Ysgrifenydd y Gymanfa yn 1853, ond dychwelodd yn ol i Wisconsin y flwyddyn hono. Byr fu ei arosiad yma, er hyny mae yn teilyngu y sylw hwn ar gyfrif ei dduwioldeb uchel, yn gystal a'i weinidogaeth ddylanwadol. Maes ei lafur oedd Berea a Proscairon. Pregethai i'r ddwy gynulleidfa y Sabboth cyntaf o bob mis, a gweinyddodd yr ordinhadau yno am 34 o flynyddoedd. Bu farw Ebrill 24, 1880, yn 55 mlwydd oed. Mab iddo ef yw y Parch. Robert T. Roberts, M. A., gweinidog presenol Racine, Wis.

23. Y Parch. John Griffiths, Carbondale.

Ganwyd ef yn Llansawel, Sir Gaerfyrddin, Rhagfyr 24, 1808. Pan yn 14 oed symudodd at ei ewythr, John Evans, a bu yn ysgrifenydd yn swyddfa Prothonotory Sir Gaerfyrddin. Aeth wedi hyny i Ystradgynlais, ac yno ymwelodd Duw ag ef yn ei ras yn amser diwygiad hynod fu yn y wlad yn 1829, ac ymunodd ag eglwys y Methodistiaid yn y lle hwnw. Yn 1833 dechreuodd bregethu yn Ystrad Fellte, Sir Forganwg. Yn 1836 priododd Susannah, merch Benja-

min Morgans, Aberhonddu. Daeth i America yn 1841, a chartrefodd am dymor yn Pottsville, yna yn Hazleton, Danville, Beaver Meadow a Charbondale, ac yma bu farw Mehefin 28, 1849. Bu yn gweinidogaethu am rai misoedd yn Sir Oneida, N. Y. Fel dyn, yr oedd yn syml, yn onest a didwyll. Fel pregethwr, yr oedd yn drefnus, yn wresog, ac iach yn y ffydd. Dyoddefodd gystudd maith a chaled. Traddodwyd pregeth angladdol iddo gan y Parch. John Davies, oddiar destyn dewisedig ganddo ef ei hun, "Efe yw yr Iawn dros ein pechodau ni," a hefyd gan y Parch. D. Williams, gweinidog y Bedyddwyr, oddiar Salm 1: 5. Yr oedd ei farwolaeth yn golled fawr i'r achos yn Carbondale.

24. Y Parch. John Moses, Picatonica, Wis.

Ganwyd Mr. Moses yn Bedweli, Sir Fynwy. Nis gallwn ddweyd dim am ei fywyd boreuol. Yn y flwyddyn 1850 yr ymbriododd ac yr ymfudodd i America, a sefydlodd yn Carbondale. Yno y dechreuodd bregethu yn 1854. Derbyniwyd ef i undeb a'r Gymanfa yn 1858, a'r pryd hwn yr oedd yn byw yn Olyphant. Ordeiniwyd ef i gyflawn waith y weinidogaeth yn Nghymanfa Pittston, 1860. Yn 1861 ymwelodd a'r Gorllewin, a bu yn aros am beth amser yn Coal Valley, Ill. Dyna y waith gyntaf i ni weled Mr. Moses. Dychwelodd i Pennsylvania yn gynar y flwyddyn hono, ac arosodd yma nes aeth i gymeryd gofal eglwys Weathersfield, yn 1863; Alliance, yn 1866; Newark, 1868, a Niles yn 1871. Yn y flwyddyn 1875 mae yn cychwyn ar daith i California. Yn 1876 mae yn derbyn galwad eglwysi Soar a Seion, Waukesha, Wis. Yn 1883 mae yn symud i Minneapolis, ac yn 1886 mae yn derbyn galwad eglwysi Picatonica, ac yn y cysylltiad gweinidogaethol hwn y gorphenodd ei yrfa. Bu farw yn y Presbyterian Hospital, Chicago, Ebrill 21, 1891.

25. Y Parch. Edward J. Hughes, West Bangor.

Ganwyd Mr. Hughes yn Corris, Sir Feirionydd, Rhagfyr 24, 1823. Ymfudodd i'r America yn 1849, gan ymsefydlu yn

Cincinnati. Yno dechreuodd bregethu yn 1851. Oddiyno symudodd i Slate Hill (West Bangor), yn 1853, a derbyniwyd ef i undeb y Gymanfa yn Minersville y flwyddyn hono. Ordeiniwyd ef yn Nghymanfa Pottsville, 1856. Symudodd i St. Clair yn 1858, ac i Wilkesbarre yn 1868, yna i Olyphant yn 1872, a Nelson, N. Y., yn 1873, Plymouth yn 1874; a dychwelodd i West Bangor, maes cyntaf ei lafur, yn 1878, ac yno bu farw, Gorphenaf 30, 1885, yn 62 mlwydd oed. Gwelir fod Mr. Hughes wedi treulio ei oes bregethwrol bron o fewn cylch y Gymanfa hon, 19 mlynedd o fewn cylch y Dosbarth Deheuol. Am lawer o flynyddoedd bu yn Ysgrifenydd y Dosbarth hwn, ac yn Ysgrifenydd y Gymanfa. Yr oedd yn ddyn o feddwl pwyllus a barn dda, ac agos bob amser yr oedd yn cael ei ddewis ar bwyllgorau Dosbarthiadol a Chymanfaol. Yr oedd gan yr enwad ymddiried ynddo, a chafodd golled fawr yn ei farwolaeth am wyliwr effro a gofalus.

26. Y Parch. Joseph E. Davies, D. D.

Ganwyd Dr. Davies yn Llanarthey, Sir Gaerfyrddin. Yn moreu ei oes symudodd i Tredegar, ac yno y gosododd seiliau ei fywyd cyhoeddus. Ymfudodd i'r America yn 1842, a chyraeddodd i Pottsville yn mis Mai y flwyddyn hono, ac arosodd yno hyd 1846, pan symudodd i Carbondale, lle bu yn cartrefu hyd 1849. Derbyniwyd ef yn bregethwr i'r Cyfundeb yn Nghyfarfod Chwech Wythnosol Nant, Steuben, N. Y., Ionawr 26, 27, 1844. Yn y Cyfarfod hwnw yr oedd yn bresenol y Parchn. John Davies, Blakely, John Griffiths, Carbondale, Edward Rees a Dr. Rowlands. Holwyd Mr. Davies ganddynt, (a) Am ei brofiad fel pechadur; (b) Ei egwyddorion; (c) Ei gymellion i'r weinidogaeth, &c. Darllenwyd hefyd lythyrau cymeradwyaeth iddo oddiwrth eglwysi Pottsville a Minersville, yn mysg y rhai yr oedd yn llafurio. Ordeiniwyd ef yn Danville, 1848, a Dr. Rowlands oedd yn traddodi y Cyngor ar yr achlysur. Caniatawyd llythyr iddo ymadael o'r cylch hwn yn Nghymanfa Summit Hill, Ebrill 7, 1849, i Gymanfa Ohio. Derbyniwyd ef yn ol

trwy lythyr o Gymanfa Ohio yn Hyde Park, Tachwedd. 1864, ac yma y treuliodd y gweddill o'i oes. Cafodd y teitl o Ddoctor mewn Duwinyddiaeth o Western Reserve College, Hudson, Ohio, yn 1878. Bu farw Ionawr 1, 1881, yn 70 mlwydd oed. Ni ddygwyddodd i ni weled a chlywed Dr. Davies ond unwaith, ac oblegid rhyw gamddealltwriaeth, ni chyhoeddwyd un math o gofiant iddo, fel yr ydym dan anfantais i ddweyd dim am dano oddiar wybodaeth bersonol, eto teimlwn fod teyrnged o barch i'w goffadwriaeth yn bricdol o fewn cylch yr Hanes hwn, fel dyn da, egwyddorol, athrawaidd, a gweithiwr egniol yn mhlaid achos y Gwaredwr o fewn cylch Cyfundeb y Methodistiaid. O ran tymer naturiol yr ydoedd i fesur yn swrth, ac yn tueddu at fod yn sarug. Nid oedd yn feddianol ar fwyneidd-dra a hynawsedd boneddigaidd, ac athrylith wefreiddiol Dr. Rowlands, a hyawdledd Dr. Roberts; eto yr oedd yn ddyn rhagorol, ac mewn rhai pethau yn rhagori arnynt hwy. Yr oedd ei bregethau o nodwedd athrawiaethol, a phob amser yn adeiladol i'r gwrandawyr mwyaf meddylgar; ac ar adegau yr oedd yn cael odfaon nerthol. Yr ydoedd yn Drefnydd da. Os byddai rai gweithiau yn tueddu i gadw yn rhy fanwl at lythyren trefniant, yr oedd egwyddor ac urddas yr enwad yn agos at ei galon ac o flaen ei feddwl yn wastad. Teimlwn hefyd mai nid derbyn y teitl o D. D. yn rhodd a wnaeth, ond enillodd ef trwy lafur ac ymroddiad. Nid aeth trwy y "college curriculum," mwy na llawer eraill, eto astudiodd dduwinyddiaeth mor drwyadl a neb, ac efe ydyw yr unig Gymro a ysgrifenodd Gorff o Dduwinyddiaeth yn y wlad hon. Cyhoeddwyd y gwaith hwn yn dair cyfrol wythblyg. Mae wedi ysgrifenu yn yr arddull Buritanaidd, a hwyrach fod ei arddull yn rhy henafol i ateb i chwaeth yr oes hon; er hyny mae yn cynwys ymdriniaeth fanwl, ysgrythyrol, ar holl byncìau duwinyddiaeth—yr athrawiaethau mawrion ar ba rai mae trefn yr efengyl yn gorphwys. Cymerodd ran yn nghorfforiad y rhan fwyaf o eglwysi yn y Dosbarth Gogleddol, ac yn ngweithrediadau y Cymanfaoedd a'r Cyfarfod-

ydd Dosbarthiadol. Amlygodd y Gymanfa ei theimlad o golled a galar ar ei ol fel gweinidog da i Iesu Grist, a'r hynaf o fewn y cylch, ac wedi cartrefu yma 24 mlynedd.

27. Y Parch. John L. Jeffreys

Oedd enedigol o Ffynon Tydfil, yn y flwyddyn 1811. Cafodd ei argyhoeddi dan weinidogaeth William Williams, Talgarth, yn 1825, pan yn 15 oed, a dechreuodd bregethu yn 1830. Wedi bod yn byw yn Penycae a Cendl hyd 1846, ymfudodd i America ddiwedd y flwyddyn hono, a daeth yn ei flaen i Pittsburgh. Ordeiniwyd ef yn Newark, O., yn 1850, a derbyniodd alwad i fugeilio eglwysi Ebensburgh yr un flwyddyn. Yn 1854 symudodd i Johnstown, ac yn 1866 i Minersville, a dyna y pryd y daeth i gylch y Gymanfa hon gyntaf. Yn 1868 cawn ei fod yn Slatington, ond yn 1871 mae yn dychwelyd i Ohio, gan sefydlu yn Alliance, ac yn ddiweddaf oll i Newburg, lle bu farw, Mai 22, 1883, yn 72 oed, wedi bod yn pregethu 53 o flynyddoedd. Yr oedd Mr. Jeffreys yn wr hynod, ac yn ddyn mwy cyflawn na'r cyffredin. Bu yn Ynad Heddwch yn Johnstown, felly yr oedd yn deall y Gyfraith a'r Efengyl, a bu o wasanaeth i'r enwad gyda golwg ar faterion cyfreithiol. Yr oedd yn bregethwr da, cyflawn ac adeiladol bob amser—hynod effeithiol ar amserau.

28. Y Parch. Robert G. Sennar.

Brodor o Pentir, Sir Gaernarfon, oedd Mr. Sennar. Yr oedd yn ddyn wedi cael addysg dda yn moreu ei oes, a bu yn Athrofa y Bala y tymor arferol yn yr ail ddosbarth. Derbyniwyd ef yn aelod o Gymanfa Gogledd Cymru, yn Pwllheli, yn y flwyddyn 1846. Daeth drosodd i America yn 1850. Cyflwynodd ei lythyr, a derbyniwyd ef yn aelod o'r Gymanfa hon, yn Danville, Hydref, 1850. Yr oedd y Gymanfa hono yn cyraedd o Carbondale i Danville, ac yn parhau am naw diwrnod. Cartrefodd Mr. Sennar yn Carbondale o amser ei ddyfodiad i'r wlad hyd 1852, pan symudodd i Phila-

delphia gyda'r amcan o gael mantais i astudio meddyginiaeth, a gweinidogaethu i'r eglwys Gymreig oedd yno y pryd hwnw. Yr adeg hono daeth yr eglwys i sylw y Presbyteriaid, ac ordeiniwyd Mr. Sennar gan y Presbytery fel gweinidog i'r eglwys Gymreig, Hydref 16, 1853. Arosodd yno hyd 1856, pan yr ymwelodd a sefydliadau Cymreig y Gorllewin, ac wedi hyny dychwelodd yn ol i Gymru, lle y bu farw.

29. Y Parch. Edward Morris.

Yr oedd y gwr hwn yn fab i ddiacon rhagorol o'r enw Richard Morris, Llanarmon,Glyn Ceiriog, yn Ngogledd Cymru. Cafodd ddygiad i fyny o'r fath oreu, ac aeth trwy y cwrs athrofaol yn y Bala yn llwyddianus. Daeth i'r wlad hon, a'i chwaer gydag ef, gyda'r bwriad o sefydlu yma. Dylynodd Robert Sennar yn Carbondale, a bu yn aros yno hyd ganol haf 1854 pan aeth tua'r Gorllewin i weled ei gefnder yn Chicago, a bu farw yno, wedi ychydig ddyddiau o salwch o herwydd clefyd y gwaed. Yr oedd rhagolygon ei fywyd yn addawol, a cholled fawr i Gyfundeb y Methodistiaid oedd marwolaeth gwr ieuanc mor obeithiol.

30. Y Parch. David Davies, Carbondale.

Nid oes genym i'w ddweyd am y brawd hwn ond ei fod yn enedigol o Sir Aberteifi. Derbyniwyd ef yn bregethwr i'r Cyfundeb yn Nghymanfa Lehigh Gap, Ebrill, 1851. Wedi hyn mae yn cilio o'r golwg, fel nad oes gair o son am dano hyd ddydd ei farwolaeth, yr hyn a gymerodd le yn Carbondale. Nid yr un ydyw a David Davies, Utica,. Daeth hwnw i'r wlad yma o Aberystwyth, Sir Aberteifi, ond yr oedd hyny yn 1834, a dechreuodd bregethu yn New York, 1836. Ar ol hyn symudodd i Utica i fyw, ac yn 1841 symudodd i Remsen, ac ordeiniwyd ef yn y Gymanfa a gynaliwyd yno yn 1842. Yno hefyd y bu farw yn 1843, a chladdwyd ef yn mynwent Penycaerau. Nid ydym wedi gweled gair o son fod hwn wedi bod yn Pennsylvania o gwbl. Felly ymddeng-

ys i ni fod y tri David Davies yn bersonau gwahanol, er bod llawer yn meddwl mai dau ydynt. Tebygol i'r brawd ag mae ei enw uchod syrthio i ddinodedd dan bwysau amgylchiadau anorfod.

31. Y Parch. Thos. J. Phillips, Plymouth.

Magwyd ef yn ardal enwog Llanymddyfri. Pan yn wr ieuanc symudodd i ardaloedd gweithfaol bro Morganwg, o ba le yr ymfudodd i'r wlad hon yn 1850. Sefydlodd i ddechreu yn Carbondale, lle y dechreuodd bregethu yn agos i'r un amser a'r Parch. John Moses. Gan fod y cofnodion heb eu cadw, neu wedi colli, nid oes hysbysiad pa bryd, neu a dderbyniwyd hwy yn ffurfiol i undeb a'r Dosbarth. Ond mae y Cyfarfod a gynaliwyd yn Scranton, Mai, 1858, yn penderfynu eu cyflwyno i sylw y Gymanfa y bwriedid ei chynal yno yn y mis Hydref canlynol. Symudodd o Carbondale i Bellevue, ac ordeiniwyd ef yn Pittston, 1860. Symudodd drachefn i Plymouth tua 1864 neu '65, ac yno y cartrefodd mwyach hyd ddydd ei farwolaeth, yn 1890. Yr oedd Mr. Phillips yn ddyn o dalentau naturiol cryfion, ac yn meddu llawer o gymwysderau arweiniol. Pe buasai wedi cael addysg a diwylliant, gallasai fod yn un o'r dynion galluocaf a mwyaf defnyddiol yn y cylch hwn. Yr oedd hefyd yn fardd gwych, a chyfoethogodd ei awen lawer ar ddalenau y "Cyfaill" pan ydoedd dan olygiaeth Dr. Rowlands. Cychwynodd ei yrfa weinidogaethol yn y Dosbarth hwn yn addawol iawn, ond ni ellir dweyd fod yr argoelion hyny wedi eu sylweddoli. Pan yn byw yn Bellevue nid oedd neb yn fwy parod a gwasanaethgar i'r achos, yn y cyfeillachau yn gystal ag fel pregethwr, a hefyd yn yr adeg y cychwynwyd achos Hyde Park. Pan y penderfynodd gymeryd arolygiaeth y gwaith glo yn Plymouth, awgrymodd un o'r brodyr iddo, y buasai y symudiad yn dyfetha ei ddefnyddioldeb fel pregethwr. Ond ei ateb oedd, fod ei ysbryd a'i yni wedi eu llethu gan wrthwynebrwydd, a chan fod y drws hwn yn cynyg bywoliaeth iddo, ei fod yn penderfynu ei dderbyn.

Er hyny bu Mr. Phillips yn wasanaethgar a defnyddiol i eglwys Plymouth, gan ofalu am y cyfeillachau a gweinyddu yr ordinhadau yn gyson ar hyd y blynyddau y bu yr eglwys yn amddifad o weinidog sefydlog. Bu am dymor yn esgeulus o'r Cyfarfodydd Dosbarth a'r Cymanfaoedd, ond ymadnewyddodd wedi hyny, ac yn yr adeg yr ydym ni yn ei gofio, yr oedd yn ffyddlon a gweithgar, ac yn cael ei benodi ar ryw bwyllgorau perthynol i'r Dosbarth neu y Gymanfa yn barhaus. Bu unwaith ar daith yn Ohio, a dwywaith ar ymweliad a'r Hen Wlad, a'r tro diweddaf yn 1889. Anfonwyd ef yn genadwr i'r Gymanfa Gyffredinol a gynaliwyd yn Milwaukee yn 1892, a dewiswyd ef yn Llywydd y Gymanfa hono. Fel eraill, cyfyngodd ei lafur i gylch y Gymanfa hon, fel nad oedd yn adnabyddus yn y wlad ond i fesur bychan.

32. Parch. Joseph Rees, Miners Mills.

Ni wyddom ddim am fywyd boreuol Mr. Rees. Daeth i'r wlad hon o Blaenafon, Sir Fynwy, i Carbondale, tua'r flwyddyn 1851 neu '52. Yno y dechreuodd bregethu tua'r un amser a'r Parchn. Thos. J. Phillips a John Moses. Yn fuan symudodd i Danville, ac yn ol i Carbondale drachefn. Yn 1853 yr oedd y Gymanfa yn y Dosbarth Gogleddol, ac yn Danville ymddyddanwyd ag ef am ei brofiad a'i athrawiaeth, a derbyniwyd ef yn aelod o honi yn Carbondale. Symudodd wedi hyny i Cattaraugus, N. Y. Ordeiniwyd ef yn Nghymanfa Pittston, 1860. Oddeutu y flwyddyn 1862 symudodd i Minnesota. O herwydd amgylchiadau terfysglyd yno gadawodd y Methodistiaid i fyned at y Presbyteriaid, ond dychwelodd yn ol drachefn, a symudodd i Coshocton, O. Symudodd oddiyno i Danville drachefn, yna i Providence, ac yn ddiweddaf oll i Miners Mills, lle y gorphenodd ei yrfa yn 1893. Yr oedd ganddo lais rhagorol, ac yr oedd yn dylyn y Cyfarfodydd Dosbarth a'r Cymanfaoedd yn ffyddlon. Mae yn debyg nad oedd wedi ei gynysgaeddu a llawer o gymwysderau fel arweinydd, ac yr oedd yn syrthio

yn fynych i ryw anghydwelediad a'i frodyr. Yr oedd ei daith yn y byd yn flinderus. Hyderwn iddo gyraedd tangnefedd.

33. Mr. Griffith Davies, Slatington.

Hysbyswyd i ni fod y gwr hwn yn enedigol o Lanrwst, ac iddo ddyfod i'r wlad hon o Manchester. Y crybwylliad cyntaf geir am dano yma ydyw yn nglyn a Chymanfa New York, 1848, pryd yr ymddyddanwyd ag ef am ei egwyddorion a'i brofiad, ac iddo gael ei dderbyn yn bregethwr i'r Corff. Oddiyno symudodd i Slatington. Mae yn debyg ei fod yn ddarostyngedig i yfed, ac anfonwyd llythyr o New York i Gymanfa Harrison, 1850, yn gosod achwyniad o gamymddygiad yn ei erbyn, ac ataliwyd ef o bregethu. Mae Mr. Davies yn cydnabod fod y cyhuddiad yn wirionedd, ond mae yn gomedd ymostwng i benderfyniad Cymanfa Gorfforedig New York, ac mae y Gymanfa ddylynol yn Danville yn penderfynu "Nas gellid ei ystyried yn bregethwr na swyddog gyda'r Methodistiaid." Dywedid ei fod wedi cael addysg dda, yn ddyn dawnus, ac yn medru siarad yr un mor rhwydd yn y ddwy iaith. Gresyn iddo ddyfetha ei ddefnyddioldeb. Symudodd o Slatington i Utica. Rhwng digalondid, a sicmedigaeth ynddo ei hun, ac amgylchiadau anffafriol, ymollyngodd o ran ei feddwl, a bu farw yn y lle uchod.

34. Y Parch. Thomas Williams, Slatington.

Enw cartref Mr. Williams yn Nghymru oedd "Cilfoden," ac wrth yr enw hwn yr oedd yn adnabyddus yn mysg y yn penderfynu, "Nas gellid ei ystyried yn bregethwr na ymfudo i'r wlad hon sefydlodd i ddechreu yn Slateford, New Jersey, fel mae yn debyg. Oddiyno mae yn dyfod i'r Gymanfa a gynaliwyd yn Scranton, Hydref 29, 1858, ac ymddyddanwyd ag ef a'r brawd Thos. J. Phillips gan y Parchn. Thos. Jenkins, Utica, a John Davies, Blakely; ac wedi cael boddlonrwydd ynddynt derbyniwyd hwy i undeb a'r Gymanfa.

Mr. Williams fu yn pregethu Cymraeg gyntaf yn Bangor. Symudodd i Slatington, a bu yno yn pregethu rai blynyddoedd gyda chymeradwyaeth, fel y gallem dybied. Ond mae ei achos yn cael ei godi i sylw Cymanfa Minersville, Mai, 1861, ac mae y brodyr, oblegid tri o resymau, yn teimlo eu bod dan rwymau i'w ddiarddel. Ar ol hyn mae Mr. Williams yn myned i Gymru. Mae Cymanfa 1862, eto, yn achwyn ei fod yn cael ei dderbyn yno fel swyddog, ac yntau wedi ymadael oddiyma heb fod yn aelod. Ymwelodd Mr. Williams a'r wlad hon yn 1874, i weled ei feibion, un o ba rai sydd yn bresenol yn Utica. Yr oedd ganddo lais da, a dawn i siarad yn rhwydd. Yr oedd yn nodedig yn ei weddiau.

35. Y Parch. Daniel Jones, Slateford.

Yr oedd Mr. Jones yn enedigol o blwyf Llanddeiniolen, yn Sir Gaernarfon. Bu yntau yn Athrofa y Bala gyda'r amcan o gymwyso ei hun i fod yn athraw. Fel efrydydd, yr oedd yn arddangos dyn o feddwl cryf ac yni anghyffredin, ac yn sefyll ar y blaen yn ei ddosbarth. Yn yr adeg hono y dechreuodd bregethu. Wedi gorphen ei gwrs yn yr Athrofa, ond cyn cael ei dderbyn i'r Cyfarfod Misol, ymfudodd i'r wlad hon, a'r hanes cyntaf gawn am dano ydyw yn Slateford, o'r lle yr anfonwyd cais i Gyfarfod Dosbarth Pittston, Medi, 1860, am helaethu cylch ei weinidogaeth. Caniatawyd y cais, a derbyniwyd yntau i undeb a'r Dosbarth fel pregethwr. Symudodd oddiyno i West Bangor. Gwnaed sylw difrifol ar ei achos yn y Dosbarth hwnw, oblegid yr oedd estroniaid yn bwyta ei gryfder. Aeth oddiyno i weled perthynasau yn Wisconsin, ac er bod ei ddoniau yn eu synu, yr oedd y chwant wedi ei feistroli, a dychwelodd yn ol i Gymru, lle y bu farw.

36. Y Parch. Evan F. Jones, West Bangor.

Nid oes un ardal yn Ngogledd Cymru lle cododd mwy o bregethwyr Methodistaidd na Llanuwchllyn, oddeutu pum'

milldir o dref y Bala. Ac yr oedd Mr. Jones, o ochr ei fam, yn hanu o deulu y Parch. Evan Foulk o'r lle uchod—pregethwr cymeradwy yn ei ddydd, ac mae ei hanes wedi ei gysylltu â dechreuad Methodistiaeth yn Sir Feirionydd. Brodyr ei fam oedd y Parchn. Foulk Evans, Machynlleth, a Robert Evans, Talybont. Byddai ef yn pregethu ar y ddeddf foesol yn wastad, ac nid oedd neb yn cofio ei glywed yn cyhoeddi efengyl. Ganwyd Mr. Jones, fel yr hysbyswyd i ni, yn ardal Roe Wen, Sir Gaernarfon. Cafodd ei fagu felly yn mhlith y chwarelwyr, ac fel chwarelwr y daeth i'r wlad hon, a sefydlodd yn Slatington. Nis gallwn ddweyd pa flwyddyn, ond dechreuodd bregethu yn 1854, a derbyniwyd ef yn aelod o'r Dosbarth yn yr un flwyddyn. Ordeiniwyd ef yn Danville, Ebrill, 1857. Darllenwyd i ddechreu y gwasanaeth, gan Dr. Rowlands, a gweddiwyd gan y diacon Evan Price, Blakely. Traddodwyd ar Natur Eglwys gan Dr. Rowlands, a rhoddwyd y Cyngor gan Dr. Roberts, New York. Symudodd i Danville i fyw yr un flwyddyn, neu yr un ganlynol. Yn 1862 mae Cyfarfod Dosbarth Carbondale yn gwneyd sylw o gais eglwys Bellevue am gael Mr. Jones yno yn weinidog. Caniataodd y Cyfarfod y cais, ac ar yr un pryd eu hanog i fod yn bwyllog. Ni ddaeth dim o'r cynyg hwn, ac aeth Mr. Jones i West Bangor, a bu yno hyd 1874, pan y rhoddwyd llythyr ymadawol iddo i fyned i Pittsburgh. Nid arosodd yno yn hwy na blwyddyn, a dychwelodd i Gymru, a sefydlodd yn Llansantffraid, Glan Conwy, ac yno bu farw yn 1896. Gwelir oddiwrth yr uchod fod llafur gweinidogaethol Mr. Jones o fewn cylch y Gymanfa hon, wedi bod hefyd o fewn cylch y Dosbarth Deheuol, a bu ei wasanaeth yn dra gwerthfawr a defnyddiol am ysbaid ugain mlynedd. Efe a'r Parch. Edward J. Hughes oedd y ddau brif weinidog yn y Dosbarth hwn am flynyddoedd lawer, ac arnynt hwy yr oedd pob gorchwyl o bwys, a thrafferthion annymunol yn disgyn, a bu y ddau yn ffyddlon dros ben yn eu goruchwyliaeth er terfynu ymrysonau, dewis blaenoriaid, ac arholi pregethwyr. Yr oedd Mr. Jones yn

llenwi lle mawr yn nghylch y Gymanfa, fel Trefnydd da, deallus, a theyrngarol i amcanion ac egwyddorion ei enwad, yn gystal a phregethwr da ac adeiladol. Nid ydym yn gwybod dim am ei fanteision boreuol, ond yr oedd yn eglur ei fod yn ddyn o feddwl cryf, athronyddol, yn ddarllenwr ac efrydydd llafurus ar hyd ei oes. Gwelsom lawer wedi byw dan ei weinidogaeth yn West Bangor, ac oll yn meddu parch dwfn iddo, ac yn dwyn tystiolaeth uchel i'w gymeriad a'i deilyngdod fel gweinidog da i Iesu Grist. Nid ydym yn gwybod fod neb wedi ysgrifenu dim am dano yn y wlad hon mewn ffordd o gofiant, a rhag na wna neb y gydnabyddiaeth hon o barch i'w goffadwriaeth, a theilyngdod ei wasanaeth, yr ydym wedi estyn y nodiadau hyn yn fwy na'r cynllun bwriadedig.

37. Y Parch. William H. Williams, Wilkesbarre.

Ganwyd Mr. Williams yn Llanymddyfri, Sir Gaerfyrddin, yn y flwyddyn 1839. Magwyd ef yn Gosen, ardal fechan gerllaw y lle uchod. Derbyniwyd ef yn aelod eglwysig yn yr ardal ei magwyd, pan yn 22 oed, a dewiswyd ef yn flaenor yno hefyd, a gwasanaethodd yr achos goreu yn y swydd hono hyd nes iddo ddechreu pregethu yn 1865. Yn 1870 ymfudodd i'r wlad hon, a sefydlodd yn Wilkesbarre, lle y cartrefodd hyd ddydd ei farwolaeth. Derbyniwyd ef yn aelod o'r Cyfarfod Dosbarth Gogleddol ar sail ei lythyr cymeradwyol o Sir Gaerfyrddin. Ordeiniwyd ef i gyflawn waith y weinidogaeth yn Shenandoah yn 1877. Ni theithiodd Mr. Williams nemawr oddicartref. Bu ddwywaith neu dair yn Nhalaeth New York, a bu hefyd yn gynrychiolydd i'r Gymanfa Gyffredinol yn Oak Hill, yn 1883. Felly o fewn cylch Cymanfa Pennsylvania a'r Dosbarth Gogleddol y treuliodd ei fywyd gweinidogaethol yn America. Yr oedd ei iechyd yn wael, ac yr oedd ganddo fasnach i ofalu am dani, fel yr oedd yn anfanteisiol iddo fyned lawer oddicartref. Yn ei gylch cartrefol yr oedd yn wr o ymddiried a dylanwad, a hyny hwyrach, nid yn gymaint oblegid ei allu, ond ei gywir-

deb, uniondeb ei farn, ei barodrwydd a'i ffyddlondeb. Felly llanwodd swyddi y Cyfarfod Dosbarth a'r Gymanfa yn fedrus ac yn gymeradwy. Yr oedd ei lais yn dyner, er ei fod yn wan, ac yr oedd ei weinidogaeth, ar adegau, yn nerthol a dylanwadol. Gwasanaethodd yr eglwysi gwanaf yn y cylch gyda ffyddlondeb ac ymroddiad. Yr oedd yn Drefnydd da ac egwyddorol, ac yn dwyn mawr sel dros drefn ac egwyddorion yr enwad y perthynai iddo. Cafodd y Dosbarth hwn a'r Gymanfa golled fawr yn ei farwolaeth, gan y byddai ef yn bresenol yn mhob un, ac yn cymeryd rhan flaenllaw yn eu gweithrediadau. Yn y flwyddyn 1892, o herwydd gwaeledd ei iechyd, ymwelodd a gwlad ei enedigaeth, ac er bod ei gyfeillion yn ofni iddo farw ar y mor, gwellhaodd yn fawr, fel y gallodd bregethu yn dderbyniol a chymeradwy mewn amryw eglwysi yn nghylch ei ardal enedigol. Wedi dychwelyd yn ol gwaelodd ei iechyd, a bu farw yn nhy ei fab a'i ferch-yn-nghyfraith, gyda'r rhai y cartrefai bellach, yn 1896.

38. Y Parch. William Roberts, D. D.

Ganwyd Dr. Roberts yn Llanerchymedd, Sir Fon, G. C., Medi 25; 1809. Yr oedd ei fam yn un o'r rhai cyntaf yn dechreu yr eglwys Fethodistaidd yn y lle. Cafodd addysg dda yn moreu ei oes, a dechreuodd bregethu yn 1829, cyn bod yn ugain oed. Aeth i Athrofa Dublin yn 1830, ac wedi gorphen ei addysg dychwelodd i Sir Fon i gadw ysgol a phregethu. Sefydlodd Ysgol Ramadegol yn Caergybi. Aeth i Runcorn yn 1849. Daeth i New York yn 1855, ac i Bellevue yn 1869, ac i Utica yn 1877, a bu farw yno Hydref, 1887. Yr oedd Dr. Roberts yn bregethwr enwog ar ei gychwyniad, a daliodd felly, gydag yni a nerth ar hyd ei oes. Gan fod ei gofiant yn nwylaw llawer, a gwaith ei fywyd, gyda holl symudiadau y Cyfundeb yn adnabyddus i'r rhan fwyaf, nid oeddym yn meddwl ymhelaethu gyda golwg arno ef. Yr oedd ei ddyfodiad i'r Dalaeth hon yn gaffaeliad gwerthfawr, nid yn unig i eglwys Bellevue, ond i'r achos

trwy y dyffryn a chylch y Gymanfa. Yr oedd ei olwg a'i ymddangosiad hardd, a'i ymddygiad boneddigaidd, yn rhoi urddas ar bob cynulliad y byddai yn bresenol. Gwnaeth wasanaeth gwerthfawr gyda llenyddiaeth, a daliodd yn bregethwr poblogaidd hyd y diwedd.

39. Y Parch. John R. Williams, Scranton.

Ganwyd Mr. Williams yn Merthyr Tydfil, yn mis Hydref, 1816. Enw ei dad oedd William Rees, ac enw ei fam oedd Mary. Bu ei dad farw cyn ei fod ef cofio am dano. Priododd ei fam eilwaith ag un o'r enw W. Williams, a symudodd y teulu wedi hyny i Benycae, Sir Fynwy. Yma y cartrefodd Mr. Williams hyd nes bod yn 30 oed. Yma yr ymunodd a chrefydd. Pa mor foreu nis gwyddom. Yn ei flynyddoedd diweddaf yr oedd wedi colli dyddiad dygwyddiadau ei fywyd, fel nad oedd ei feddwl yn glir ar ddim bron. Llafuriodd am wybodaeth Feiblaidd yn ddyfal yn yr adeg hon, a dylynai ddosbarth Beiblaidd oedd dan ofal y Parch. Evan Evans, Nantyglo, a bu yn wasanaethgar gyda'r Ysgol Sabbothol y pryd hwnw. Daeth i America yn 1846. Gan mai gweithiwr tân ydoedd, aeth i Danville, ac i Pittsburgh, a daeth yn ol i Wilkesbarre; ac yn fuan ar ol hyn symudodd i Scranton i arolygu adeiladu y felin rolio, ac yma y cartrefodd hyd ddiwedd ei oes. Trwy ei offerynoliaeth ef y dechreuwyd achos i'r Methodistiaid ac yr adeiladwyd y capel—y cyntaf yn y lle. Yr oedd hyny yn 1849. Rhwng y dyddiad hwn a 1851 dechreuodd bregethu, a gwnaeth wasanaeth gwerthfawr i'r achos yn y lle ac yn y cylch am flynyddoedd lawer. Ordeiniwyd ef yn Pottsville, 1863. Yr oedd y Parchn. Dr. Rowlands, Howell Powell a John Jones o Emporia yn bresenol yn cymeryd rhan yn y gwasanaeth. Yr oedd Mr. Williams yn gryf a sefydlog o ran ei farn yn yr athrawiaethau Calfinaidd, ac yr oedd yn fedrus yn eu pregethu, yn ei amser goreu. O ran ei dymer, yr oedd yn hynod fywiog a selog, ac yn llawn o arabedd a digrifwch. Dywed-

ir fod cymeriadau hynod yn eglwys Penycae yn yr amser yr oedd ef yno, sef Owen Enos, Siencyn Penhydd, a Dafydd Hughes, er yn ddynion da, eto yn ddigrif a chellweirus ar bob achlysur, a dichon fod eu dylanwad ar Mr. Williams hefyd. Dichon fod hyn wedi bod yn achlysur iddo syrthio, fel y bu am flynyddoedd fel Miriam yn wahanglwyfus. Wedi dychwelyd yn ol, mae awydd am bregethu yn ymaflyd ynddo eto. Gwnaed cais at y Cyfarfod Dosbarth yn Carbondale, Mehefin, 1892, ac anfonwyd y Parch. W. E. Morgans a Mr. D. H. Evans i'w holi. Derbyniwyd ef yn aelod o'r Dosbarth yn Plymouth, Mehefin, 1893, a rhyddid i bregethu yn mhob man lle gelwid arno. Bu farw Ionawr 6, 1897, yn 80 oed.

### 40. Y Parch. John J. Hughes, Wilkesbarre.

Brodor o Rhandirmwyn, Sir Gaerfyrddin, oedd Mr. Hughes, ac oddiyno yr ymfudodd i'r wlad hon. Sefydlodd yn Wilkesbarre, ac yma y cartrefodd hyd ddydd ei farwolaeth, oddieithr y tymor y bu yn Miners Mills. Dechreuodd bregethu yn y flwyddyn 1878. Dr. J. E. Davies a Mr. Thos. J. Davies o Plymouth fu yn derbyn pleidlais yr eglwys ar ei achos. Hefyd, Dr. Davies a'r Parch. W. J. Lewis a Mr. W. D. Davies fu yn ei arholi, a derbyniwyd ef i undeb a'r Dosbarth yn Hyde Park, Medi, 1880. Ordeiniwyd ef yn Nghymanfa Ashley, 1889, ar gais eglwys Miners Mills, ond bu farw ddiwedd y flwyddyn uchod. O ran ei dymer naturiol yr oedd yn ddyn difrifol, cywir ac egwyddorol, ac yn Gristion dysglaer a phrofiadol. Fel pregethwr yr oedd yn synwyrol a sylweddol, er nad yn ddawnus. Yr oedd ei farwolaeth yn golled i'r eglwys wan yn Miners Mills.

### 41. Y Parch. Benjamin T. Jones, Danville.

Cyfeirir at y brawd ag mae ei enw uchod fel un diweddar o Gymru, ar gofnodion Cymanfa Pottsville, 1856. O ba le, nid ydym yn sicr, ond mae yr argraff ar ein meddwl mai o Bagillt, Sir Fflint. Darllenwyd llythyrau yn y Gymanfa

oddiwrth y Parch. Henry Rees a Chyfarfod Misol Sir Fon, yn hysbysu nad oedd y brawd ond ymgeisydd am y weinidogaeth yno. Ar yr un pryd yn anog i'r brodyr yma fod yn dyner o hono, er nad oedd wedi bod yn ddoeth yn ei symudiad. Rhoddwyd ar Dr. Roberts, New York, i ysgrifenu ato i egluro iddo ei safle yn Nghymru, ac yma hefyd. Yn Nghymanfa Danville, 1857, hysbyswyd fod y Gymanfa wedi cael sicrwydd digonol ei fod yn aelod rheolaidd o'r Cyfarfod Misol, ac wedi ei holi gan Dr. Roberts, a chael boddlonrwydd ynddo, derbyniwyd ef yn gynes ac unfrydol i undeb a'r Gymanfa. Ond i Gymanfa Scranton, 1858, mae pobl Danville yn anfon tri o gyhuddiadau yn ei erbyn, a barnodd y Gymanfa yn angenrheidiol ei ddiarddel. Dyma ddiwedd Mr. Jones gyda'r Methodistiaid.

Mae hefyd weinidogion eraill fu yma yn gwasanaethu yr achos am flynyddoedd, ac sydd yn bresenol mewn parthau eraill o'r wlad hon, neu yn yr Hen Wlad, am y rhai ni wneir ond crybwylliad byr, am eu bod eto yn fyw.

### Y Parch. Thos. R. Jones.

Yr oedd ef yn Carbondale yn 1846, ac yn Wilkesbarre yn 1849. Wedi bod oddiyma rai blynyddoedd dychwelodd yn ol i Scranton yn 1859, ac i Pittston yn 1862. Mae Mr. Jones yn bregethwr da, ac yn adnabyddus yn mhob cwr o'r wlad, ac yn byw yn bresenol yn Dakota. Efe yw yr olaf un o'r hen pioneers sydd eto yn fyw.

### Y Parch. David Charles Evans.

Yr oedd ef yn hanu o deulu y diweddar Barch. D. Charles Davies, Trefecca. Wedi ei fagu yn Aberystwyth, a'i addysgu yn y Bala, daeth i'r wlad hon tua'r flwyddyn 1859. Derbyniwyd ef i gylch y Gymanfa hon yn 1864. Bu yn gweinidogaethu yn Danville, ac yn byw yn Hyde Park, ond mae yn bresenol yn byw yn Rhyl, G. C.

### Y Parch. Morgan A. Ellis.

Dechreuodd bregethu yn Slate Hill, a bu yn weinidog yn Hyde Park a Bangor. Bu am amryw o flynyddoedd yn cymeryd rhan flaenllaw gyda holl symudiadau yr achos ac yn cydolygu y "Cyfaill" â'r Parch. Dr. Roberts. Symudodd oddiyma i Ohio, yna i'r Gorllewin; mae yn awr yn byw yn Colorado, ac yn gweinidogaethu gyda'r Annibynwyr.

### Y Parch. Benjamin D. Davies.

Cychwynodd ef ei yrfa bregethwrol yn St. Clair. Ordeiniwyd ef yn Nghymanfa Minersville yn 1868, ac wedi byw am rai blynyddoedd yn Bellevue, symudodd i Dalaeth New York, ac mae yn byw yn bresenol yn Oriskany, rhwng Utica a Rome.

### Y Parch. Rowland S. Thomas.

Yr oedd ef yn enedigol yn frodor o Cwm Rhondda, ond dechreuodd bregethu yn Plymouth yn 1878. Ordeiniwyd ef yn Slatington, 1883. Bu yn efrydydd yn Princeton, ac yn gweinidogaethu yn Taylorville a Nanticoke, ac am flynyddoedd yn cymeryd rhan flaenllaw yn holl symudiadau y Dosbarth a'r Gymanfa. Dychwelodd i gartrefu yn Nghymru yn 1892.

### Y Parch. R. H. Evans.

Daeth ef i'r cylch hwn o Johnstown yn 1874, a bu yn gweinidogaethu yn Hyde Park hyd 1878, pan ymadawodd i Wisconsin. Mae Mr. Evans yn adnabyddus trwy y wlad fel llenor a phregethwr rhagorol, cymeriad pur, mor ddiniwed a'r oen. Mae yn byw yn bresenol yn Picatonica, Wis.

### Y Parch. Richard F. Jones.

Efe oedd olynydd Mr. Evans fel gweinidog Hyde Park. Daeth yma o Minnesota yn 1884, ac ymadawodd i Wisconsin yn 1891. Mae yntau hefyd yn adnabyddus trwy ran fawr

Y Parch. Edward C. Evans, M. A.

Brodor o Brymbo ydyw y brawd hwn, ond yn Shenandoah y cartrefodd ef yn y wlad hon. Bu yn efrydydd yn Princeton am flynyddau. Ordeiniwyd ef yn y flwyddyn 1878, ac ymadawodd trwy lythyr i Gymanfa New York yn 1880. Cartrefa yn Remsen, N. Y.

Mae Mr. W. E. Jones, ddechreuodd bregethu yn Slatington, 1854, yn byw yn Middle Granville, ac er nad yw yn pregethu, mae wedi bod yn wasanaethgar i'r achos yn mhob modd ar hyd ei oes. Mae bellach yn oedranus a llesg.

Mae y brawd E. D. Humphreys godwyd i bregethu yn Slate Hill, yn byw yn Fair Haven, Vt., yn feddyliwr cryf, coeth, ac yn siaradwr synwyrol, ac er ei fod wedi rhoddi pregethu heibio er's blynyddau, mae yn parhau yn ffyddlon a gwasanaethgar i'r achos.

Y Parch. J. Hammond,

Yr hwn fu am dymor byr yn weinidog yn Bangor, oedd wr ieuanc gobeithiol, doniol a da. Daeth yma yn 1891. Ymadawodd yn 1893. Efe yw gweinidog presenol Pittsburg.

---

## Rhan II.—Ein Blaenoriaid.

Wrth edrych dros weithrediadau y Cyfundeb yn y Dalaeth fe wel y darllenydd mai y pregethwyr a'r gweinidogion sydd yn fwyaf blaenllaw yn mhob symudiad o eiddo y Gymanfa a'r Cyfarfodydd Dosbarth. Nid ydym yn sicr nad oedd rhai o honynt yn hawlio hyny. Yr oedd syniadau y Parch. Thos. Phillips, Pottsville, yn eithafol yn y cyfeiriad hwn, trwy wybodaeth i ni. Ond fe fendithiwyd cylch y Gymanfa hon hefyd â llawer o flaenoriaid "o radd dda," cystal ag unrhyw gylch Cymanfaol arall yn y wlad. Pe buasai ein terfynau yn caniatau, buasem yn caru gwneyd ychydig

o'r wlad, fel gwr o arabedd anghyffredin, cymeriad pur, a phregethwr da.

Y Parch. R. V. Griffiths.

Daeth ef i'r cylch hwn o Fair Haven, Vt., yn 1873, a bu yn gweinidogaethu yn Shenandoah hyd 1875, yna ymadawodd i Ohio, ac mae yn awr yn byw yn Minnesota.

Y Parch. Ebenezer T. Jones.

Wedi bod yn pregethu yn Canton; Baltimore, Minersville a Slatington, ymadawodd i Ohio yn 1864. Mae yn byw yn bresenol yn Lima, O.

Y Parch. James Jarrett.

Daeth ef yn weinidog i Plymouth yn 1881. Yr oedd yn wr dysgedig, coeth ei arddull, pur o ran cymeriad, a dylanwadol fel pregethwr. Aeth ar ymweliad a Chymru yn 1884, ac ni ddychwelodd. Mae yn awr yn cartrefu yn Nefyn, G. C.

Felly hefyd ei olynydd, y Parch. Thomas Roberts, yr hwn oedd bregethwr rhagorol. Daeth i'r cylch hwn o Jackson, O., yn 1886, a dychwelodd yn ol i Ohio yn 1889. Mae yntau bellach er's blynyddoedd yn byw yn Nghaerlleon.

Y Parch. J. E. Harris.

Bu ef yn weinidog yn West Bangor, ac ordeiniwyd ef yn Nghymanfa Shenandoah, 1886. Yr oedd yn wr ieuanc dymunol, ond yn wael ei iechyd, a dychwelodd yn ol i Gymru yn 1889. Mae yn awr yn weinidog yn Sir Benfro, D. C.

Y Parch. Ellis Walter Jones.

Cartrefodd i ddechreu yn Bangor, ac ordeiniwyd ef yn Nghymanfa Slatington, 1883. Bu hefyd yn Shenandoah, ac ymadawodd i Vermont yn 1892, ac yno mae yn byw yn bresenol. Brawd gwir ffyddlon a da.

o nodiadau bywgraffyddol am lawer o honynt, er teyrnged o barch i'w coffadwriaeth. Yn ol cynllun a chyfansoddiad yr enwad o'i ddechreuad, mae y dosbarth hwn o swyddogion yn meddu lle arbenig a phwysig yn ngweinyddiad ein ffurf-lywodraeth, ac yn fwy felly nag un Cyfundeb arall. Mae gan yr Henaduriaethwyr eu henuriaid llywodraethol, a'u diaconiaid, ond mae y blaenor Methodistaidd yn cyfuno y ddau yn ei berson ei hun. Felly mae Cyffes ein Ffydd, yn gystal a dysgeidiaeth y Testament Newydd, yn galw am iddynt fod yn ddynion o farn a phrofiad ysbrydol—"yn athrawaidd," "yn dala dirgelwch y ffydd, a chydwybod bur," "Nid yn newyddian yn y ffydd." Cysegr sancteiddiol yr eglwys ydyw ei phrofiad ysbrydol o wirionedd yr efengyl. Nid oes dim yn ein meddiant yn fwy cysegredig na hwn, ac mae ein blaenoriaid i ymwneyd a phrofiad yr eglwys, felly mae y swydd yn gysegredig. Yn y dechreuad, iddynt hwy yr oedd y gwaith hwn yn cael ei ymddiried, yn fwy nag 'yn awr, yn gystal a threfnu y weinidogaeth; ac mae hyn ganddynt i ofalu am dano eto, sef fod yr athrawiaeth a bregethir yn ein pwlpudau yn iach ac efengylaidd. Felly nid pawb sydd yn addas i lenwi y swydd hon. Mae yn fwy pwysig i lwyddiant yr eglwys i gael blaenoriaid teilwng na phregethwyr galluog. Mae yn sicr fod yr eglwysi yn colli golwg ar hyn, ac mae amcanion hunangeisiol yn meddianu llawer, a dynion annheilwng yn cael eu gosod yn y swydd; er hyny mae y swydd ei hun yn gysegredig.

Yn y dechreuad fe fendithiwyd y cylch hwn â dynion rhagorol fel blaenoriaid—dynion oedd yn ngwir ystyr y gair yn arweinwyr. Mae genym ddynion da eto, ond nid cystal a'r cedyrn cyntaf.

Yn Carbondale, yr oedd Mr. Daniel Scurry yn ddyn o fedr a gallu anghyffredin. Yr oedd ef yn dduwinydd da, ac yn arweinydd medrus, yn gymeriad pur, ac o ysbryd haelfrydig, a bu yn wasanaethgar iawn i'r achos yn y lle, yn gystal a chylch y Gymanfa. Dygir y dystiolaeth uwchaf i'w gymeriad gan y rhai a'i hadwaenent.

Mr. Evan Price, Blakely, sydd enw a welir yn fynych mewn lle cyhoeddus yn ein huchel-wyliau yn y blynyddoedd cyntaf.

Mr. Thomas Jenkins, Olyphant, oedd ddyn cyflawn yn holl ystyr y gair. Yr oedd pwysau yn ei farn, a gellid ymddiried yn ei air, a bu ef yn ddefnyddiol a gwasanaethgar i'r achos yn ei wahanol gylchoedd ar hyd ei oes.

Yn Scranton yr oedd Mr. John J. Davies, gwr hynaws a duwiol, llawn o sel a brwdfrydedd gyda'r achos. Os nad mor alluog a rhai, "Yr oedd yn wr da, llawn o ffydd, ac o'r Ysbryd Glan."

Blaenor arall fu yn dra defnyddiol yn y lle hwn oedd y brawd Isaac Coslett.

Yn Bellevue yr oedd Mr. Walter Phillips. Dewiswyd ef yn flaenor i ddechreu yn St. Clair, ond wedi symud i'r cylch hwn y llanwodd ei swydd â defnyddioldeb, ac y gwasanaethodd achos y Methodistiaid gydag yni ac ymroad anghyffredin. Yr oedd yn fywyd i bob symudiad, a medrai gael eraill i weithio. Diameu fod llun a llwyddiant eglwysi Bellevue a Hyde Park yn ddyledus i'w ymdrechion ef yn fwy na neb arall. A pheth bynag oedd ei golliadau, bu ei lygaid craff a'i ofal o werth anmhrisiadwy i achos y Methodistiaid.

Yn Hyde Park yr oedd Joshua Williams amser dechreuad yr achos. Yr oedd yntau hefyd yn St. Clair pan ddechreuwyd yr achos, ac yno y dewiswyd ef yn flaenor. Yr oedd yn ddyn rhagorol dda, a bu ei wasanaeth o werth mawr i'r achos yn y ddau le. Mae gweddwon y ddau frawd uchod yn byw yn Scranton eto. Priodwyd Mr. Williams gan Dr. Rowlands yn New York yn 1839. Nid yw Mrs. Williams byth yn blino son am ragoriaethau y Doctor fel pregethwr. Mae iddi feibio a merched, wyrion ac or-wyrion yn y lle hwn, mewn amgylchiadau llwyddianus.

Yn Pittston i ddechreu, ac yn Rolling Mill Hill wedi hyny, yr oedd y brawd Thomas Leyshon, gwr ag yr oedd ei

galon yn curo yn gynes tuag at ddeddfwr Israel, a'i law yn agored mewn haelfrydedd. Yr oedd ei gof yn anghyffredin o dda a chywir am holl hanes y Cyfundeb, bron o'i ddechreuad. Yr oedd yntau hefyd yn dduwinydd rhagorol, a'i olygiadau yn glir ac eang am drefn yr efengyl. Yr ydym wedi teimlo lawer gwaith, wedi dechreu casglu yr Hanes hwn, na buasem wedi ei holi yn fanylach tra yn fyw, neu fod ei einioes wedi ei arbed er mantais i ni ymgyngori ag ef. Bu farw o herwydd damwain, yn nglofa Stanton.

Yn cydweithio ag ef yn y lle diweddaf yr oedd y brawd David R. Griffiths o amser dechreuad yr achos, ac ni bu neb yn fwy ffyddlon a chywir nag ef. Yr oedd hefyd yn dduwinydd da, ac yn meddu profiad uchel o bethau yr efengyl.

Yn Wilkesbarre yr oedd y brodyr Stephen Jones a John T. Griffiths. Yr oedd Mr. Jones wedi ei ddewis yn flaenor yn Hyde Park, a Mr. Griffiths yn Bellevue; ac mae ei dduwioldeb a'i brofiad uchel, ei sel a'i ffyddlondeb, yn adnabyddus i'r rhan fwyaf o honom eto.

Yn Plymouth yr oedd y brodyr David Williams, Watkin Powell a Jonah Lewis. Adnabyddid y cyntaf wrth yr enw, "David Williams, Danville." Yr oedd ef yno amser dechreuad yr achos yn Danville, ac yn un o'r blaenoriaid goreu fu o fewn cylch y Gymanfa hon. Felly hefyd yr oedd y brodyr eraill, yn nghyd a'r hynaws Thos. J. Davies, yn ddynion da, selog a gweithgar, ac i fesur yn adnabyddus i ni.

Yn y Dosbarth Deheuol yr ydym yn cael enwau y brodyr Thomas Griffiths a William Davies, yn Pottsville, amser dechreuad yr achos, y cyntaf yn nodedig am ei dduwioldeb, a'r ail am ei bwyll a'i feddylgarwch. Yn ddiweddarach, ac o fewn ein cof a'n hadnabyddiaeth yn y lle hwn, yr oedd John Lucas a David Williams, yr hwn sydd eto yn fyw, ac yn cartrefu yn Pottsville.

Yn St. Clair yr oedd Robert Hughes a Hugh ei frawd, yn gystal a'r brodyr a nodwyd eisoes, fel rhai ddechreuodd

flaenori yno. Yr oedd R. Hughes yn dduwinydd ac yn gerddor da.

Yn Minersville yr oedd y brawd John R. Davies. Gyda ffyddlondeb a sel daliodd yr achos hwn i fyny hyd ddiwedd ei oes, ac wedi hyny cauwyd y capel i fyny.

Yn Summit Hill yr oedd Hugh T. Davies aeth i California, a Hugh L. Davies symudodd i Slatington. William Parry o Slatington hefyd, yn nghyd a lluaws eraill ellid eu henwi, oeddynt ddynion o egwyddorion anrhydeddus, a phwysau yn eu barn ar bob mater. Yr oedd llwyddiant yr achos, dan amgylchiadau anfanteisiol iawn, yn ddyledus i'w doethineb a'u cyngorion pwyllog, yn gystal a'r gweinidogion galluog fu yn gwasanaethu yn nghylch y Gymanfa hon.

Yn y cysylltiad hwn mae teyrnged o barch yn ddyledus i wragedd ein hen flaenoriaid a'n pregethwyr, oblegid eu rhinwedd a'u haelfrydedd yn y gras o letygarwch i groesawu gweinidogion a phregethwyr pan ar ymweliad a gwahanol ardaloedd i bregethu. Yr oedd llawer o hyny yn y blynyddoedd a aethant heibio; ac yr oedd yr ymweliadau yn cadw dyddordeb ac yn dadblygu caredigrwydd anghyffredin. Mae gwragedd ein blaenoriaid wedi bod ar y blaen yn y peth hwn. Yn ddidrwst a didâl, ond yn unig eu bod yn cael y pleser o wasanaethu achos Iesu Grist. Os nad oeddynt yn barod ac awyddus i siarad yn y gyfeillach, yr oeddynt yn awyddus i wasanaethu fel Martha. Lletyasant angylion rai gweithiau, yn ddiameuol, a rhoddasant groesaw i flaidd yn nghroen y ddafad bryd arall, ond gwnaethant hwy y cwbl yn enw yr Iesu, ac ni chollant eu gwobr. Mae rhai o honynt eto yn fyw, ond y rhan fwyaf wedi meirw; ac yr ydym yn teimlo fod parch dyfnaf y Cyfundeb yn ddyledus i'w coffadwriaeth.

# Cronfa Goffadwriaethol y Parchedig Hugh Davies, Wilkes-Barre, Penn'a.

---

At Eglwysi Methodistiaid Calfinaidd yr Unol Dalaethau a Canada :—

Anwyl Frodyr a Chwiorydd,

Ar ol gwrando ar adroddiad pwyllgor Cronfa Goffadwriaethol y Parchedig Hugh Davies, penderfynodd Cymanfa Pennsylvania gynhaliwyd yn Wilkes-Barre, Mai 26-28, 1911, i gydymffurfio ag awgrymiad Mrs. Davies, sef fod yr arian gasglwyd ac a gesglir i'r gronfa hon i'w defnyddio i'r amcan o ffurfio cronfa goffadwriaethol er budd pregethwyr a gweinidogion hen a methedig perthynol i'r Cyfundeb yn America a Canada, ac fod casgliad blynyddol yn cael ei wneuthur yn yr holl eglwysi tuagati. Penderfynwyd hefyd fod pwyllgor y gronfa yn gosod yr amcan hwn gerbron yr eglwysi mewn cylch-lythyr, ac yn cadw y gronfa yn ei ffurf bresenol yn agored i danysgrifiadau hyd Gymanfa Mai, 1912.

Llawenhai y frawdoliaeth pan ddeallwyd mai hyn, fel y credai Mrs. Davies, fuasai dymuniad y Parchedig Hugh Davies ei hun, a'i fod wedi sylwi droia writhi fod gwir angen am y fath gronfa. Felly yn ychwanegol at yr amcan gwreiddiol wrth gychwyn y gronfa hon, sef parhau coffadwriaeth "tywysog a gwr mawr" yn y pwlpud Cymreig Americanaidd, wele un arall o deilyngdod diamheuol—darparu ar gyfer henaint a methiant cenhadon y Duw goruchaf. Gan mai dyma ffurf derfynol y gronfa hon apeliwn yn daer eto unwaith am gasgliadau ychwanegol a helaethach tuagat yr achos teilwng hwn. Ac ni ddylai y ffaith fod gan rai Cymanfaoedd eisoes gronfeudd i'r amcan hwn fod yn un rheswm dros beidio cyfranu at hon, gan y gellir yn ddiweddarach trwy y Gymanfa Gyffredinol gorphori y rhai hyn yn un gronfa fawr gref tuagat gynorthwyo yr hen a'r methedig o bregethwyr a gweinidogion y Cyfundeb yn y wlad hon a Canada—"Onid oes achos?"

Anfoner archebion am y symiau a gesglir yn enw Mr. W. R. Williams, Scranton, i'r Parch. Hugh W. Griffith, Plymouth, Penn'a.

Dros Gymanfa Pennsylvania,

Parch. W. J. Lewis,<br>
Mr. James M. Thomas,<br>
Mr. W. R. Williams, } Pwyllgor.<br>
Mr. David Moses,<br>
Parch. Hugh W. Griffith

Plymouth, Penn'a., Meliefin, 1911.

Cafion lawer<br>
H.W.G.